[redacted]

# TRAETHODAU, PREGETHAU,

YN NGHYD A

# HANES EI DAITH YN AMERICA;

GAN

JOHN THOMAS, LIVERPOOL,

UTICA, N. Y.:
ARGRAFFWYD GAN T. J. GRIFFITHS.
1865.

[redacted]

# TRAETHODAU, PREGETHAU,

YN NGHYD A

# HANES EI DAITH YN AMERICA;

GAN

JOHN THOMAS, LIVERPOOL,

UTICA, N. Y.:
ARGRAFFWYD GAN T. J. GRIFFITHS.
1865.

[redacted]

# AT Y DARLLENYDD.

Wele y gyfrol yn awr wedi ei chwblhau. Parotowyd hi i'r Wasg gyda chryn lawer o frys, yn yr ychydig oriau a allesid hebgor yn nghanol prysurdeb gorchwylion eraill. Cyfansoddwyd amryw o'r Pregethau flynyddau lawer yn ol; a chyhoeddwyd hwy fel yr ysgrifenwyd hwy y pryd hwnw. Gadawyd allan rai Pregethau yr addawyd ar y cyntaf eu cyhoeddi, am fod amryw gyfeillion yn dymuno yn fawr am gael rhyw Bregethau neillduol a glywsant. Hyderir na fydd y cyfnewidiad yn annerbyniol. Buasai yn llawer haws chwyddo y *gyfrol yn ddau cymaint*. Cyflwyna yr awdwr ei ddiolchgarwch mwyaf diffuant i'r rhai a anfonasant eu harchebion ar ol derbyn y cylchlythyr cyntaf. Derbyniwyd mewn ychydig wythnosau ddigon o enwau i ddiogelu rhag colled yn yr anturiaeth. Gobeithio na siomwyd y cyfryw yn ei gynwysiad. Cyflwynir y gyfrol fel y mae i sylw caredig y darllenydd. Gwel y craffus ychydig wallau yma a thraw. Dan yr amgylchiadau yr argraffwyd y llyfr yr oedd yn lled anhawdd ei wneyd yn fwy diwall.

Hyderir fod y gyfrol oll yn cynwys "ymadrodd iachus, yr hwn ni ellir beio arno."

JOHN THOMAS.

LIVERPOOL, RHAG. 18FED, 1863.

---

## AT DDERBYNWYR Y LLYFR YN AMERICA.

ANWYL GYDWLADWYR: Y mae genyf yn awr yr hyfrydwch o gyflwyno y Llyfr i chwi mewn diwyg Americanaidd. Hyderaf y rhydd foddhad cyffredinol i'r cyfeillion lluosog a gymhellasant Mr. Thomas i'r anturiaeth o'i gyhoeddi yma, ac a addawsant eu cefnogaeth yn ei werthiant pan wnai ei ymddanghosiad.

Gwahaniaetha mewn rhai pethau oddiwrth yr argraffiad cyntaf o hono yn Nghymru. Yn hwnw ceir y Traëthodau yn wasgaredig drwyddo, ac mewn llythyren wahanol i'r Pregethau. Cymerais arnaf y cyfrifoldeb o wneyd y newidiad a welir yn ei *drefn*, ac o'i ddodi i gyd mewn llythyren *unffurf*. Yr hyn, i'm tyb wylaidd I, sydd gryn ychwanegiad at ddestlusrwydd llaw-weithiol y gyfrol.

*Gorfuwyd fi hefyd i adael allan amrai* o'r "Egluriadau Ysgrythyrol." Yr achos o hyny yw i "Hanes ei Ymweliad ag America," chwyddo tan law yr awdwr i faintioli annisgwyliadwy iddo ei hun pan yn cytuno a'r Argraffydd. Deugain tu dalen a ofynodd o le iddo. Felly yr oedd yn rhaid i mi naill ai talfyru hwnw, neu daflu rhyw beth arall dros y bwrdd. Dilynais gyfarwyddiadau Mr. Thomas yn hyn; a chredwyf hefyd i mi wneyd yr hyn a ddymunasech chwithau tan yr amgylchiadau. Gyda hyn yna o eglurhad cyflwynir y Llyfr i'ch sylw caredigol.

G. GRIFFITHS.

UTICA, N. Y., TACH. 16EG, 1865.

# CYNWYSIAD.

[redacted]

# TRAETHODAU.

## DYDD GWYL BARTHOLOMEW.

Mae digwyddiadau hynod yn hanes y byd gyffredinol, ac yn hanes Eglwys Duw yn neillduol, yn haeddu cael eu cadw mewn coffadwriaeth; a'r dyddiau ar y rhai y cymerasant le yn nodedig yn mysg dyddiau y flwyddyn. Y mae yr Arglwydd ei hun mewn llawer o amgylchiadau wedi cyfarwyddo i'w hanrhydeddu. Pan ddygwyd y genedl allan o'r Aipht "a llaw gref ac a braich estynedig," dywedodd Moses wrth y bobl dan gyfarwyddyd dwyfol "Cofiwch *y dydd hwn*, ar yr hwn y daethoch allan o'r Aipht o dy y caethiwed; oblegid trwy law gadarn y dug yr Arglwydd chwi allan." Pan y trodd yr Iorddonen yn ei hol, er gollwng Israel drwodd yn droedsych, gosodwyd deuddeg o geryg a gymmerwyd o'r fan y safai traed yr offeiriaid i fod yn goffadwriaeth i feibion Israel byth; "fel pan ofyno y meibion i'w tadau, Beth yw y ceryg hyn? Yna yr hysbyswch i'ch meibion gan ddywedyd, Israel a ddaeth trwy yr Iorddonen hon ar dir sych. Pan yr enillodd yr Iuddewon oruchafiaeth ar eu gelynion wedi dyrysu cynlluniau bradwrus yr Haman ddrygionus hwnw, ordeiniwyd y Pwrim i gadw mewn cof y dyddiau y cawsai Israel lonydd gan eu gelynion, "ac y byddai y *dyddiau hyny i'w cofio.*"

Yr un modd y mae cyfnodau hynod, a dyddiau pwysig yn hanes yr Eglwys Gristionogol, nas gellir cyfeirio atynt heb fod rhyw adgofion cysegredig yn cael eu cyffroi ganddynt; ac nid oes yr un dydd yn hanes Prydain yn fwy felly na Dydd Gwyl *Bartholomew*—sef Awst 24ain. Yr oedd Bartholomew yn un o ddysgyblion cyntaf yr Arglwydd Iesu Grist, ac "yn Is-

raeliad yn wir" yn ol tystiolaeth yr hwn sydd yn gwybod beth sydd mewn dyn. Cysegrwyd dydd i'w goffadwriaeth ef; ac y mae hwn wedi ei warthnodi a'i anrhydeddu—ei warthnodi gan y creulonderau gyflawnwyd arno, a'i anrhydeddu gan ffyddlondeb cydwybodol miloedd o ddynion goreu y ddaear. Ar y dydd hwn yn 1572, y llofruddiwyd yn y dull mwyaf barbaraidd filoedd o Brotestaniaid Ffrainc—cochwyd yr afonydd gan waed—a rhwygwyd yr awyr gan ysgrechfeydd y lladdedigion. Cyfrifir nifer y rhai lofruddiwyd yn Paris y noson ddu hono yn driugain mil; a chyfarfu dengmil ar hugain eraill yn y taleithiau a'r un dynged. Ond a DYDD GWYL BARTHOLOMEW, 1662, y mae a fynom yn benaf yn awr; ac y mae yr holl amgylchiadau arweiniol ato a dilynol iddo yn llawn addysg a dyddordeb. Tymor cythryblus ar y deyrnas hon, oedd o ddechreu teyrnasiad Charles II. hyd y chwyldroad gogoneddus yn nyddiau William a Mary.

Yr oedd egwyddorion gwahanol ar y maes, a phleidiau gwrthwynebol yn cydymgais am awdurdod; a dichon na bu adeg erioed ag yr oedd syniadau crefyddol dynion yn cario dylanwad grymusach ar eu gweithrediadau gwladyddol. Yr oedd yr eglwys a'r wladwriaeth mewn cysylltiad agosach nag arferol. Yr oedd y "lefain yn y blawd" er yn foreu; dechreuodd weithio yn nyddiau Harri VIII, gwelwyd ei effeithiau yn amlwg yn nyddiau Elizabeth, ac erbyn dyddiau Charles I, yr oedd tair plaid grefyddol lled gryfion yn ein gwlad; a phob un o'r tair yn llygadu am yr awdurdod. Un blaid oedd yr Esgobaethwyr, y rhai a ymlynent wrth yr eglwys fel yr oedd yn sefydledig y pryd hwnw. Unent i daflu ymaith awdurdod Rhufain, ac i gydnabod y penadur gwladol yn ben y corfforiaeth crefyddol. Yr oedd y Puritaniaid yn blaid gref arall, y rhai a unent i gynyg puro gwasanaeth a dysgyblaeth yr Eglwys. Yr oeddynt yn gymysgedig o Bresbyteriaid ac Annibynwyr, eto safent oll ar yr egwyddor fawr o awdurdod oruchel gair Duw mewn materion crefyddol—ymlynent wrth hon yngwyneb pob perygl. Yr oedd yno drydedd blaid Babyddol

[redacted]



hollol yn ei hysbryd a'i hegwyddorion ; ond yn Jesuitaidd yn llechu gan ddysgwyl cyfle i wneyd drygioni. Nis gallaf olrhain gweithrediadau y pleidiau hyn trwy ddyddiau teyrnasiad James I, Charles I, a gweriniaeth Cromwell ; ond pa fodd bynag cadwasant y deyrnas fel crochan berwedig dros ystod y blynyddoedd hirfaith. Yr oedd James yn credu yn gadarn yn hawl ddwyfol breninoedd ; ni fynai fod terfynau i awdurdod y goron. Rhodiodd Charles I, yn llwybrau ei dad, nes y blinodd y wlad dan yr iau haiarnaidd—torodd y rhyfel cartrefol allan —gwnaed pen am fywyd y gormeswyr—a drylliwyd y gyfundraeth Eglwysig yn ddarnau man. Eisteddodd Oliver Cromwell ar y llifeiriant—llonyddwyd yr elfenau terfysglyd hyn—ac o dan ei raglawiaeth ef estynwyd terfynau rhyddid i raddau helaethach nag a fwynhaodd y wlad o'r blaen. Ymgododd y Puritaniaid i awdurdod a dylanwad mawr, a gweithwyd allan grefydd wladol ar gynllun mwy rhyddfrydig nag y gwelwyd hi na chyn na chwedi hyny. Ni bu galluocach llaw yn ymafael yn awenau llywodraeth Prydain erioed. Ond "ei haul a fachludodd a hi yn ddydd !" A noson ddu a ganlynodd ! Gofynwyd gan lawer un yn nos yr oesau tywyll yn ngeiriau yr ymofynydd o Seir, "Y gwyliedydd, beth am y nos? Y gwyliedydd beth am y nos?" "Daeth y boreu a'r nos hefyd." Daow John Wycliffe yn ymddangos fel seren ddydd. Mae y wawr yn tori yn wanaidd yn nyddiau Harri VIII. Mae yr awyr yn clirio yn raddol yn nyddiau Edward VI ; ac er i'r nefoedd dduo gan gymylau yn nyddiau Mari, mae y ffurfafen yn ymburo yn nyddiau Elizabeth. Mae y goleuni yn saethu trwy niwl a tharth teyrnasiad James a Charles, ac erbyn dyddiau Oliver Cromwell, "*daeth y boreu*" braf, siriol, adlonol. Mae swn peroriaeth yr adar yn nghangau y coed yn canu alawon rhyddid crefyddol—clywid llais y durtur yn peraidd seinio caniadau buddugoliaeth—"*daeth y boreu.*" Ond, Och ! "*daeth y nos hefyd* !" Mae ardderchawgrwydd Prydain wedi ei archolli ar ei huchelfaoedd. Mae y cadarn wedi cwympo. Mae y Puritaniaid yn wylo am yr hwn oedd yn eu dilladu ag

ysgarlad, ac yn eu gwisgo ag addurnwisg aur; a merched Esgobyddiaeth yn llawenychu, a merched y rhai gormesol yn gorfoleddu. Mae *Oliver Cromwell yn y bedd*! ac nid oes yr un llaw yn ddigon galluog i ymafael yn yr awenau, a chario ymlaen y llywodraeth y mae ef a'i law ei hun wedi ei sefydlu. Mae John Milton yn canu ei alarnad mewn siomiant ar adfaelion y Werinlywodraeth. Mae Dr. Owen—John Howe, a Goodwin yn eistedd mewn galar, a'u "gwynebau yn fudr gan wylo," gan gwbl gredu fod y ddraig wedi lladd y wraig a'r plentyn gwrryw; ac y mae y Presbyteriaid yn brysur yn uno a'r Esgobaethwyr i alw Charles II i'r orsedd; a thrwy eu dylanwad hwy yr adferwyd ef. Nis gallasai Monk ei ddwyn i'r awdurdod heb eu cefnogaeth hwy. Mae dirprwyaeth yn cael eu hanfon at Charles i Breda; ac y mae ei eiriau fel y mel, a'i addewidion yn deg; hwythau yn ddigon ffol i gredu ei fod yn y cwbl yn onest, heb wybod mai llyfnach yw ei enau nag ymenyn, a rhyfel yn ei galon; tynerach oedd ei eiriau nag olew, a hwynt yn gleddyfau noethion." Yn ei gyhoeddiad dywed y "rhoddir rhyddid i gydwybodau tyner, ac na aflonyddir ar neb oherwydd ei gwahaniaethau crefyddol; ac ymrwyma ar ol ystyriaeth bwyllog y ffurfir deddf i ganiatau yr holl oddefiad yma." Dacw Charles II yn dychwelyd i'w wlad i eistedd ar orsedd ei dadau, ac i wisgo coron ei hynafiaid—croesawir ef gyda bonllefau o gymeradwyaeth a rwygai yr awyr—cyneuid coelcerthi ar benau y bryniau nes goleuo y ffurfafen—mae twrf magnelau fel taranau i'w clywed yn y nefoedd—cenid clychau a chyhwfenid baneran trwy yr holl deyrnas fel y mae yn "ddydd gwledd, llawenydd, a hyfrydwch." Yr uchel Eglwyswyr oedd yr uwchaf eu croch oblegid iddynt hwy yr oedd yn gyfnewidiad o ddinodedd i anrhydedd. Cwestiynau crefyddol yn benaf oedd yn berwi y deyrnas y dyddiau hyny. Am y brenin newydd nid oedd ef mwy na Galio gynt yn "gofalu am ddim o'r pethau hyn." Creadur nwydog, anianol, llygredig, oedd Charles II erioed heb boeni ei ben ynghylch crefydd, ond yn caru fwyaf y grefydd hono a roddai i'w duedd-

[redacted]



iadau anifeilaidd y rhyddid helaethaf; ond yr oedd yn cael ei gylchynu gan ddau o'r dynion mwyaf cyfrwys, ystrywgar, dichellgar, a melldigedig a fu erioed wrth lyw y llywodraeth Brydeinig, sef Esgob Sheldon ac Arg. Clarendon—y naill ei brif weinidog gwladol, a'r llall ei brif weinidog crefyddol; ac yntau fel y mae yn digwydd i benau coronog fynychaf, yn *tool* yn eu llaw. Dechreuodd y brenin a'i weinidogion yn fuan arosod beichiau ar warau y deiliaid. Adferwyd cynifer ag oedd yn fyw o'r gweinidogion drowyd o'u lleoedd am eu hangymhwysder neu eu hanufudd-dod yn nyddiau y chwyldroad, yn ol i'w lleoedd; y rhai oeddynt o gylch 600. Yn lle uno fel y dysgwylid ar dir canolaidd, i ffurfio Esgobyddiaeth gymedrol, yr hyn a fuasai yn gymeradwy gan y rhan fwyaf o'r Presbyteriaid; y maent yn gwneyd y deddfau yn gaethach a'r iau yn drymach, a'r brenin yn ei ymddygiad yn dyweyd fel Rehoboam "fy nhad a'ch ceryddodd chwi a ffrewyllau, a minau a'ch ceryddaf chwi ag ysgorpionau." Mae y cymylau yn myned dduach dduach, a swn dynesiad yr ystorm i'w glywed gryfach gryfach. Mae y rhai oedd a llaw ganddynt yn marwolaeth Charles I, yn cyfarfod a'r un dynged eu hunain. Ffurfir mesurau y naill ar ol y llall sydd yn dangos yn eglur fod y blaid sydd mewn awdurdod yn benderfynol i ormesu ar bawb a feiddio wahaniaethu oddiwrthynt. Mae y rhwyg rhwng y Puritaniaid a'r Senedd yn myned yn fwy fwy; a'r tebygolrwydd y cyfenir ef yn llai llai. Mae y *Corporation Act* yn cael ei phasio yn Rhagfyr 1661, yr hon a gaua bawb allan o bob swydd o elw ac anrhydedd, os nad a i gymuno i Eglwys y plwyf—ac or diwedd wedi hir gynllunio, a diwygio, ac ychwanegu ati a thynu oddiwrthi; ymarfogasant a dygasant i mewn fel gweithred goronol ar eu traha a'u gormes.

DDEDDF UNFFURFIAETH.

Yr oedd y bradwyr er's tro yn parotoi y rhwyd hyd yn oed pan oeddynt yn cymeryd arnynt gyfarfod dymuniad y Puritaniaid. Amcan proffesedig y Ddeddf oedd sicrhau unffurfiaeth

yn addoliad Duw; ond yr amcan gwirioneddol oedd bwrw y Puritaniaid allan, oblegid gwnaed ei holl ddarbodion hi yn y dull tebycaf i sicrhau hyny; ac nid oedd Sheldon am gelu ei amcan. Dywedodd wrth Iarll Manchester, "gwnawn hwy oll yn gnafiaid os cydffurfiant:" ac ar ol enciliad y *Ddwy Fil* dywedai wrth Dr. Allen "pe gwybuasem y buasai cynifer yn cydffurfio, gwnaethum y ddeddf yn gaethach." Mae Deddf Unffurfiaeth yn cynwys deuddeg ar hugain o wahanol ddosranau, y rhai oeddynt oll i raddau yn dramgwyddedig: ond gofynai dri pheth yn neillduol nas gallasai cannoedd o oreuon yr Eglwys Sefydledig yr oes hono o gydwybod gydsynio a hwy.

Gofynai, a gofyna, oblegid y mae y ddeddf yn aros eto yn ei grym, i bob un a urddasid gan y Presbyteriaid ymostwng i gymeryd ei ail urddo, ac felly gydnabod ei urddiad blaenorol yn afreolaidd. Hyd yn hyn cydnabyddid urddiad Presbyteraidd Scotland a'r Cyfandir yn awdurdodedig; ond o hyn allan ymyrwyr diawdurdod a phethau cysegredig ydyw pawb a ymaflo yn ngwaith Duw heb dderbyn urddiad rhinweddol dan law Esgob. Dyma hanfod yr olyniaeth Apostolaidd. Nis gallasai John Howe, a Phillip Henry, a Samuel Jones, a Stephen Hughes, feddwl taflu y fath ddirmyg ar y profion oedd Duw eisoes wedi ei roddi o'u dwyfol ordeiniad i'w swydd.

Gofynai, a gofyna i bob offeiriad gymeryd ei lw ei fod yn credu o galon bob peth a ddysgir yn, ac a orchymynir gan y Llyfr Gweddi Cyffredin, a'r seremoniau a arferir; a'r ffurfiau a gymeradwyir wrth urddo a chysegru Esgobion, Offeiriaid, a Diaconiaid.

Daeth y Llyfr Gweddi Cyffredin allan o dan ddwylaw y Diwygwyr yn nyddiau Edward VI, yn 1549; ac wedi hyny wedi ei ddiwygio yn 1552. Ac yn y ffurf yr ydoedd y pryd hwnw nid oedd rhyw lawer gan neb i'w ddywedyd yn ei erbyn os cymeradwyid ffurfiau o weddiau o gwbl. Er hyny y mae wedi myned trwy lawer o gyfnewidiadau. Aeth dan gyfnewidiad yn nyddiau Elizabeth, yn 1559, fel y byddai yn haw-

[redacted]



ddach i'r Pabyddion gydffurfio ag ef, y rhai oeddynt y pryd hyny yn blaid gref. Gwnaed ychydig gyfnewidiadau wedi hyny yn nyddiau James I, ar ol cynhadledd *Hampton Court*; ac wedi hyny yn nyddiau Charles II, erbyn dydd Gwyl Bartholomew, 1662; a hwnw sydd yn aros hyd y dydd hwn heb na chyfnewidiad nac ychwanegiad yn Llyfr Gweddi Cyffredin Eglwys Sefydledig ein gwlad. Yr oedd y geiriau tramgwyddedig dynodd Cranmer o'r llyfr yn nyddiau Edward i gael eu rhoddi yn ol. Yr oedd y gwersi Apocryphaidd i gael eu darllen yn gystal a'r Ysgrythyrau; ac er ei wneyd yn fwy gwrthwynebus gan y Puritaniaid ychwanegwyd atynt stori Bel a'r ddraig. Ac yr oedd yn rhaid i bob offeiriad nid yn unig ddarllen y rhai hyn; ond hefyd arwyddo ei gydsyniad calonog a phob peth yn y llyfr, yr hyn ni ofynwyd oll o'r blaen, a bu y llyfr yn ei wedd newydd hyd Awst 6ed, heb wneyd ei ymddangosiad. Taflwyd pob anhawsder ar eu ffordd; ac yr oedd y llyfr wedi ei lunio yn y fath fodd fel yr oedd yn ddigon eglur eu bod yn benderfynol i'w rhwymo draed a dwylaw. Ac yr oedd galw am eu cydsyniad trwyadl a'r Llyfr yn gofyn mwy nag a ellir roddi i unrhyw lyfr dynol, ac yn gydnabyddiaeth o awdurdod llywodraethau gwladol i arosod deddfau mewn crefydd.

Gofyna hefyd gan bob un "ddeclario nad yw yn gyfreithlon ar un esgus pwy bynag godi arfau yn erbyn y brenin; a'u bod yn ffieiddio yr athrawiaeth fradychus hono am godi arfau yn ei erbyn ef, nac yn erbyn y rhai a awdurdodi ganddo ef; a'u bod yn gwbl rydd oddiwrth y llw a elwir '*The solemn League and Covenant*' i geisio unrhyw gyfnewidiad yn llywodraeth yr Eglwys na'r wladwriaeth; ac mai llw anghyfreithlawn ydoedd ynddo ei hun, a bod ei gymell ar ddeiliaid y frenhiniaeth hon yn groes i ddeddfau a breiniau adnabyddus y deyrnas." Yr oedd magl yn cael ei gosod am draed y Presbyteriaid wrth alw arnynt i ddadwneyd y "*Solemn League and Covenant,*" a'r gwerinwyr yn cael eu galw yn gyhoedd i gondemnio eu gwaith yn codi yn erbyn Charles I, ac yn sefydlu y werinlywodraeth. Buasai cymeryd y llw yna ar unwaith yn addefiad

o'r hen honiad o hawl ddwyfol brenhinoedd ; a buasai ein rhyddid gwladol wedi ei fforffetio pe cydsyniasent, ond dygasant dystiolaeth dros ryddid yn nghanol yr ystorm. Yr oedd brwydr rhyddid wedi dechreu cael ei hymladd yn mhell cyn hyn ; ac ambell i lais wedi ei glywed yn llefaru yn uchel dros hawliau personol yn nghanol gormes wladol ; ond dyddiau y Weriniaeth oedd poethder y frwydr, a gwrthdystiad yr Anghydffurfwyr oedd sel y fuddugoliaeth. Yr ydym yn ymffrostio yn rhyddid Prydain ; a gallwn wneyd hyny. Pa anfanteision bynag a oddefir yma, nid oes yr un wlad lle y mwynheir y fath ryddid yn wladol a chrefyddol. Noddfa y ffoedig ydyw. Gall y gorthrymwr a'r gorthrymedig deimlo yn ddiogel unwaith y gesyd ei draed ar ddaear Prydain. Ca y caethwas a'r caethfeistr gerdded ochr yn ochr dan gysgod llywodraeth Lloegr. Cafodd Louis Philip gormeswr Ffrainc, yr un amddiffyn yma a Louis Kossuth gwron yr Hungariaid, ond nid yr un croesawiad. Cafodd Slidell a Mason y caethfeistri yr un diogelwch genym, ag a gafodd Anderson y caethwas, ond nid yr un cydymdeimlad. Cysgod baner Prydain am ryddid : ond trwy chwys, dagrau, a gwaed ein tadau yr enillwyd i ni y rhyddid yma. Nid oes yr un tymhor yn hanes ein gwlad yr ydym yn fwy dyledus iddo am ein rhyddid na dyddiau y Werinlywodraeth ; nac un dosbarth o ddynion a wnaeth fwy er ei sicrhau na'r Puritaniaid ; nac un dyn yn mysg byddin anrhydeddus y Puritaniaid yr ydym mor rhwymedig iddo ac Oliver Cromwell. Ni bu dyn yn Mrydain erioed y pentyrwyd mwy o warth a dirmyg anheg arno wedi ei gladdu na Chromwell. Gellid meddwl mai rhyw anghenfil cyflawn o bob twyll, rhagrith a drygioni ydoedd ; ond y mae barn y byd erbyn heddyw wedi newid ; ac edrychir arno fel un o'r dynion mwyaf rhyddfrydig, cymedrol, a hynaws yn ei oes. Anaml y gwelwyd neb wedi cyrhaedd awdurdod mor uchel, ac eto yn ei defnyddio gyda'r fath dynerwch. Ni bu arswyd Lloegr erioed yn fwy trwy holl Europ nac yn nhymor byr ei lywodraeth ef. Yr oedd swn ei draed o bell yn dwyn dychryn i

[redacted]



galonau gormeswyr y Cyfandir. Cyfnewidiai Cardinal Mazarin, Gweinidog Ffrainc, ei wedd gyda chrybwyll ei enw. Gwnaeth yn hysbys nad oedd y ffydd Brotestanaidd i gael ei dirmygu yn un rhan o'r byd, a gwrandawyd arno. Yr oedd yn mhell o flaen ei oes yn ei olygiadau ar ryddid crefyddol; yn wir hyny, ynghyd a'r dyrchafiad roddodd i'r Annibynwyr, barodd i'r Presbyteriaid oeri tuag ato yn ei ddyddiau olaf. Nid oedd ryfedd yn y byd fod cydymdeimlad Cromwell â'r blaid Annibynol, oblegid yr oedd mwy o unrhywdeb barn rhyngddynt. Dywed Baxter fod yr Annibynwyr yn dyweyd "*mai y rheswm* na lwyddodd eu hymdrechion dros ryddid oedd nad estynasant ef i'r Pabyddion; ac o'u rhan hwy nad oeddynt yn gweled un rheswm paham na chawsai y Pabyddion ryddid i addoli fel eraill: a'i fod yn well o lawer ei roddi iddynt hwy nag i bawb fod hebddo." A dywed Mr. Sanford, Archddiacon Coventry, yn ei *Bampton Lecture* sydd newydd ddyfod allan, "mai yr unig gyfnod erioed y cariwyd goddefiad allan yn ymarferol, oedd pan oedd egwyddorion yr Annibynwyr yn uwchaf yn y deyrnas hon." Ac yr oedd Cromwell yn flaenaf yn y golygiadau hyn. Dysgodd fod breninoedd yn gyfrifol fel pobl eraill, a bod terfyn i oddefiad y deiliaid; ac yr oedd y Puritaniaid wedi derbyn yr un yspryd. Ganddynt hwy yr oedd cariad at ryddid yn etifeddol wedi disgyn oddiwrth y diwygwyr boreuaf—wedi ei ddysgu a'i feithrin oddiwrth Brotestaniaid gwladgarol Switzerland, Hugenotiaid gwrol Ffrainc, ac amddiffynwyr dewr y ffydd yn y Netherlands. Yr oedd y Puritaniaid hynaf wedi gweddio dros Hampden yn y llys—Pym yn y Senedd—Fairfax ar y maes — a Chromwell yn y llywodraeth; ac yr oedd gofyn iddynt gymeryd eu llw na chyfodant arfau dan unrhyw amgylchiad yn erbyn y brenin, fel y dywedodd un "yn groes i ddefodau yr hen Frythoniaid—yn groes i lywod-ddysg ymerodraeth Rhufain—yn groes i gyfreithiau anysgrifenedig y Saxoniaid a'r Daniaid—yn groes i *Magna Charta* a'r *Petition of Right*—ac yn groes i ysbryd a llythyren y llywodraeth Brydeinig." A

Ac y cydffurfiasai y dynion hyn gwerthasid rhyddid ein gwlad, a difreiniasid Prydain o'r elfen bwysicaf yn ei dylanwad ar deyrnasoedd y byd. Ond safodd y dynion hyn yn yr adwy; ac achubasant ein gwlad rhag y trychineb ofnadwy. Amddiffynasant y llywodraeth Brydeinig gydag awdurdod derfynol yr orsedd—cynrychiolaeth y bobl—annibyniaeth ein llysoedd barn—a gwasg rydd i draethu ein golygiadau. Y cyfryw oedd gofynion Deddf Unffurfiaeth; a derbyniodd y ddeddf greulawn yna y sel freninol Mai 19eg, ac yr oedd i ddyfod i'w grym Awst 24ain: sef

DYDD GWYL BARTHOLOMEW, 1662.

Adeg ddifrifol ar deimladau miloedd o offeiriaid Puritanaidd oedd o'r 19eg o Fai hyd y 24ain o Awst. Taflwyd y dynion goreu i'r pryder mwyaf. Yr oedd "yn gyfyng arnynt o'r ddeutu"—rhwng cydwybod a bywoliaeth—rhwng ffydd a theimlad—rhwng ufuddhau i Dduw a "darbod dros yr eiddynt." Nid dewisiad ydoedd rhwng pregethu yn y Llan neu bregethu yn y Capel—rhwng dibynu ar yr egwyddor wirfoddol neu ddibynu ar y degwm. Ond pa un a ddewisent a'i pregethu yn y Llan, neu gael eu dystewi yn llwyr—pa un a'i cynaliaeth anrhydeddus, neu dlodi dygn. Y gosp drymaf ar lawer o honynt oedd gorfod bod a'u geneuau yn glöedig a'r ddydd yr Arglwydd. Ysgrifenai Mr. N. Heywood at frawd gweinidogaethol a dywedai, "Dymunaf na theimloch chwi, nac unrhyw frawd ffyddlon arall sydd yn caru ei waith, y peth a deimlais I mewn angen gwaith a phobl. Mae y dyoddefiadau eraill yn ysgafn mewn cydmariaeth i fod a'm genau yn gauedig ar y Sabboth."

Yr oedd y prawf yn galed iawn, ac nid heb lawer o ymgynghori a'u gilydd hyd yr oedd cyfle, ac a'u Duw yn neillduol, y gwnaethant eu meddwl i fyny. Ac i wneyd y prawf yn galetach yr oedd yn rhaid cydffurfio cyn gwyl Mihangel, pan yr oedd blwyddyn o dal degwm yn ddyledus, ac felly golli cyflog blwyddyn, er wedi gwasanaethu am 11eg mis. Yr

[redacted]



oeddynt yn wyr ac yn dadau gan mwyaf; a chanddynt eu persondai cysurus a'u llyfrgelloedd tawel—gwelent eu gwragedd mewn llawnder, a'u plant yn ymddifyru yn yr ardd a'r berllan; ac yr oedd meddwl gadael y cartrefi heddychol hyn, a'u cyfnewid am dlodi a dirmyg y byd yn brawf ar eu ffydd: haws siarad am dano, na myned i mewn yn drwyadl iddo. Pe na buasai ond mwyniant tymhorol yn eu golwg, buasai yn hawdd iddynt benderfynu. Dywedai Mr. Edward Lawrence, Baschurch, ger Amwythig, "pe buaswn yn ymgynghori a chig a gwaed yr oedd genyf 11eg o resymau cryfion dros gydffurfio," gan gyfeirio at ei wraig a'i 10eg plentyn, ond meddai "mentrais eu taflu i fyw ar y 6ed bennod o Efengyl Matthew: a gofalodd yr hwn sydd yn porthi y brain, ac yn gwisgo y lili na bu arnynt eisiau dim daioni."

Yr oeddynt wedi meddwl y mater yn ddifrifol—ei bwyso yn fanol—ei edrych o bob cyfeiriad—ei siarad yn bwyllog—a'i wneyd yn destyn gweddi ddyfal. Mae yn wir i filoedd yn ddibetrus a diymchwil arwyddo eu cydsyniad calonog â'r Llyfr Gweddi Cyffredin, ac a holl ofynion Deddf Unffurfiaeth; a hyny lawer o honynt heb wybod beth a ofynai, oblegid fel y dywed Locke "fod y Llyfr wedi bod cyhyd cyn gwneyd ei ymddangosiad, fel na chafodd *un* o bob *deugain* o'r rhai a gydffurfiasant, gyfle i'w weled cyn arwyddo eu crediniaeth o hono." Ond nid oedd hyny ond dibwys gan y rhan fwyaf o honynt. Diogelu eu bywoliaeth oedd y peth penaf ganddynt. Ond yr oedd yno, er hyny, filoedd o offeiriaid effro a thyner eu cydwyhodau wedi eu gwasgu i gyfyngder mawr. Dacw un o honynt yn ei ystafell yn gynar yn mis Awst newydd gael y Llyfr i'w law. Mae wedi ei ddarllen yn fanol eilwaith ac eilwaith, a'i farcio wrth fyned trwyddo. Saif uwch ben ei adranau gwrthwynebus, a dywed wrtho ei hun, "nid wyf yn credu y pethau hyn; pa fodd gan hyny y gallaf arwyddo fy nghydsyniad o galon a hwy; ac eto os nad arwyddaf hwy, rhaid gadael y fywoliaeth yma." Mae ei gwsg yn cilio gan bryder—ei gorff yn curio gan ofid—a threulia nosweithiau

cyfain mewn dirdyniadau meddwl. Rhyw brydnhawngwaith mae yn dyfod i lawr o'i fyfyrgell, a'r Llyfr yn ei law at ei wraig i'r parlwr. Mae hi yn eistedd yn y ffenestr agored yn edrych ar ei phedwar plentyn yn chwareu ar y *green* y tu allan, mwynha arogl hyfryd y blodau a'r llysiau blanwyd ganddi a'i llaw ei hun; mae yr ardal ar y naill du yn llawn o ffrwythau addfed; a thrwy goed y berllan gwel binacl yr hen Eglwys yn ymddyrchu; ac y mae y fynwent yna yn gysegredig ganddi, oblegid fod dau o'i phlant anwyl yn gorwedd wrth fur y Llan dan gysgod yr ywen; a thra y mae fel hyn yn edrych ar y cwbl, try ei llygaid at wyneb ei phriod hoff, a dealla arno fod gofid lond ei galon; ac mewn dagrau dywed y naill wrth y llall: "rhaid i ni adael y cwbl o'r pethau hyn cyn y 24ain o Awst, neu gydffurfio a gofynion y Llyfr hwn." Prawf caled i wraig a phlant wedi eu magu mewn llawnder, oedd gadael bywoliaeth gysurus y Persondy, a gwynebu ar fywyd tlawd Anghydffurfiaeth; ac eto ymddygodd rhai o'r "gwragedd santaidd" hyn gyda gwroldeb heroaidd yn y profiad tanllyd. "Boddlonwch Dduw a'ch cydwybod, serch i mi orfod byw ar fara a dwr," ebe gwraig Mr. F. Keeling wrtho, pan ofynodd iddi pa beth a wnai. Cadwodd Mr. H. Maurice, Cymro o sir Gaprnarfon oedd yn offeiriad yn Church Stretton, sir Amwythig, ei bryder oddiwrth ei wraig dros amser, ond deallodd hi yn fuan fod rhyw ofid arno; a rhyw ddiwrnod yn ddiarwybod iddo aeth i'w ystafell, cauodd y drws, a dywedodd wrtho "ei bod yn deall fod rhyw ofid arno, a'i bod yn benderfynol nad ymadawai o'r ystafell nes y mynegai iddi ei drallod." Dywedai wrthi "nas gallai fod yn esmwyth yn hwy fel offeiriad Stretton, ac mai ei ofid oedd beth a wnai gyda golwg ar ei chynaliaeth dyfodol hi a'i phlentyn." "Gwnewch fel y mae eich cydwybod yn eich cyfarwyddo," meddai, "gallaf fi gyflwyno fy hunan a'm plentyn i ofal rhagluniaeth Duw." Yr oedd llawer o honynt yn barod i roddi ei gyddfau i lawr dros y gwirionedd. Ond y mae ffydd rhai, er hyny, yn siglo fel y mae y prawf yn nesu; a drwg genym

[redacted]



orfod edrych ar rai y dysgwyliasid eu cael "yn arfog ac yn saethu a bwa, yn troi eu cefn yn nydd y frwydr." Awst 22ain, deuddydd cyn Gwyl Bartholomew, dacw yr hen-wron William Gurnal, awdwr y llyfr rhagorol "Y Cristion mewn cyflawn arfogaeth," yn myned dan ddwylaw Esgob i gael ei ordeinio, ac felly gydnabod ger bron y rhai y bu trwy blynyddoedd yn llafurio yn eu plith, nad ydoedd hyd yn hyn ond ymyrwr di-awdurdod a phethau cysegredig—un yn cerdded llwybrau Corah, Dathan, ac Abiram. Ow! Ow! "Pa fodd y tywyllodd yr aur! y newidiodd yr aur coeth da?"

Ond y mae yna ganoedd o ddynion wedi gwneyd eu meddwl i fynu i ddilyn argyhoeddiad eu cydwybod beth bynag fyddo y canlyniad. Rhoddodd Richard Baxter ei weinidogaeth i fynu yn ddioed wedi i'r brenin osod ei sel wrth y Ddeddf, fel y deallai ei frodyr oll pa fodd yr oedd ef yn meddwl gweithredu. Ac ar y 17eg o Awst, traddodwyd pregethau ymadawol mewn canoedd o Eglwysi. A Sabboth heb ei fath oedd hwnw. Ni thraddodwyd y fath bregethau yn mhwlpudau Lloegr erioed. Nid pregethau cynhyrfus i gyffroi y bobl oeddynt—nid ymosodiad beiddgar ar yr awdurdodau—nid amddiffyniad hyf i'w hymneillduad—nid awgrymau angharedig at eu huwchafiaid—nid apeliadau cynhyrfus at nwydau eu gwrandawyr er enill cydymdeimlad—ond pregethau syml, efengylaidd, cyfeiriadol at gydwybodau, fel dynion marwol am y tro diweddaf yn pregethu i ddynion marwol. Eu testynau a ddengys i raddau nodwedd eu pregethau. Ewch i Eglwys *St. Dunstan*, lle y pregethai Dr. Bates oddiwrth y geiriau "A Duw yr heddwch, yr hwn a ddug drachefn oddiwrth y meirw ein Harglwydd Iesu Grist bugail mawr y defaid trwy waed y cyfamod tragywyddol: a'ch perffeithio yn mhob gweithred dda i wneuthur ei ewyllys ef, gan weithio ynoch yr hyn sydd gymeradwy yn ei olwg ef trwy Iesu Grist." Ewch i *Allhallows*, lle y pregethodd Thomas Lye oddiwrth y geiriau "Am hyny fy mrodyr anwyl a hoff, fy llawenydd a'm coron, felly sefwch yn yr Arglwydd, Anwylyd." Ewch i *Aldermanbury*

lle y mae Edmund Calamy yn terfynu gweinidogaeth o fwy na 24 mlynedd, oddiwrth y geiriau "Rhoddwch ogoniant i'r Arglwydd eich Duw cyn iddo ef ddwyn tywyllwch arnoch, a chyn i chwi daro eich traed wrth y mynyddoedd tywyll; a thra fyddoch yn disgwyl am oleuni iddo ef ei droi yn gysgod angau, a'i wneuthur yn dywyllwch. Ond oni wrandewch chwi hyn fy enaid a wyla mewn lleoedd dirgel am eich balchder, a'm llygaid gan wylo a wylant, ac a ollyngant ddagrau, o achos dwyn diadell yr Arglwydd i gaethiwed." Un arall a bregethai oddiar y geiriau "Canys ein gorfoledd ni yw hyn, sef tystiolaeth ein cydwybod mai mewn symlrwydd a phurdeb duwiol yr ymddygasom yn y byd." Un arall, "Canys nid ymatelais rhag mynegi i chwi holl gyngor Duw." Un arall, "Bellach frodyr byddwch wych, byddwch berffaith, diddauer chwi, syniwch yr un peth, a Duw y cariad a'r heddwch a fyddo gyda chwi:" ac yr oedd y cwbl o gyffelyb nodwedd. Yr oedd y teimlad yn mhob lle yr un fath ag yn Miletus, pan y pregethodd Paul ei bregeth ymadawol i henuriaid Eglwys Ephesus "Ac wylo yn dost a wnaeth pawb, a syrthiasant ar wddf Paul ac a'u cusanasant; gan ofidio yn benaf am y gair a ddywedasai efe na chaent weled ei wyneb ef mwy." Ac erbyn boreu Sabboth, Awst 24ain, yr oedd dros *ddwyfil* o'r Gweinidogion duwiolaf, doniolaf, a dysgedicaf, wedi gadael eu pulpudau am fod yn rhaid iddynt o gydwybod "ufuddau i Dduw yn fwy nag i ddynion." Mae y cynulleidfaoedd wedi eu gwasgaru fel defaid ar y mynyddoedd. Mae un o bob pump o blwyfi y deyrnas heb weinidog, ac un o bob pump o fugeiliaid Lloegr heb braidd; tarawyd y bugail a mudandod gan Ddeddf Unffurfiaeth; a'r praidd a wasgarwyd mewn canlyniad.

Dyma y deyrnged uwchaf i gydwybod a gwirionedd a dalwyd erioed yn Mrydain yn yr un dydd. Teyrnged oruchel yn wir a dalwyd gan Encilwyr Scotland yn 1843. Golygfa ardderchog oedd yn yr *Assembly Hall*, Edinburgh, ar ddydd Iau, y 18fed o Fai, pan yr oedd y Gymanfa Gyffredinol wedi

cyfarfod, a'r cadeirydd, Dr. Welsh, yn darllen gwrthdystiad yn erbyn awdurdod y llywodraeth mewn materion Eglwysig; ac ar ol darllen yn cerdded allan yn araf, ac yn cael ei ddilyn gan fwy na 400 o Weinidogion blaenaf Scotland, ac yn eu plith yr oedd Chalmers, a Candlish, a Gordon, a Guthrie, a Macfarlen; a llu mawr o henuriaid, gan adael y Neuadd yn haner gwag. Cydnabyddiaeth ardderchog ydoedd i hawliau Crist fel unig ben ei Eglwys, ac unig Arglwydd cydwybod. Gadawsant gyllidau oedd yn werth *can mil* y flwyddyn; ac arwyddwyd gweithred yr ysgariaeth gan 470 o oreuon Gweinidogion Eglwys Scotland. Nid oedd ryfedd yn y byd i Arglwydd Jeffrey, yr hwn nid oedd ganddo un cydymdeimlad a'u golygiadau, pan glywodd y newydd, daflu y llyfr a ddarllenai o'i law, a dywedyd "Yr wyf yn falch o'm gwlad; nid oes yr un wlad arall ar y ddaear lle y gwnaethid y fath weithred." Ond gyda phob dyledus barch i Arglwydd Jeffrey, ac Eglwys Scotland, gwnaed mewn gwlad arall aberth llawer mwy—gan rifedi llawer lluosocach—dan amgylchiadau llawer mwy anfanteisiol—mewn oes llawer mwy erledigaethus. Yr oedd y pwnc yn cael ei ddadleu yn Eglwys Scotland er's blynyddau—dirprwyaeth ar ol dirprwyaeth wedi ei hanfon at y llywodraeth—yr oeddynt wedi cael hir gyfle i arfogi eu gilydd at yr amgylchiad—ac yr oedd yr ymraniad yn cymeryd lle pan oeddynt oll yn nghyd, ac ymddygiad y naill yn calonogi y llall. Yr oedd eu pobl o galon gyda hwy, ac yn barod i'w dilyn; rhwygid yr awyr gan floeddiadau y werin pan fynegwyd y weithred; ac y gwelwyd hwy yn cerdded yn orymdaith anrhydeddus ar hyd High Street. Yr oedd llygaid y byd Cristionogol arnynt, ac yn cymeradwyo eu gwaith—gwasgarwyd y newydd gyda chyflymder aderyn, ar adenydd y wasg newyddiadurol—amlygwyd cydymdeimlad â hwy mewn gair a gweithred—disgynodd haelioni Prydain yn gawodydd i'w trysorfau—derbyniwyd hwy yn llawen i Gapelau pob enwad trwy y deyrnas. Nid oedd un Ddeddf Unffurfiaeth yn eu gwahardd i bregethu; na *Chonvention Act* na *Five Mile Act* i'w dirwyo

na'u carcharu am hyny. Ni feiddiodd ci symud ei dafod yn eu herbyn, fel y cawsant yn ngwenau haul ffurfio eu hunain yn "EGLWYS RYDD SCOTLAND."

Ond yr oedd sefyllfa pethau yn bur wahanol ar *Ddydd Gwyl Bartholomew*, 1662. Yr oedd Deddf Unffurfiaeth wedi ei dwyn i mewn, amcan uniongyrchol yr hon oedd bwrw y Puritaniaid allan o'r Eglwys Sefydledig. Nid cymeryd achlysur oddiwrthi i ymneillduo a wnaethant; ond yr oedd ei holl ddarbodion wedi eu ffurfio gyda'r amcan i'w bwrw hwy allan. A dywedai Iarll Bedford gydag ochenaid wrth Mr. Benjamin Agas "buasai yn dda genyf pe buasai fel arall, ond yr oeddynt yn benderfynol naill ai i'ch gwaradwyddo, neu i'ch distrywio." Dyma un o'r gweithredoedd mwyaf ysgeler a melldigedig a warthruddodd ddeddf-lyfrau Prydain erioed. Byddcd yr Eglwyswyr eu hunain yn farnwyr yn y mater. Mae arnynt oll gywilydd o honi; a dyna y rheswm paham y maent yn cyffroi cymaint pan yr ydym yn galw sylw ati. Cyfraith ydyw ddychmygwyd mewn malais—luniwyd mewn cyfrwysder—basiwyd mewn brad—ac a weinyddwyd mewn creulondeb. Gofynid gan y Puritaniaid gydsynied dirgel a holl ddarbodion y ddeddf hon, neu ymadael a'u bywioliaethau, a hyny ar fyr rybudd. Nid oedd ganddynt ond ychydig gyfle i ymgynghori a'u gilydd; rhaid oedd i bob un gan hyny benderfynu yn ol ei argyhoeddiad personol—dirmygid hwy fel penboethiaid anwybodus, ac ystyrid eu hwyrfrydigrwydd cydwybodol yn gyndynrwydd rhagfarnllyd. Nid peth dymunol i'w teimladau oedd gadael y pulpudau lle y buont dros gynifer flynyddoedd yn "efengylu anchwiliadwy olud gras." Dywedodd un o'i blwyfolion wrth Mr. O. Heywood "O, Mr. Heywood, fe fyddai yn dda genym ni eich cael chwi i bregethu yn ein heglwys ni eto;" "buasai yn dda genyf finau ddyfod pe gallaswn a chydwybod bur." "O, Syr, y mae llawer yn gwneyd rhwyg mawr yn eu cydwybodau y dyddiau hyn, a ellwch chwi ddim gwneyd *nick* bychan yn eich cydwybod." Ond nis gallai, yr oedd ei boddio yn bwysicach na'i fywyd. Nid oedd gan y

[redacted]



rhan fwyaf o honynt ond y weinidogaeth i ddibynu arni am eu bywoliaeth; nid oedd ganddynt gynulleidfaoedd i'w derbyn wedi iddynt droi allan; a phe buasai, yr oedd yr ysbryd erledigaethus mor gryf fel na oddefid iddynt addoli yn eu ffordd eu hunain. Nid Deddf Unffurfiaeth ydoedd i'r Eglwys, ond i'r holl genedl. Rhaid oedd addoli Duw yn eu ffordd hwy neu beidio ei addoli o gwbl. Ymaflid yn mhawb na swniai eu Shiboleth hwy, a theflid ef i garchar. Adgyfodwyd ysbryd erledigaethus y dyddiau gynt. Perffeithiwyd Deddf Unffurfiaeth gan ddeddf y pum' milldir a deddf y cyfarfodydd anghyfreithlon. Ond er holl anfanteision yr amgylchiadau—er creuloned yw nodwedd yr amserau—er mor fygythiol yr edrychai arnynt yn y dyfodol—eto pan y gwawriodd Sabbath, Awst 24ain, yr oedd dros Ddwyfil o ddynion nad oedd y byd yn deilwng o honynt, wedi gadael eu pulpudau, ac ymwadu a'u bywiolaethau "gan farnu yn fwy golud ddirmyg Crist, na thrysorau" y byd, am fod eu ffydd yn edrych yn mlaen ar daledigaeth y gobrwy; "ac aethant allan o olwg y cyngor yn llawen, am eu cyfrif yn deilwng i ddyoddef amharch o achos ei enw ef." Ewch i chwilio am danynt, ac ymofynwch pa le y maent. Mae y pregethwr argyhoeddiadol Richard Baxter heb bulpud i esgyn iddo—mae Dr. Owen heb le i arlwyo ei ddysgleidiau breision i eneidiau newynog—mae John Howe heb neb i wrando arno yn traddodi cynyrchion ei athrylith bur—mae Goodwin heb gyfle i ddangos ei ddysgeidiaeth fanol—a Charnock heb wrandawyr i'w resymau cryfion—rhaid i Flavel addoli mewn difrifwch wrtho ei hun—ac Isaac Ambrose fwynhau mewn unigedd ffrwyth ei fyfyrdodau. Ni fedd Mathew Poole gynulleidfa i esbonio iddi yr ysgrythyrau—mae lle Phillip Henry yn wag yn mhulpud Eglwys Worthenbury—rhaid i Jenkin Jones adael hen Eglwys Llangatwg—mae drws Eglwys Llaugynnyd wedi ei gau yn erbyn Samuel Jones, Brynllywarch—ac nid yw llais Stephen Hughes i'w glywed rhwng muriau Eglwys Mydrim, rhaid iddo ef a'i bobl chwilio am nodded yn nghysgod craig Cwmhwplyn, ac ogof Tany-

capel. Machludodd yr haul yn glafaidd y noson hon, ac ysgrifenwyd ar filoedd o Eglwysi "Ichabod—y gogoniant a ymadawodd;" ac y mae yr ysgrifen heb ei dileu mewn llawer o honynt hyd y dydd hwn.

Ond "dechreuad gofidiau oedd hyn oll." Dilynwyd Deddf Unffurfiaeth gan gyfres o ddeddfau creulawn a gormesol. Rhaid oedd ei hategu trwy gyfreithiau cyffelyb iddi. Yn mhen y ddwyflynedd, yn 1664, dacw Ddeddf y Cynghordy (*Conventicle Act*) yn cael ei dwyn i mewn. Gwaharddai y gyfraith hon bob cyfarfod crefyddol y byddai pump o bersonau uwchlaw 16eg oed, heblaw teulu y ty, yn bresenol; ar neb a geid yn euog, a ddirwyid am y trosedd cyntaf i £5, neu dri mis o garchariad; am yr ail drosedd £10, neu chwe' mis o garchariad; am y trydydd trosedd £100, neu alltudiaeth i'r America; ac os diangent yn ol i'r wlad hon, yr oeddynt yn agored i gael eu rhoddi i farwolaeth. Ac os ceid gwragedd priod yn y cynulliadau hyn, carcherid hwy am 12eg mis, os na thalai eu gwyr £2, er eu rhyddhau. Llanwyd y carcharau o Ymneillduwyr mewn canlyniad i'r ddeddf hon, medd Macaulay; ac yn eu plith lawer o ddynion y gallr yr Eglwysi Cristionogol fod yn falch o'u hathrylith a'u rhinwedd. Y flwyddyn ganlynol, sef 1665, pasiwyd Deddf y Pum' milldir, neu (*Five Mile Act*). Mae yr amgylchiadau dan ba rai y lluniwyd y ddeddf hon yn ysgeler i'w hadrodd. Yn y flwyddyn yma y torodd y pla ofnadwy allan yn Llundain. Rhagflaenwyd y pla gan sychder mawr, y fath ag y losgodd y maesydd fel nad oedd ymborth i'r anifeiliaid. Gwnaeth y pla ddifrod mor ofnadwy fel y bu deng mil farw yr un wythnos. Ffodd y cyfoethogion am eu bywyd—safodd masnach—cauwyd y masnachdai—torwyd pob trafnidaeth rhwng y ddinas a'r wlad, rhag ymledu o'r haint—ni dderbynid perthynas o Lundain i dy yn y wlad, nes ymiachau o hono yn y maesydd fel un gwahanglwyfus—ffoent oddiwrth ddyeithr ddyn a rodiai yr heol—tyfai glaswellt ar heolydd y brif ddinas—ac elai y criwr o gylch bob nos gan alw arnynt i ddwyn eu meirw allan. Par-

[redacted]



haodd felly am naw mis, nes yr ysgubodd ymaith *ganmil* o drigolion y brif ddinas a'i hamgylchoedd. Ciliodd y brenin, a phendefigion ei lys i'w palasau. Ffodd y senedd i Rydychain i eistedd—a gadawodd yr offeiriaid eu heglwysi, er eu bod yn llawn o bobl druain dlodion yn cydlefain "Arglwydd trugarha wrthym." "Y mae y gwas cyflog yn ffoi, oblegid mai gwas cyflog yw!" Yn y cyfyngder anturiodd rhai o'r Gweinidogion a drowyd allan, i'r pulpudau gweigion i bregethu gair y bywyd i'r trueiniaid, gan gwbl gredu na feid mo honynt dan yr amgylchiadau hyny, er eu bod yn troseddu y gyfraith. Yr oedd Janeway, a Vincent, a Turner, a Chester, a Franklin yn mysg y rhai blaenaf yn hyn. Llenwid yr Eglwysi a gwrandawyr astud, oblegid yr oedd angau yn edrych yn eu wynebau. Ni bu adeg mor ddifrifol yn Lloegr erioed. Ac yn y weithred gariadlawn hono yr enillodd yr Annibynwyr galon y brif ddinas; ac nid ydynt byth wedi colli eu gafael ynddi a'i dylanwad drosti. Ond er gwarth oesol i'r Senedd a eisteddai ar y pryd yn Rhydychain, yn lle ymostwng am anwiredd y wlad, y maent yn llunio cyfraith i ddial eu llid ar yr Anghydffurfwyr a beryglasant eu bywyd i bregethu i'r cynulleidfaoedd a adawyd yn amddifaid gan eu bugeiliaid cyflogedig; ac ar y dydd olaf o Hydref rhoddodd y brenhin ei sel wrth ddeddf y "Pum' milldir," neu ddeddf Rhydychain, fel ei gelwid. Gwaharddai y ddeddf hon i un o'r Gweinidogion a ddiswyddwyd i ddyfod o fewn pum' milldir i unrhyw fwrdeisdref, nac i unrhyw fan lle y buont yn gweinyddu neu yn cadw ysgol, oddigerth iddynt gymeryd llw o ffyddlondeb diamodol i'r llywodraeth, ac os troseddant dirwyid hwy i £40; ac o'r arian yma yr oedd un ran i'r brenhin, y rhan arall i'r tlawd, a'r rhan arall i'r hysbysydd. Dan ormes y deddfau anghyfiawn hyn dyoddefodd y tadau "ymdrech mawr o helbulon." Distawyd hwy yn eu gweinidogaeth gyhoedd, a dyma y gosp drymaf ar lawer o honynt. Ciliodd llawer o honynt o'u gwlad—trodd eraill at oruchwylion dinod mewn bywyd anghyoedd. Mae hanes Peter Ince yn eglurhad nodedig ar hyn. Trowyd Mr.

Ince allan o fywoliaeth Dunhead yn Wilts; ac er ei fod yn bregethwr da, ac yn ysgolhaig rhagorol, yn enwedig yn yr Hebraeg, eto gan nad oedd ganddo ddim at ei gynhaliaeth ef a'i deulu, ymwisgodd mewn dillad bugail, a chyflogodd yn ngwasanaeth boneddwr cyfoethog o'r enw Mr. Grove. Yn fuan cymerwyd gwraig y boneddwr yn glaf, ac anfonwyd at offeiriad y plwyf ar iddo dyfod yno i weddio gyda hi. Ar y pryd pan aeth y genad, cyfarfu a'r offeiriad yn myned allan gyda'r cwn i hela, a dywedai nas gallai ddyfod y pryd hwnw, ond deuai wedi i'r *hunt* fyned drosodd. Digiodd y boneddwr yn fawr wrth weled bod yn well gan yr offeiriad fyned allan i hela, na ddyfod i weddio gyda'i wraig oedd yn beryglus o glaf: ond meddai un o'i weision, "Syr, medr y bugail weddio yn dda iawn—clywsom ef lawer gwaith yn gweddio yn y cae." Archodd ei ymofyn, ac wedi ei ddyfod, gofynodd Mr. Grove iddo a allai weddio; edrychai y bugail yn ddifrifol yn llygaid y boneddwr, a dywedai "Na ato Duw Syr, i mi fyw un diwrnod heb weddio." Ceisiwyd ganddo weddio gyda'r foneddiges glaf, yr hyn a wnaeth gyda'r fath briodoldeb i'w sefyllfa, a'r fath daerni dwys, nes synu y boneddwr, a phawb o'r teulu oedd yn bresenol. Wedi codi oddiar ei luniau, ebe Mr. Grove wrtho, "Mae eich iaith a'ch ymddygiad yn dangos i mi eich bod yn rhyw beth gwahanol i'r hyn y mae eich sefyllfa bresenol yn arddangos. Atolwg pwy, a pha beth ydych, a pha beth oeddych cyn dyfod i'm gwasanaeth?" Dywedodd yntau mai Peter Ince oedd ei enw, a'i fod yn un o'r Gweinidogion drowyd allan o'r Eglwys ar Ddydd Gwyl Bartholomew; a chan nad oedd ganddo ddim i fyw arno, iddo ddewis yr alwedigaeth dawel a gonest o fugeilio defaid. "Os felly," meddai Mr. Grove, "*cewch* fod *fy mugail, a bugail fy nheulu;* ac nid bugail fy nefaid." Adeiladodd Gapel iddo ar ei ystad, lle y pregethodd, y casglodd gynulleidfa, ac y ffurfiodd Eglwys; ac y mae yn aros yno, meddir, hyd y dydd hwn. Anturiodd eraill i gyflawni eu gweinidogaeth er yr holl beryglon. Teithient ugain, deg ar hugain, a deugain milldir i gyfarfod

[redacted]



ag ychydig bobl druain dlodion yn nghilfachau y mynyddoedd —coedwigoedd anghysbell—ogofau tywyllion, neu ystafelloedd dirgelaidd yn nyfnder y nos ; a gwyliai y naill yn niffyg y llall rhag i'r gelynion, y rhai oedd fel gwaedgwn sychedig yn chwilio, ddyfod yn ddiarwybod iddynt ar eu gwarthaf. Mae llawer o hen lanerchau felly yn Nghymru, lle y bu ein tadau yn ymgynull i addoli :—cyfarfyddai hen Eglwys Cufnarthen yn Nghastell Craigywyddon—bu Eglwys Pencadair yn ogof Cwmhwplyn—ymgynullai Eglwys Capel Isaac yn ogof Tany-capel—ymgasglai Eglwys Cwmnedd i goedwig Blaengwrach —cysegrodd Eglwys Llanbrynmair ystafell yn y Tymawr ; heblaw llawer mwy a allesid nodi ; a'r cynulliadau hyn a elwid yn gyfarfodydd anghyfreithlawn, a dyoddefwyd mewn canlyniad i ymgynull iddynt ymdrech mawr o helbulon. Aeth y llafurus James Owen, wedi hyny o Groesoswallt, i sir Gaernarvon, lle yr oedd y fagddu yn gorchuddio y bobloedd—pregethodd yn Bodwel yn agos i Bwllheli, i ychydig ymneillduwyr oedd yno yn nghanol ffwrn danllyd erledigaeth. Ond cododd ystorm yn ei erbyn. Bu am naw mis yn guddiedig. Yr oedd yno un dyn mawr corffol yn tyngu y mynai ei ladd. Diangodd James Owen o hyd nos i dy yr hyglod Hugh Owen, Bronyclydwr, lle y cafodd groesawiad ac ymgeledd. Sefydlodd wedi hyn yn Swaney, yn agos i Groesoswallt. Teithiodd siroedd Trefaldwyn, Dinbych, a Fflint. Unwaith pan yn pregethu yn mhlwyf Hope, daeth dau grachfoneddwr o hela, troisant i'r ty, tynasant y pregethwr i lawr, cymerasant ei Feibl oddiarno, ar hwn yr oedd mynegair wedi ei rwymo, a phenau ei bregeth wedi ei hysgrifenu yn Lladin. Gyrwyd y pregethwr a'r gwrandawyr fel gyr o ychain o'u blaen i'r Wyddgrug—tyngent nad oedd y Beibl yn un cyfreithlawn. Dygwyd hwy o flaen yr Ynad, yr hwn a'u triniodd yn sarug ; gyrwyd am Vicar y plwyf i ddarllen yr ysgrif Lladinaidd, yr hwn a ddywedodd mai penau pregeth ydoedd oddiar y geiriau " Y mae efe oll yn hawddgar." Gollyngwyd y bobl ymaith ar yr amod iddynt ymddangos pa bryd bynag y gelwid

am danynt; ond traddodwyd Mr. Owen a gwr y ty i garchar Caerwys. Bu y ceidwad yn dirion iawn o honynt. Treuliai Mr. Owen bump neu chwech o oriau bob dydd mewn esbonio yr ysgrythyrau i'r carcharorion, ac ymgynullai lluaws eraill i wrando. Cynhyrfodd yr awdurdodau ac ofnent y gwnai fwy o niwed yn rhwym nac yn rhydd, gorchymynasant i'r ceidwad gadw y drws yn glöedig: ond ymgasglai y bobl yn lluoedd o gylch y ffenestri ar yr oriau y gwyddent ei fod wrthi. Ac er ei fod fel Paul yn genad mewn cadwyn, eto traethai ei genadwri yn hyf fel y perthyn ei thraethu. Deallodd ei gyfeillion fod ei garchariad yn anghyfreithlon, ac apeliasant am ei ryddid, yr hyn a ganiatawyd. Ceisiai rhai ganddo gospi yr Ynad, ond dywedai "Mai yn achos yr Arglwydd yr oedd yn dyoddef, ac y gadawai yr un a wnaeth y cam yn llaw y Duw sydd yn barnu yn gyfiawn;" ac ychwanegai "os nad oedd crefydd yn werth dyoddef drosti, nad oedd yn werth ei phregethu nac ymddiried ynddi." Blynyddoedd yr oedd llid uchel Eglwyswyr yn cael ei dywallt oedd y blynyddoedd hyny. Cyn dyfodiad y brenin drosodd i Dover, yr oedd y blaid Esgobyddawl yn brysur yn gyru 40 o Grynwyr i garchar Caerdydd, ac 28 i garcharu Dinbych a Fflint. Carcharwyd Jenkin Jones a'i gynulleidfa yn Nghaerfyrddin; ac yr oedd carchar Trefaldwyn mor llawn o Annibynwyr, Bedyddwyr, a Chrynwyr, fel yr oedd y ceidwad yn gorfod eu pacio yn y garret. Mae dyoddefiadau Henry Williams, Yscafell, yn fwy nag a all cnawd oddef gwrando eu hadrodd heb deimlo. Gweinyddai yn benaf yn Llanbrynmair. Ymosodwyd arno unwaith pan oedd yn pregethu, a churwyd ef mor giaidd nes y tybiwyd ei fod wedi marw. Carcharwyd ef lawer gwaith, fel y treuliodd, a chyfrif y cwbl ynghyd, naw mlynedd yn y carchar. Unwaith pan oedd yn y carchar gosododd yr erlidwyr dân yn ei dy, a llosgasant ef hyd lawr. Dro arall rhuthrasant i mewn—ammharchasant ei wraig, yr hon oedd yn feichiog ar y pryd—a *llofruddiasant* ei dad yngyhyfraith. Nid yw hyn ond ychydig engreifftiau o ddyoddefiadau creulawn y dyddiau

[redacted]



hyny. Amser a ballai i mi fynegu am William Jenkyn, wŷr i'r merthyr santaidd John Rogers, fu farw yn Newgate yn 72 oed—am y gwawd a'r gwaradwyddiadau a ddyoddefodd Richard Baxter ger bron y barnwr anghyfiawn Jeffreys, a'r modd y traddodwyd ef i gell afiach yn ngharchar Llundain—am Bunyan gyfyngwyd rhwng muriau carchar Bedford am lawn 12 mlynedd—am Joseph Alleine a'i wraig, a'i dad oedranus, a saith o weinidogion ereill, a 40 o'i wrandawyr daflwyd i garchar Ilchester—am Lady Alice Lisle, yr hon y torwyd ei phen am noddi yn ei thy John Hicks a Richard Nelthorpe—ac am Isaac Watts, tad y peraidd ganiedydd, a ymlidiwyd o garchar i garchar am ei grefydd. Digon yw dyweyd fod 22,000 wedi eu hymlid o'u gwlad o ddechreu teyrnasiad James I hyd ddiwedd teyrnasiad Charles II—fod £12,000,000 wedi eu talu mewn dirwyon a cholledion o'r adferiad hyd y chwyldroad—fod 60,000 wedi dyoddef yn eu personau am eu crefydd yn yr adeg—a bod 8,000 wedi marw mewn carcharau o'r adferiad yn 1640, hyd y chwyldroad yn 1668, yspaid 28 mlynedd. "Dyoddefasant ymdrech mawr o helbulon." A gwnaed hyn oll yn enw crefydd—gwnaed hyn oll dan nawdd cyfraith ein gwlad—gwnaed hyn oll dan ddylanwad uchel Eglwyswyr y dyddiau hyny—a gwnaed hyn oll a'r dynion goreu feddai Duw ar y ddaear. Dynion fel Daniel, nas gallesid cael dim yn eu herbyn, "ond o ran cyfraith eu Duw."

Ond yn yr holl aberthau a wnaethant bu Rhagluniaeth ddwyfol yn amddiffyn iddynt. Ni chafwyd erioed brofion eglurach o wirionedd yr addewid "y rhai a geisiant yr Arglwydd, ni bydd arnynt eisiau dim daioni." Os bu Rhagluniaeth neillduol yn cyfryngu ar ran pobl erioed, bu felly ar ran yr Anghydffurfwyr. Nid oedd gan ond ychydig o honynt ddim i ymddibynu arno wedi eu bwrw allan o'u bywoliaethau, eto treiglasant eu ffordd ar yr Arglwydd, bu iddynt yn "noddfa, ac yn nerth, yn gymhorth hawdd ei gael mewn cyfyngder." Pan fwriwyd Mr. David Anderson allan o fywoliaeth Walton-upon-Thames, yr oedd yn ofni am ddychweliad Pabyddiaeth i

awdurdod yn y wlad yma, felly yn fuan gadawodd ei wlad, ac aeth ef a'i wraig, a phump o blant drosodd i Zealand, ac ymsefydlodd yn Middleburgh. Gan nad oedd ganddo unrhyw alwedigaeth darfu yn fuan yr ychydig arian oedd ganddo. Yr oedd blwyddyn o ardreth wedi rhedeg arno am ei dy, a'i amgylchiadau wedi darostwng mor isel, nes bod arno eisiau bara. Ond y fath oedd ei wyleidd-dra na wyddai pa fodd i wneyd ei achos yn hysbys mewn gwlad ddyeithr. Yn y sefyllfa yma un boreu wedi gweddio gyda'i deulu, gofynai ei blant am eu boreufwyd ; ond nid oedd dim i'w gael, nac arian i brynu peth ; a thorasant oll i gydwylo. Ar hyny y mae y gloch yn canu, ac y mae Mrs. Anderson yn myned i'r drws yn ei gwisg lom gyffredin. Mae yno ddyn yn gofyn iddi am ei meistress, ac wedi iddi ddyweyd mai hi oedd Mrs. Anderson, mae y dyn yn estyn papyr iddi ac yn dyweyd "Mae boneddwr wedi anfon i chwi y papyr yma, ac efe a enfyn i chwi ymborth yn fuan." Aeth y negesydd ymaith heb ddyweyd ei enw, na mynegi o ba le y daeth. Ac yn fuan daeth yno ddyn a llwyth anifail o bob lluniaeth angenrheidiol arnynt ; ac ni wybu Mr. Anderson na'i wraig hyd ddydd ei marwolaeth pwy oedd eu cymwynaswr a anfonodd iddynt ymwared mor brydlawn. Bu ef a'i wraig farw yn lled ieuanc, ond gofalodd yr un boneddwr na bu ar y plant amddifaid eisiau dim. Mor wir y dystiolaeth "Ni welais y cyfiawn wedi ei adu, na'i hâd yn cardota bara." Cafwyd allan gwedi hyny mai marsiandwr cyfoethog yn y ddinas, wrth weled y Puritan gwylaidd yn rhodio yr heol, a wnaeth ymchwiliad i'w amgylchiadau.

Dyoddefodd Mr. Henry Erskine lawer wedi ei droi allan o Cornhill yn Northumberland. Bu yn byw am beth amser yn Dryburgh, lle yr oedd ef a'i deulu yn fynych mewn cyfyngder mawr. Unwaith yn neillduol pan oedd y "blawd yn y celwrn, a'r olew yn yr ysten" wedi darfod, ac ar ol swpera y nos o'r blaen nid oedd na bara, na blawd, nac arian yn y ty. Yn y boreu y mae y plant bach yn llefain am eu boreufwyd, a'r tad yn ceisio eu difyru hwy ; ac ar yr un pryd yn ceisio gwroli

[redacted]



ei galon ei hun a'i wraig i ddibynu ar y Rhagluniaeth sydd yn "gwrando cri cywion y cigfrain pan lefont." Ar hyn dacw wladwr yn curo yn y drws, ac yn galw ar ryw un i'w helpu gyda'i lwyth. Wedi gofyn beth oedd ganddo, ac o ba le y daeth, dywedodd ei "fod yn dyfod oddiwrth Lady Redburn gyda lluniaeth i Mr. Erskine." "Yr ydych wedi camgymeryd, mae yn debyg mai i Mr. Erskine o Shirley, y mae." "O na," ebe y gwladwr, "mi wn beth yr wyf yn ei ddyweyd, yr wyf wedi fy ngyru at Mr. H. Erskine ; dewch" meddai, "helpwch fi a fy llwyth, onide mi a'i taflaf ef wrth y drws." Ar hyny cymerasant y sach, ac wedi ei hagor, yr oedd wedi ei llenwi â blawd a chig, fel y diwallwyd eu heisiau ; ac y dysgwyd hwy i gredu yr hwn a ddywedodd, "Ofnwch yr Arglwydd ei saint ef, canys nid oes eisiau ar y rhai a'i hofnant ef. Y mae eisiau a newyn ar y llewod ieuainc, ond y sawl a geisiant yr Arglwydd ni bydd arnynt eisiau dim daioni."

Rhoddir i ni engraifft nodedig o ofal Rhagluniaeth yn hanes Mr. Oliver Heywood drowyd allan o Caley, yn Yorkshire. Rhydd Dr. Fawcett awdurdod ddiamheuol dros yr hanes. Yr oedd Mr. Heywood yn byw yn agos i Halifax, ac wedi ei wasgu i gyfyngder mor galed, nes y dechreuodd ei blant fod mewn eisiau. Yr oedd ganddo forwyn o'r enw Martha, yr hon ni fynai ymadael ag ef, a rhyw foreu galwodd arni a dywedodd wrthi am fyned i Halifax at Mr. N——, masnachydd yno, a gofyn am fenthyg 5s., ac os gwelai y gwr yn dda ei roddi, am iddi brynu y pethau y gwyddai yr oedd arnynt eu hangen. "Yr Arglwydd a lwyddo eich neges, a thra y byddoch chwi yn myned, ni a gyflwynwn ein gweddiau at yr Hwn sydd yn 'tori gwanc cenawon llewod'" Aeth Martha, ond erbyn ei bod wrth y tŷ llesgaodd ei chalon, ac ni feddai wroldeb digonol i fyned i mewn. Aeth heibio yn ol ac ymlaen heb fyned i mewn i ddyweyd ei neges. Daeth Mr. N—— i'r drws, galwodd arni, a gofynodd iddi "Ai nid morwyn Mr. Heywood ydoedd?" Atebodd yn gadarnaol. "Y mae yn dda genyf eich gweled ; mae rhyw gyfeillion yma wedi gad-

ael pum' gini i'ch meistr, ac yr oeddwn yn awr yn meddwl pa fodd i'w hanfon." Ar hyn torodd Martha i wylo, a dywedodd ei neges. Teimlodd y masnachwr yn fawr, a dywedodd os bydd byth galedi fel yna eto, cofiwch ddyfod yma. Wedi prynu y pethau angenrheidiol, y mae yn brysio yn ol gyda hwy, a'r plant yn ymwthio i weled beth oedd yn y fasged; ac wedi i'r tad glywed y forwyn yn adrodd yr hanes, y mae yn dywedyd dan wenu "Ni anghofiodd Duw drugarhau," "tarian yw efe i'r rhai a ymddiriedant ynddo." Gwasgwyd Henry Maurice, Church Stretton, sir Amwythig, i amgylchiadau cyfyng. Er fod gan ei wraig gynysgaeth o £40 yn y flwyddyn, eto cadwyd hwy yn anghyfiawn oddiwrthi am ddeng mlynedd. Ac ar un adeg pan wedi ei ddwyn i amgylchiadau pur wasgedig, ac yn gweddio yn ei deulu, gan gyfeirio yn neillduol at eu sefyllfa angenus; dyna *carrier* yn curo yn y drws, yn gofyn am Mr. Maurice, ac yn estyn iddo ddyrnaid o arian fel anrheg oddiwrth gyfaill, ond ni ddywedai pwy ydoedd; a daeth ar adeg arall hefyd ag ymwared yn bur amserol. "Yr Arglwydd a ddarpara." Mae y llaw ofalodd am y wraig weddw o Sarepta, ac a fendithiodd y blawd yn y celwrn a'r olew yn yr ystên, fel na threuliodd am flwyddyn gyfan—y llaw borthodd Elias trwy gigfrain ar lan afon Cerith, â bara chig y boreu a bara chig y prydnhawn, ac yntau yn yfed o'r afon; mae y llaw hono eto yn amddiffyn, a diogelu, a chyflawni eisiau y rhai er mwyn cydwybod a ufuddant i Dduw, yn fwy nag i ddynion. "Yr hwn a rodia mewn cyfiawnder, ac a draetha uniondeb, a wrthyd elw trawsder, a ysgwydwo ei law rhag derbyn gwobr, a gauo ei glust rhag clywed celanedd, ac a gauo ei lygaid rhag edrych ar ddrygioni. Efe a breswylia yr uchelderau; cestyll y creigiau fydd ei amddiffyna ef; ei fara a roddir iddo, a'i ddwfr fydd sicr." Ac nid yn unig diogelwyd hwynt, ond goruwch reolwyd amgylchiadau chwerw er daioni iddynt—trodd ein Duw ni felldith yn fendith mewn llawer amgylchiad—a gwregysodd lawer un nad adwaenai ef i ddwyn i ben ei amcanion. Mae digwyddiad tra hynod yn

[redacted]



nglŷn â hanes John Rogers, fwriwyd allan o Croglyn, yn Cumberland. Yr oedd Syr Richard Cradock yn byw yn yml Mr. Rogers, ac yn elyn creulawn i Ymneillduaeth. Danfonodd yspiwyr i un o'u cyfarfodydd i gymeryd i lawr enwau y rhai oedd yn bresenol; a gwysiwyd Mr. Rogers a'i bobl i ymddangos ger bron Syr Richard. Ofnent yn eu calonau fyned, gan wybod am ei gynddaredd. Tra yr oeddynt yn y neuadd yn disgwyl cael eu galw i mewn, daeth geneth fechan 6 neu 7 oed, wyres i Syr Richard, i mewn i'r neuadd. Edrychodd ar Mr. Rogers, ac wrth weled ei wlwg hynaws a'i wallt gwyn, nesaodd ato, a chan ei fod yn naturiol hoff o blant, dechreuodd siarad â hi. O'r diwedd anfonodd y boneddwr y gwas i ddyweyd fod un o'r tystion wedi ei gymeryd yn glaf, a bod yn rhaid iddynt oll ddyfod ar ddiwrnod arall. Y dydd a ddaeth, a Mr. Rogers gan obeithio gweled yr eneth fechan, a ddygodd ryw felusion gydag ef. Cyn gynted ag y gwelodd hi ef, rhedodd ato gan ymddangos yn fwy hoff o hono nag o'r blaen. Yr oedd ei thaid yn hoff iawn o'r ferch fechan, ac yr oedd wedi cael y fath oruchafiaeth arno nas gallai omedd dim iddi; ac yr oedd ei thymer mor greulawn na oddefai ei gwrthddywedyd. Unwaith brathodd gyllell i'w braich, oblegid iddi gael ei chroesi. Goruwchreolwyd y dymer ddrwg hono yn yr amgylchiad hwn er daioni. Pan yn eistedd ar lin Mr. Rogers, mae yn edrych arno yn ddifrifol, ac yn gofyn, "Beth ydych chwi yn ymofyn yma, Syr?" "Yr wyf yn meddwl," ebe yntau, "fod eich taid yn myned i ngyru I a'm cyfeillion i'r carchar." "I'r carchar," ebe hi," "am beth: beth a wnaethoch?" "Wel, ni wnaethum I ddim, ond pregethu yn y fan a'r fan; ac ni wnaethant hwythau ddim ond gwrandaw arnaf." Ond meddai, "ni chaiff fy nhaid eich gyru chwi i garchar." "Ah, merch anwyl i, y mae yn ysgrifenu gwarant ein carchariad oll yn awr." Ar hyn y mae yn rhedeg i fynu at ddrws yr ystafell lle yr oedd Syr Richard, ac yn ei guro a'i phen a'i thraed nes cael myned i mewn, ac yna yn gofyn "Beth ydych chwi yn myned i wneyd i'r hen wr boneddig yn yr hall?"

"Nid yw hyny ddim i chwi," ebe ei thaid, "ewch o gwmpas eich *bus'ness.*" "Ond nid af," ebe hithau, "mae yn dyweyd eich bod yn myned i'w yru ef a'i gyfeillion i garchar; ac os gwnewch, mi foddaf fy hunan yn y llyn cyn gynted ag yr ant. Yn wir mi wnaf." Pan y gwelodd y plentyn mor gyffrous, siglodd ei benderfyniad; a chan gymeryd y warant yn ei law y mae yn dyfod i'r *hall*, ac yn dyweyd, "Yr oeddwn wedi ysgrifenu y warant i'ch gyru i'r carchar fel yr ydych oll yn haeddu; ond ar gais yr eneth yma, yr wyf yn dropio yr erlyniad, ac yn eich gollwng yn rhydd." Maent oll yn plygu ac yn diolch iddo; ond y mae Mr. Rogers yn myned at y ferch fechan, yn rhoddi ei law ar ei phen, a chan godi ei olygon tua'r nef, dywedai, "Yr Arglwydd a'ch bendithio, fy anwyl blentyn. Bydded bendith y Duw hwnw y dadleuasoch ei achos yn awr, er heb yn wybod, arnoch mewn bywyd, yn angau, ac am dragywyddoldeb." Mor wir y dystiolaeth—"O enau plant bychain a'r rhai yn sugno y peraist nerth, o achos dy elynion, i ostegu y gelyn a'r ymddialydd." Ond nid yw yr effeithiau yn darfod yn y fan yna.

Yn mhen blynyddoedd lawer ar ol hyn yr oedd Mr. Timothy Rogers, mab John Rogers, yn adrodd yr hanes yna a glywsai lawer gwaith gan ei dad, wrth Mr. Thomas Bradbury yn nhy Mrs. Tooley, boneddiges nodedig am ei chrefydd yn yr oes hono; a'r hon yr oedd ei thŷ fel eiddo Lydia, bob amser yn agored i weision Crist. Wedi gwrando yn astud, ebe Mrs. Tooley, "ac yr ydych chwi yn fab i'r Mr. Rogers hwnw? Yn ystod yr holl flynyddoedd y bu'm adnabyddus â chwi, ni wybum hyny o'r blaen. Ac mi ddywedaf rywbeth wrthych nas gwyddoch chwithau. Myfi yw yr eneth fechan hono fendithiwyd felly gan eich anwyl dad; a gwnaeth argraff ar fy meddwl nas gallaf byth ei anghofio." Wedi amlygu teimladau o syndod o'r ddautu, gofynodd Mr. Bradbury iddi pa fodd y daeth hi at yr Ymneillduwyr, ddygwyd i fynu dan ddylanwad y fath elyniaeth atynt. Dywedodd yr hanes hynod a ganlyn. Wedi marwolaeth ei thaid daeth yn etifeddes i'w

[redacted]



holl feddianau, y pryd hwnw yn mywiogrwydd ieuenctyd, a heb neb i'w llywodraethu, "rhodiodd yn ol helynt y byd hwn" yn ddiwahardd. Ond addefai wedi i'r pleserau fyned heibio, y teimlai ryw anesmwythder tuag atynt hwy a thuag ati ei hunan. Dan dipyn o anhwyldeb meddyliodd am fyned i Bath, wedi clywed ei fod yn lle am iechyd a difyrwch. Yno yn rhagluniaethol arweinwyd hi i ymgynghori â meddyg, yr hwn oedd yn ddyn crefyddol. Gofynodd iddi "beth oedd arni?" "Wel nid oes dim rhyw lawer ar fy nghorff, ond fod rhyw anesmwythder yn fy meddwl nas gallaf gael gwared o hono." "Yn wir, Miss, yr oeddwn felly fy hunan nes y cyfarfyddais â llyfr neillduol, hwnw a'm gwellaodd I." "Llyfr yn wir! yr wyf yn cael pob llyfrau y gallaf roddi fy llaw arnynt—*plays*, *novels*, *romances*, ond wedi eu darllen oll mae fy anesmwythder yr un." "Gall hyny fod Miss, ac nid wyf yn rhyfeddu at hyny: ond am y llyfr yr wyf fi yn siarad am dano, gallaf ddyweyd am dano yr hyn ni allaf ddyweyd am unrhyw lyfr arall a ddarllenais erioed; ni byddaf byth yn blino ei ddarllen, a pha amlaf y darllenaf ef, mwyaf oll a welwyf ynddo." "Wel Doctor, pa lyfr ydyw?" "Ah! dyna y *secret* na byddaf yn dyweyd i bob un." "Ond ai ni allaf gael golwg arno?" "Gellwch os dywedwch yn deg wrthyf, gallaf eich helpu i cael golwg arno. Os addewch un peth dygaf ef i chwi; hyny ydyw, y bydd i chwi ei ddarllen yn ofalus; ac os na welwch gymaint ynddo y tro cyntaf, yr ail ddarllenwch ef." Addawodd yn ffyddlon y gwnai. Ar ol dyfod ddwywaith neu dair hebddo i gyffroi ei chywreinrwydd; o'r diwedd y mae yn ei dynu allan o'i logell ac yn ei estyn iddi: y llyfr oedd y Testament Newydd. "Poh!" meddai, "gallwn gael hwn unrhyw bryd." "Gwir Miss, felly y gallwch; ond mae genyf eich addewid ddifrifol y darllenwch ef yn ofalus." "Wel, er na ddarllenais ef erioed o'r blaen, mi a'i darllenaf," ebe hi. Dechreuodd arno, tynodd ei sylw yn fuan, ond aeth ei meddwl ddeng mwy anesmwyth; ond pa fwyaf yr anesmwythder, mwyaf oll ddarllenai o'r llyfr. Heb wybod beth i

wneyd dychwelodd i Lundain, gan benderfynu cynyg unwaith eto beth a allai "difyrwch meibion dynion" wneyd i ymlid y cymylau oedd ar ei meddwl. Ond nid oedd dim yn ateb yr amcan. Lletyai yn y West End, ac yr oedd gyda hi foneddiges yn gydymaith. Ar un nos Sadwrn cafodd freuddwyd rhyfeddol. Gwelai ei hunan mewn lle o addoliad, lle y clywodd bregeth; ond wedi deffro nid oedd yn cofio dim ond y testyn, ond yr oedd y lle a delw y pregethwr yn glir o flaen ei meddwl, fel pe buasai yn ei adnabod er's blynyddoedd. Adroddodd y breuddwyd i'w chydymaith, a dywedai ei bod yn benderfynol ar ol boreufwyd i fyned i chwilio am y lle, ac y mynai afael ynddo, serch cerdded Llundain o un pen i'r llall. Cychwynasant allan, ac aethant i lawer o Eglwysi wrth basio, ond ni welai yr un yn ateb i'r disgrifiad a welsai. Tuag un o'r gloch mae yn cael ei hunan yn nghanol y ddinas, ac wedi troi i ryw le i gael ciniaw, mae yn ail gychwyn i chwilio am y lle. Mae yn y Poultry tua haner awr wedi dau, a gwelai nifer o bobl yn myned i lawr Old Jewry, a phenderfynodd eu dilyn, er gweled lle yr elent, canlynodd nes bod yn y Tŷ cwrdd, lle yr oedd Mr. Shower yn weinidog. Cyn gynted ag yr aeth trwy y drws ac yr edrychodd y lle, dywedodd wrth ei chyfeilles, "Dyma y lle a welais yn fy mreuddwyd neithiwr." Yn fuan gwelai Mr. Shower yn esgyn i'r pwlpud, a dywedai mewn syndod, "Dacw y dyn a welais yn fy mreuddwyd, ac os deil pob rhan yn dda, darllena yn destyn—'Dychwel o fy enaid i'th orphwysfa, canys yr Arglwydd a fu dda wrthyt.'" Pan gododd i weddio mae pob gair yn myned i'w chalon, a darllenodd y geiriau a nododd yn destyn—"agorodd yr Arglwydd ei chalon i ddal ar y pethau"—cafodd orphwysfa i'w henaid blinderog a llwythog—aeth o'r odfa wedi myned trwyodd o farwolaeth i fywyd—a phrofodd mewn bywyd ac yn angau y fendith ddymunwyd iddi gan John Rogers. "Mor anchwiliadwy yw ei farnau ef, a'i ffyrdd mor anolrheiniadwy ydynt." "Mae yn gwneuthur pethau rhyfedd nas gwyddom ni."

[redacted]



Ond atolwg, paham y gwnaethant y fath aberth—y wynebasant y fath gyfyngderau—ac y goddefasant y fath ymdrech mawr o helbulon? Yr egwyddorion goruchel a'u cymhellodd ac a'u cynhaliodd oedd uwchafiaeth Crist yn ei eglwys—awdurdod unigol gair Duw mewn crefydd—hawl pob dyn i addoli ei greawdwr yn ol argyhoeddiad ei feddwl—a rhwymedigaethau cysegredig cydwybod. Ac yn hyn yr ydym yn honi yr anrhydedd o fod yn olynwyr iddynt. Safwn ni lle y safasant hwy. Gwrthdystiwn yn groyw yn erbyn heriadau dynol mewn crefydd, ac arosodiad y llywodraeth wladol o ddeddfau sydd yn sathru ar ryddid crefyddol y deiliaid; a dyma ein rheswm os gofynir i ni ei roddi, dros anrhydeddu eu coffadwriaeth—Yr ydym yn rhyfeddu eu talentau—yn mawrygu eu hathrylith—yn synu at eu dysgeidiaeth—yn parchu eu galluoedd—yn anrhydeddu eu doniau—yn gwerthfawrogi eu hysgrifeniadau. Ond eu hymlyniad hyd angau wrth y gwirionedd—eu ffyddlondeb di-ildio i argyhoeddiad eu cydwybodau—eu heiddigedd sanctaidd dros awdurdod gair Duw mewn crefydd—a'r warogaeth anrhydeddus a dalasant i'r Arglwydd Iesu Grist, fel unig a phriodol ben ei eglwys, sydd wedi anfarwoli eu coffadwriaeth. Ac yn y fan yma cymerwn ein safle. Safwn ni lle o safasant hwy—amddiffynwn hawl pob dyn i farnu drosto ei hun mewn crefydd, ac addoli Duw yn ol argyhoeddiad ei gydwybod—dadleuwn dros hawliau coron Emanuel—cymerwn y gyfrol ddwyfol fel ein *great charter*, a thra y mae canoedd o leisiau yn gofyn Beth a ddywed y tadau? Beth a ddywed y canonau? Beth a ddywed yr Eglwys? Beth a ddywed y traddodiadau? Beth a ddywed y Senedd? Ymaflwn ni yn yr oracl sanctaidd hon gan ddywedyd "Gwrandawaf beth a ddywed yr Arglwydd," a "pha beth bynag a ddywed efe wrthych, gwnewch." Dyma wnaeth ein tadau, ac wrth bob un a fyno fod yn olynydd iddynt, dywedwn, "Dos a gwna dithau yr un modd."

*Anrhydeddwch y dynion hyn.*—Mae cymwynaswyr cymdeithas yn gyffredin yn derbyn teyrnged o barch am eu gwas-

anaeth. Gwobrwyir y dyn a beryglo ei fywyd ei hun er achub ei gyd-ddyn. Cyflwynir tystebau yn gydnabyddiaeth i'r rhai a ymdrechasant dros egwyddorion pur dan anfanteision—ysgrifenir cyfrolau bywgraffyddol er cadw mewn cof y llafurus gariad a ddangoswyd gan ryw rai er mwyn ei enw ef—a chyfodir cofadeiliau er anrhydedd i'r rhai a wnaeth wrhydri ar faes y gwaed, ac a brynasant orseddau â min y cledd. Os telir yn ewyllysgar y cyfryw warogaeth, gallwn yn hyf ddywedyd —*Anrhydeddwch y dynion hyn.*

*Pwy a anrhydeddir?* Ai y gwladgarwr yr hwn yn ngwres ei deimlad dros hawliau ei wlad, a berygla ei fywyd i'w hamddiffyn; ac a ddewisa garchar ei hunan, yn hytrach nag aberthu ei rhyddid hi? Os felly—*Anrhydeddwch y dynion hyn.*

*Pwy a anrhydeddir?* Ai y diwygiwr cymdeithasol sydd yn chwilio allan gilfachau cuddiedig trueni y werin, ac a ymwada ag ef ei hun er dyrchafu eu haddysg a gwella eu moesau? Os felly—*Anrhydeddwch y dynion hyn.*

*Pwy a anrhydeddir?* Ai y duwinydd manylgraff sydd yn ymafael yn egwyddorion mawrion yr Efengyl—yn treiddio i galon dyfnion bethau Duw, ac yn ymrwyfo fel lefiathan trwy ganol tonau yr ysgrythyrau? Os felly—*Anrhydeddwch y dynion hyn.*

*Pwy a anrhydeddir?* Ai y Cristion cydwybodol y mae ofn Duw wedi ymlid ofn dyn o'i fynwes—sydd a'i feddwl mewn cymdeithas barhaus â sylweddau byd ysbrydol; ac er yn byw ar y ddaear, eto "a'i ymarweddiad yn y nefoedd;" ac yn "dangos yn eglur eu bod yn ceisio gwlad well, a hono yn un wy[illegible]" Os felly—*Anrhydeddwch y dynion hyn.*

*Pwy a anrhydeddir?* Ai y gweinidog gonest nad yw bywoliaeth ond dibwys yn ei olwg, os ca gyfle i rybuddio eneidiau i "ffoi rhag y llid a fydd," a'u cyfeirio at "Oen Duw yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd"—sydd a'r byd o'r tu ol i'w gefn—cariad Crist lonaid ei galon, a llesad llaweroedd o flaen ei lygaid? Os felly—*Anrhydeddwch y dynion hyn.*

[redacted]



*Pwy a anrhydeddir?* Ai y merthyr sanctaidd sydd yn myned "allan o olwg y cyngor yn llawen, am gael ei gyfrif yn deilwng i ddyoddef anmharch er mwyn ei enw ef," nad "gwerthfawr ganddo ei einioes ei hun"—all ganu mewn carcharau—a chyflwyno ei ysbryd i ofal ei Bryniawdwr ar yr arteithglwyd, a throi y fflamau yn gerbyd tanllyd i fyned adref i ogoniant? Os felly—*Anrhydeddwch y dynion hyn.* O! chwychwi, Arwyr cysegredig i achos daioni ysbrydol dynoliaeth! A soniwch chwi am Alexander—a Ceasar—a Pedr fawr—a Charles y 12fed—a Napoleon—a Wellington yn ymyl y fath ddynion a gysegrasant eu bywydau i ddyrchafu Duw yn iachawdwriaeth dyn? Disgyned "deuparth o'u hysbryd" hwy arnom ni yn y flwyddyn hon. Mager dynion o gyffelyb feddwl ar ein haelwydydd—meithrner hwy yn ein Hysgolion Sabbothol—tywallter eu hysbrydiaeth ar fyfyrwyr ein Colegau, a Gweinidogion ieuainc ein Heglwysi—cyfoder yn 1862 fintai gref i fyned allan yn "ysbryd a nerth" DWY FIL ffyddloniaid 1662; ac yna bydd yn werth gan yr oes nesaf ddyweyd am danom ninau—ANRHYDEDDWCH Y DYNION HYN.

## Y PWLPUD CYMREIG.

Mae y pwlpud wedi ei hynodi fel safle rhai o'r areithwyr galluocaf a fu yn y byd erioed. Nid yn unig y mae wedi cynyrchu dynion manwl fel athrawiaethwyr, eglurhäol fel esbonwyr, craff fel beirniaid, a difrifddwys fel pregethwyr; ond y mae hefyd wedi cynyrchu rhai o'r dynion mwyaf hyawdl, doniol, a phoblogaidd, fel areithwyr. Dynion a allasai gadwyno sylw cynulleidfa, ac apelio atynt gyda'r fath awdurdod nes cymeryd perchenogaeth lwyr o honynt. Yr oedd gan yr ef-

engyl ddynion fel hyn yn yr oes apostolaidd ;—ac y maent wedi bod yn achlysurol o'r pryd hwnw hyd yr awr hon.

Nid oedd Paul, fel y tybir, ond dyn bychan, gwanaidd, di-olwg, yn allanol, eto yr oedd tanbeidrwydd ei ysbryd, ac angerddoldeb ei enaid yn gosod rhyw fawreddigrwydd hyd yn nod ar eiddilwch ei berson, ac yn peri iddo ymddangos mewn gwirionedd yn "ddyn Duw." Ymresymai gyda'r fath awdurdod ger bron Ffelix—"am gyfiawnder, a dirwest, a'r farn a fydd," fel y dychrynodd y rhaglaw ; ac amddiffynodd ei hun ger bron Agrippa gyda'r fath feistrolaeth, fel y dywedodd y brenhin, "Yr wyt ti o fewn ychydig i'm henill i fod yn Gristion." Pregethai Bossuet bregeth angladdol y Dywysoges Henrietta, a phan y darluniai ingoedd ei marwolaeth, cyfodai yr holl dyrfa ar eu traed, a braw angeu yn eu gwynebau.

Pan yr esgynodd Massillon i'r pwlpud ar farwolaeth Louis XIV, edrychai am funyd o'i gwmpas ar yr olygfa ddifrifol. Y capel wedi ei wisgo mewn dû, yr arch addurnol ar yr elorwydd, a'r holl le yn llawn o bendefigion y deyrnas. Wedi edrych ar y cwbl cyfodai ei freichiau tua'r nefoedd, a dywedai mewn tôn ddifrifol orchfygol,—"Fy mrodyr, Duw yn unig sydd fawr!" Ac mewn eiliad y mae yr holl dorf yn cyfodi, ac yn ymgrymu gyda pharch.

Pan yr oedd M. Bridaine, un o areithwyr enwocaf Ffrainc, yn pregethu unwaith yn Bognôle, o gylch diwedd ei bregeth cyfodai ei freichiau, a gwaeddai dair gwaith yn gyffrous, "O! dragywyddoldeb!" a phan y dywedodd y gair y drydedd waith, syrthiai yr holl gynulleidfa ar eu gliniau ; llanwyd y dref â dychryn ; ac am dri diwrnod, y llais a glywid yn y lleoedd cyhoeddus, gan hen ac ieuanc, ydoedd, "Trugaredd O Arglwydd!"

Darluniai George Whitfield berygl yr annuwiol yn cael ei arwain gan ei chwantau, trwy y gydmariaeth gyffröus o ddyn dall yn cael ei arwain gan gi tua dibyn craig. Portrëadai yr olygfa ofnadwy gyda'r fath naturioldeb, nes y tybiai y dorf eu bod yn gweled y truan ar fin dinystr ; a gwaeddai un dyn o'r

[redacted]



gynulleidfa, wedi ei frawychu gan yr olygfa, "Er mwyn Duw stopiwch ef."

Ac nid yw y Pwlpud Cymreig wedi bod yn ol o gynyrchu dynion grymus a dylanwadol eu doniau a'u hyawdledd pregethwrol. Yn wir, y mae yn hyn wedi rhagori. Nid yw y pwlpud yn un wlad wedi talu mwy o sylw i apeliadau difrifol at y gydwybod, a chynhyrfiadau effeithiol ar y teimlad.

Yn ol y darluniad roddir gan Williams Pantycelyn o weinidogaeth Daniel Rowlands, ymddengys fod y fath ddylanwad grymus yn cydfyned â hi, fel na allai y pechaduriaid mwyaf *celyd a rhyfygus ddim sefyll o'i blaen.*

"Gwelwch Daniel yn pregethu, yn y tarth, y mwg, a'r tân;
Mil ar unwaith yn molianu, Haleliwia yw y gân;
Nes bai torf o rai annuwiol, mewn rhyw syndod, dwfn, mud;
Ac yn methu rhoi eu meddwl, ar un dim ond diwedd byd.

"Gliniau 'n crynu gan y daran, fel pe buasai angau ei hun,
Wedi cym'ryd llawn berch'nogaeth, ar y dyrfa bob yr un.
"Beth a wnawn am safio 'n bywyd?" oedd yr unrhyw gydsain lef;
Chwi sy' am wybod hanes Daniel, dyna fel dechreuodd ef."

Yr oedd swyn anorchfygol yn ngweinidogaeth Davies o Abertawy, fel y byddai y gwrandawyr ar brydiau yn anghofio eu hunain yn lân; ac ar un adeg gan mor llwyr yr oedd ei weinidogaeth wedi cadwyno sylw un wraig, gollyngai ei baban o'i breichiau yn ddiarwybod, a safai fel delw heb wneyd sylw o neb,—wedi ei mesmerio gan ddawn y pregethwr.

Dywedir am John Elias yn pregethu mor ofnadwy ar un amgylchiad, nes yr oedd y dorf o'i flaen ar lewygu, a gwaeddai un dyn wedi methu dal ei araethyddiaeth frawychus, "O! na chawn i glywed Richardson o Gaernarfon am bum' munyd." Yr oedd Mr. Richardson yn nodedig am ei ddoniau melus a nefolaidd. A chlywsom ein hunain rai o gedyrn y pwlpud yn Nghymru wedi cario goruchafiaeth mor drwyadl ar gynulleidfaoedd lluosog, fel y gallasent wneyd â hwy fel y gwelent yn dda. Do, gwelsom ddynion cryfion yn gwelwi, yn llewygu, ac yn syrthio yn gelaneddau; a rhyw awdurdod anghyfrifol gan

eiriau y pregethwr arnynt. Gwyddom y gellir priodoli llawer o hyn i fedrusrwydd araethyddol; ond yn hytrach nag aros i geisio rhoddi cyfrif am dano ar dir cyffredin, gwell genym addef yn groyw, "O'r Arglwydd y daeth hyn."

Mae hanfodion pregethu yr un yn mhob oes, ac yn mhob gwlad. Yr un oedd testyn y genadwri yn yr oes apostolaidd, ac yn yr oes hon. Yr un dystiolaeth sydd gan yr Efengyl i'w dwyn i bob cenedl dan y nef. Yr "ymadrodd am y groes" yw baich ei gweinidogaeth yn mhob gwlad. "Iesu Grist a hwnw wedi ei groeshoelio" yw cynwys ei chenadwri yn mhob man. A "chred yn yr Arglwydd Iesu Grist," yw yr hyn a ofynir ganddi oddiwrth bob dyn. Un efengyl sydd i wynebu ar bob creadur. Ond y mae gwedd neillduol i weinidogaeth gwahanol genhedloedd, yn cyfodi oddiar eu tymherau naturiol, a'u harferion cymdeithasol, a'u sefyllfa drigianol; a dichon fod golygfeydd arwynebol gwlad yn cario dylanwad mawr ar ffurf feddyliol ei phreswylwyr. Beth bynag y mae yn ffaith fod gan bob cenedl ei dull neillduol o feddwl a siarad; ac y mae y gwahaniaeth yma yn cael ei gario allan i bwlpudau gwahanol wledydd. Er mai yr un genadwri sydd i'w thraethu, eto y mae gan bob cenedl ei dull arbenig o'i thraddodi.

Mae y cymhwysderau hanfodol i'r Weinidogaeth hefyd yr un bob amser. Mae yn wir fod cymhwysderau ychwanegol yn ofynol dan rai amgylchiadau. Fel y mae cynydd mewn addysg yn mysg y werin, y mae graddau ychwanegol o ddysgeidiaeth yn cael ei ofyn yn y pwlpud. Cyflawnwyd y weinidogaeth yn effeithiol gan ein tadau ar ychydig iawn o addysg; ond byddai yn rhyfyg i neb feddwl am y weinidogaeth yn awr, ar y mesur o ddysgeidiaeth oedd ganddynt hwy; ond yr oedd y cymhwysderau hanfodol yr un y pryd hwnw ag yn awr; ac y mae Duw yn gofyn i bob un a esgyno i'r pwlpud hebddynt; —beth sydd i ti a fynegech ar fy neddfau? neu a gymerech fy nghyfamod yn dy enau?" Nid ein hamcan ydyw darnio cymhwysderau y weinidogaeth yn ddim pellach nag y mae hyny yn angenrheidiol er dangos effeithiolaeth "Y pwl-

[redacted]



pud Cymreig." Mae pedair elfen anhebgorol i'r Weinidogaeth. Duwioldeb personol eglur a diamheuol ; deall da yn egwyddorion yr efengyl ; medrusrwydd i draddodi yn eglur a boddhaus ; ac ysbryd awyddus at y gwaith. Rhaid meddu y pethau hyn, cyn y gall un fod yn " Weinidog da i Iesu Grist."

Yn flaenaf oll rhaid i enaid y pregethwr ei hun fod o dan ddylanwad crefydd, fel y gallo ddywedyd, " credais, ac am hyny y lleferais." Gofynodd Iesu Grist i Pedr dair gwaith, a gwasgai y cwestiwn ato yn gyfeiriadol, " Simon mab Jonah, a wyt ti yn fy ngharu I ? " Nid ymddirieda Mab Duw ofal ei *ŵyn, a bugeiliaeth ei braidd i neb, ond y rhai sydd yn ei garu.* Nid oes gan y gwas cyflog ofal am y praidd ;—ond am ei gyflog. Rhaid cael calon gydnaws â'r efengyl i'w phregethu, fel y bydd ei hysbryd hi yn ymdoddi yn ei ysbryd ef. Ond nid yw yn ddigon i ddyn wybod am ddylanwad yr efengyl ar ei galon mewn trefn i'w phregethu ; rhaid meddu dirnadaeth glir ar " yr athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb." Nid pob dyn duwiol a wna bregethwr, ond gofynir ei fod yn ddyn duwiol deallgar. Mae llythyrau Paul at Timotheus a Titus yn llawn cynghorion;—" i lynu wrth ddarllen," i " fyfyrio yn y pethau hyn, ac yn y pethau hyn aros ; " i ofalu fod ganddynt " ffurf yr ymadroddion iachus," a " phroffwydo yn ol cysondeb y ffydd." Dylai meddwl pregethwr fod yn ystorfa lawn o wybodaeth ; ac yntau yn " ysgrifenydd wedi ei ddysgu i deyrnas nefoedd, ac yn dwyn allan o'i drysor bethau newydd a hen." Nid digon fod yr ystor ynddo, ond rhaid iddo fedru eu dwyn allan i'r bwrdd cyfnewid ; " Iawn gyfranu gair gwirionedd," a meddu " tafod y dysgedig i lefaru gair mewn pryd wrth y diffygiol. Rhaid iddo fod nid yn unig yn gogydd da i baratoi y bwyd, ond hefyd yn weinydd medrus i hulio y bwrdd. Mae gallu i draethu ei feddwl yn eglur, yn rhwydd, a boddhaus yn hanfodol i bregethwr. A chyda'r cwbl rhaid iddo feddu ysbryd y weinidogaeth ; calon yn ymhyfrydu yn ei waith. Dyledswyddau ei swydd yn bleser iddo ; myfyrio a phregethu ei brif hyfrydwch ; " ymboeni yn y gair a'r athrawiaeth ;" ac

nid yw y gair na'r athrawiaeth yn boen iddo ychwaith; ond gall ddyweyd gyda Paul. "Yr wyf yn mawrhau fy swydd." Dynion yn yr ysbryd yna sydd wedi gwneyd eu hol ar y byd gyda'r efengyl. Mae un ysgrifenydd efengylaidd yn dyweyd mai y tri llyfr ddylai fod yn brif fyfyrdod y pregethwr ydyw ei Feibl, ei galon ei hun, a'i wrandawyr. Ac yn sicr os dealla y tri yna ni bydd yn ol o gyflawni ei weinidogaeth. Mae y pwlpud i amcanu at gyrhaedd y dyn i gyd; ei ddeall, ei serch, a'i gydwybod. Goleuo ei ddeall yn gyntaf. Addysgu y dyn. Nid oes gwerth yn y weinidogaeth hono nad yw yn amcanu hyfforddi. Mae y pregethwr i ofalu fod ganddo ryw beth i'w ddysgu i'r bobl bob tro y gelwir hwy ynghyd. Ond y mae hyny i gael ei wneyd yn y dull mwyaf deniadol, a thebycaf i enill eu serch. Dylai y gwirionedd gael ei wisgo yn y wedd fwyaf derbyniol, fel yr enillo gymeradwyaeth y gwrandawyr. Ond ni ddylid gorphwys nes apelio at y galon a'r gydwybod; a dwyn y dyn i deimlo mai cenadwri am ei fywyd sydd yn cael ei dwyn, a bod y canlyniadau mwyaf difrifol o'i gwrthod. Mae yn bosibl i bregethwr sefyll yn rhy hir ar y naill ac esgeuluso y lleill. Mae rhai fel pe byddent wedi meddwl mai deall yw y dyn i gyd. Gosodant wirioneddau mawrion, trymion, sychion ger ei fron, yn y dull mwyaf diaddurn, fel y mae yn ofynol cael deall cawr i'w treulio. Ac yn eu zel dros fara iach, a "bwyd cryf," ni cheir tamaid moethus ganddynt byth. Maent fel wedi gwneyd diofryd yn erbyn pob ffigiwr, a chydmariaeth, a hanesyn; rhaid bwyta y meddyliau mawrion yn amrwd fel y maent neu newynu. Mae eraill fel yn tybio y gall eu gwrandawyr fyw byth ar felysion a moethau. Mae eu bwrdd yn wastad yn llawn o ddysgleidiau blasus, hawdd iawn i'w cymeryd, ond heb ddim ynddynt i fagu nerth; ac nid hyny yn unig, ond y maent yn lladd archwaeth at ymborth cryf a meithrinol. "Nid da bwyta gormod o fêl." Taro y teimlad, boddio y serch yw eu holl amcan. Nid yw cynulleidfa yn ddim callach er eistedd dan y fath bregethu am eu hoes; ac y maent mewn perygl mawr o gael eu harwain i gamfarnu am

[redacted]



y peth penaf. Mae eraill yn edrych ar y gwrandawyr fel mewn clefyd angeuol; ac nid oes ganddynt ddim iddynt ond meddyginiaeth. Ni fynant feddwl am roi bwyd iddynt, llawer llai rhoi moethau iddynt, nes y symudir yr afiechyd. Gwirioneddau llymion, chwerwon, mîniog i drywanu y gydwybod, a gweithio arswyd i eneidiau cysglyd. Ni fynwn awgrymu gair yn erbyn gwirioneddau llymion i ddeffroi pechaduriaid difraw, ond y mae yn bosibl gweithio y llinell yna yn rhy bell; ac i ddynion fyned i gysgu yn drymach yn swn y taranau; ac os felly, bydd yn anhawddach eu deffroi. Mae y pregethwr sydd yn myfyrio *lles* ei wrandawyr yn gwneyd pob un o'r tri; nid yn rhoddi yr un faint o'r naill a'r llall, ond yn "iawn gyfranu gair y gwirionedd;" ac fel meddyg deallgar, weithiau yn cryfhau y corff trwy ymborth iachus, yn gystal ag yn puro y corff trwy gyffeiriau cryfion. Ac nid oes ond myfyrdod manwl ar ei galon ei hun, ac ar gyflwr ei wrandawyr yn ngwyneb gair Duw a alluoga bregethwr i wneyd hyn yn effeithiol.

Y peth cyntaf oll sydd gan bregethwr i'w wneyd cyn esgyn i'r pwlpud ydyw gofalu fod ganddo rywbeth i'w ddyweyd. Dywedodd un gwr galluog wrth Gadeirydd Cynhadledd a'i cymhellai i ddyweyd rhyw beth, "Un peth Syr ydyw dyweyd rhyw beth, peth arall ydyw fod gan ddyn ryw beth i'w ddyweyd." Buom cyn hyn dan yr angenrheidrwydd poenus o orfod eistedd am ddeugain munyd a mwy i wrando ar ddynion yn dyweyd rhywbeth; a phe gosodasid ni ar ein llŵ nis gallasem yn y diwedd ddyweyd pa beth a ddywedwyd, na pha beth oedd amcan y cwbl. Lle i gyflwyno cenadwri yw y pwlpud, i draethu neges neillduol; a dylai hono fod mor amlwg na byddai yn bosibl i wrandawyr astud ac ystyriol lai na'i deall. Wedi gofalu fod ganddo rywbeth i'w ddyweyd, dylai astudio *pa fodd* i'w ddyweyd yn y dull tebygaf o gael gwrandawiad a derbyniad. Mae nifer o bregethwyr a chanddynt ddigon i'w ddyweyd, ond nid oes ganddynt un ffordd i ddyweyd; ac y mae dosbarth arall mae ganddynt ddigon o ddawn

i ddyweyd, ond nid oes ganddynt ddim i'w ddyweyd. Mae cyflawnder o ddawn dyweyd wedi bod yn brofedigaeth i lawer o bregethwyr ; oddiar barodrwydd, a ffraethineb, a hyawdledd naturiol esgeulusasant fyfyrio ; ac y mae llawer o ddynion heb ond ychydig o ddawn siarad yn naturiol, eto trwy fod ganddynt ryw beth gwerth ei ddyweyd wedi dysgyblu eu hunain nes dod yn siaradwyr miniog ac effeithiol. Nid oes unrhyw ddyn o ddawn siarad cyffredin ; os paratoa yn fanwl yn mlaen llaw, gan drefnu ei feddyliau yn rheolaidd,— ac awchio ei holl sylwadau mewn teimlad priodol, gan eu traddodi gyda sylw a gofal dyladwy na ddaw yn bregethwr derbyniol a dylanwadol.

Mae tair elfen bwysig, yn wir, tair elfen hanfodol mewn pregeth dda. Meddyliau addfed ; chwaeth bur ; a chyfansoddiad cyfan. Meddyliau yw y pethau penaf, ac am danynt y dylai fod y gofal blaenaf. Syniadau eglur, sylweddol, ac ysgrythyrol. Meddyliau, nid dychmygion. "Bwrw dychmygion i lawr" yw amcan yr efengyl. Ac o bob *lle*, y pwlpud yw y man mwyaf anghymwys i ddwyn ysbwrial o'r *fath*. Nid darluniadau barddonol a gondemniwn ; ond dychmygion gwagsaw a gamenwir yn farddoniaeth ysgrythyrol. Y mae genym ddosbarth o bregethwyr barddonol. Mae yr hyn a elwir yn grebwyll a darfelydd yn gryf iawn ynddynt. Rhoddant dafod ac iaith i bob peth trwy y greadigaeth ; personolant y cwbl mewn natur, crwydrant trwy y cyfan-fyd yn ol ac yn mlaen, ffrwynant y gwynt, a marchogant y cwmwl. Nid oes dim yn rhy fach iddynt sylwi arno, na dim yn rhy fawr ganddynt wneyd defnydd o hono. Mae y blodau rhosynaidd a'r llysiau amryliw, yr impyn ieuanc a'r dderwen oedranus, yr aber fechan a'r nant drystiog, y ffynon loew a'r ffrwd risialaidd, yr afon ddolenog a'r môr mawr llydan, y ddôl feillionog a'r dyffryn eang, yr allt serth a'r goedwig gysgodfawr, y bryniau cribog a'r creigiau ysgythrog, y foel lwydaidd a'r mynydd uchel, oll dan deyrnged iddynt, ac yn cael eu gwneyd yn eneidiau byw ganddynt. Dringant i'r nefoedd, gwibiant yn mysg

[redacted]



y ser, caiff y lloer wasanaethu arnynt, a'r haul ei hun fod yn ddarostyngedig iddynt. A phan y byddo dychymyg barddonol cryf yn cael ei ffrwyno gan farn gywir, dan reolaeth chwaeth dda, y mae yn brydferth dros ben. Ond pan y clywom ddynion yn mwrddo meddyliau, yn cymysgu ffugyrau, ac yn galw yr epäod disynwyr yr esgorodd eu heneidiau bwhwmanllyd arnynt, yn "syniadau barddonol," ac yn dysgwyl i ni gydnabod dychymygion eu hymenyddiau meddalion yn "farddoniaeth ysgrythyrol," yn wir, y mae yr haerllugrwydd yn fwy nag a all ein natur ddyoddef. Mae yn bwysig iawn i ddynion yn y dyddiau presenol allu gwahaniaethu rhwng dychymygion gwibiog a meddyliau barddonol, rhwng cynyrchion gwir athrylithgar ac anturiaethau rhyfygus dynion a fyn gael eu cyfrif yn wreiddiol. Mae ysfa ryfeddol yn yr oes hon am bregethau barddonol, yn gymaint felly, fel y mae gormod o briodoldeb yn yr hyn a ddywedodd golygydd un o'r newyddiaduron yn ddiweddar, "Mai ychydig o flas sydd gan ddynion yn enwedig yn y trefydd, at bregethau athrawiaethol, llai na hyny at bregethau dyledswyddol, ond am bregethau barddonol de'wch â hwy." Mae y cyhuddiad yn un pwysig iawn, ac os yn wir, y mae yn dangos sefyllfa crefydd ysbrydol yn yr eglwysi yn isel dros ben; pan nad oes archwaeth at wirioneddau bywyd yr efengyl, nac awydd at ddyledswyddau hanfodol crefydd. Mae rhai o arweinyddion y bobl yn y pwlpud, a thrwy y wasg, yn gyfrifol am fagu y chwaeth lygredig yma yn y bobl, ac y mae dosbarth o bregethwyr edlychaidd yn ceisio bod yn efelychwyr iddynt, nes y mae eu pregethau yn ddarnau marw, gwywedig, dienaid, heb feddwl na theimlad; ac y mae meddwl i'r fath weinidogaeth gasglu cynulleidfaoedd, a phorthi eneidiau yn wallgofrwydd. Mae y pethau a ddarllenasom, ac a wrandawsom ein hunain, a'r hyn a adroddwyd gan eraill wrthym, yn gystal a'r hyn a wyddom am fethiant pregethau o'r fath i ateb amcanion mawrion yr efengyl, yn ein hargyhoeddi fod yn llawn bryd dynoethi y fath fympwyaeth a ddygir i mewn dan rith pregethu yr efengyl. Yr ydym yn dymuno

ail-ddyweyd nad ydym yn y sylwadau hyn yn condemnio syniadau barddonol, a darluniadau bywiog mewn pregeth, ond eu cael dan lywodraeth chwaeth a barn, a rhyw amcan iddynt. Ond y mae yn ofynol fod y meddyliau yn addfed. Bydd yn hawdd deall wrth weled ambell i feddwl yn dyfod allan, mai un anhymig ydyw. Nid lle yw y pwlpud i ddynion anturio i ollwng allan syniadau fyddo newydd eu taro. Er y gallent o herwydd eu hynodrwydd ddisgyn yn gyffrous ar y gynulleidfa, eto gormod o hyfdra yn "y lle ofnadwy" oedd eu gollwng allan yn amrwd, heb ymbwyllo yn fanol uwch eu penau, a'u hedrych o bob cyfeiriad. "*Myfyria* yn y pethau hyn, ac yn y pethau hyn *aros*." Mae ymhyfrydu mewn dyweyd pethau hynod, i gyffroi cywreinrwydd yn anheilwng o'r pwlpud. Dichon y gallent enill i ddyn ryw boblogrwydd dros ychydig gyda gwerin anwybodus; ond y mae y neb a'i gwnelo yn sicr o ddarostwng ei hun yngolwg pob dyn ystyriol, o farn bwyllog, a theimlad crefyddol. Meddyliau sylweddol, wedi eu haddfedu mewn myfyrdod pwyllog, sydd yn gweddu i'w gosod ger bron eneidiau anfarwol. Mae purdeb chwaeth hefyd yn anhebgorol i bregeth dda. Un o'r pethau anhawddaf yw tynu y llinell rhwng yr hyn sydd briodol a'r hyn sydd wrthun. Mae yn hawdd iawn llithro o'r naill i'r llall. Mae yn bosibl i bregethwyr oddiar gamsyniad beth sydd chwaethus, ddisgyn yn faldodus; ac arfer iaith a dullwedd wan a dinerth. Nid oes dim mewn symledd, eglurder, a nerth yn anghydweddol â'r chwaeth buraf. Mae yn chwithig gweled ambell i eneth ar ol treulio tri mis yn yr ysgol yn Lloegr, yn codi ei thrwyn ar eiriau cyffredin y Beibl; ac yn myned i deimlo geiriau croyw y pwlpud yn disgyn yn grâs ar ei chlust. Mursendod annyoddefol yw peth felly. Ac ni ddylai yr un pregethwr gymeryd ei arwain gan y fath rai. Ond troseddir ar chwaeth bur yn llawer mynychach gan iaith isel, lygredig, ddifoes y fath ag sydd yn rhwym o godi gwrid i wyneb pob dyn synwyrol, heb son am wragedd gwylaidd. Mae rhai pregethwyr fel pe byddent yn ymhyfrydu ymdroi gyda phethau, ag y mae

[redacted]



gweddusder yn galw am beidio eu crybwyll. Dihunir ganddynt bob amser deimladau cnawdol a llygredig. Maent wedi ymwerthu i awydd am wenau cymeradwyol eu gwrandawyr, fel yr ymostyngant i ddyweyd pob peth a dueddo i'w cyffroi. Pa beth a all fod yn fwy anghydweddol ag urddas y pwlpud? "Geiriau yr Arglwydd ydynt eiriau *purion.*" "Eithr llefara di *y pethau a weddo* i athrawiaeth iachus." "Ymadrodd iachus, *yr hwn ni ellir beio arno.*" "*Chwiliodd* y pregethwr am *eiriau* cymeradwy." Dylai pob gair gael ei bwyso yn fanwl, gyda gofal na byddo ystyr gwlad yn rhoddi syniad gwahanol iddo, i'r hyn yw meddwl y llefarwr. "Geiriau y doethion sydd megis symbylau, ac fel hoelion wedi eu sicrhau gan feistriaid y gynulleidfa." Ond y mae rhai er ysgoi iaith isel yn cilio i eithafion arall. Defnyddiant iaith flodeuog, farddonol, glogyrnog, a chwyddedig. Cuddiant eu meddyliau, os oes ganddynt rai hefyd, dan bentyrau o eiriau diamcan. Bu y fath ddull unwaith yn boblogaidd; ond nid yw felly yn awr gan neb ond yr anwybodus; "chwyddedig eiriau gorwagedd," y cyfrifir hwynt gan bob dyn deallgar. Nid ydynt yn cael eu hystyried yn addurniadau areithyddol gan y meddyliau coethaf; llawer llai yn gydweddol ag amcan pregethu yr efengyl. Mae math o goeg-ddysgeidiaeth hefyd, wedi ymlusgo i'r pwlpud, sydd yn fradychiad ar chwaeth bur. Nid beirniadaeth eglurhaol ar y testyn a'i gysylltiadau a olygwn; mae hyny yn cymeradwyo ei hun i bob gwrandawr meddylgar; ond y coegfeirniad sydd yn dwyn eu Groeg a'u Hebraeg i bob pregeth, ac yn gwneyd cyfeiriadau gwastadol at y testyn gwreiddiol. Mae ein henaid yn ffieiddio y crachddysgedigion yna. Er y gwyddom fod pethau felly yn pasio gyda hurtiaid fel dangoseg o fawredd. Gofynai hen ŵr i weinidog ieuanc, "Paham na buasai ef yn rhoddi iddynt Roeg a Hebraeg yn ei bregethau?" "Wel yn wir ni wyddwn fod yma neb yn eu deall," ebe y gweinidog yn wylaidd iawn, "onite gallaswn eu rhoddi." "Deall neu beidio, ebe yr hen ŵr, beth yw hyny i chwi, gan ein bod ni yn talu am y *stwff*

goreu, dylem ei gael." Nid oes genym ddim yn erbyn i ddynion galluog ddangos diffyg y cyfieithiad presenol, os bydd rhyw beth o bwys; ond y mae gwneyd hyny i ffugio mawredd trwy ddallu anwybodusion yn ddirmygedig genym. Mae yr holl bethau yna yn myned yn erbyn y chwaeth bur a ddylai hynodi y pwlpud. Ond ni bydd y bregeth yn gyflawn er cael syniadau addfed, a chwaeth goethedig, heb fod y cyfansoddiad yn gyfan. Mae brawddegau toredig, anorphenol yn lladd effeithiolaeth y traddodiad. Mae cyfansoddiad cyfan er ei fod yn wan yn cymeradwyo ei hun yn fwy na meddyliau gwasgaredig, er eu bod yn gryfion. Gwelsom lawer pregethwr yn colli yn hollol yn y fan lle y dylasai fod gryfaf, a hyny o eisiau parotoad blaenorol. Nid ydym wrth ddyweyd hyny yn meddwl y dylai pregethwr baratoi mor fanwl nes bod mewn llyffethair wrth draddodi. Mae rhai wedi syrthio yn mhell i'r ochr hono ; mae yn hawdd deall arnynt eu bod wedi paratoi yn fanwl, yn gwybod pa le i roddi bloedd, a pha le i ddyweyd yn ddistaw. Dywedir am ryw bregethwr o'r dosbarth yma, wedi cyfansoddi pregeth, a'i hysgrifenu yn gyflawn ;—digwyddodd i ryw un gael gafael ynddi, ac wrth edrych drosti gwelai fod pob gair wedi ei ysgrifenu, a rhyw nodau yma a thraw pa fodd i'w thraddodi; ac mewn un man gwelai wedi ei ysgrifenu mewn llythyren fanach *(bloedd fan yma.)* Caethwas i'w gyfansoddiad ydoedd dyn fel yna. Mae dynion trwy ddyfal ymarferiad wedi dyfod yn feistriaid y gynulleidfa. Maent yn myfyrio yn fanwl, yn cadw eu hunain dan reolaeth hollol, yn dal yn gaeth at eu cyfansoddiad, ond gorchwyl anhawdd yw cadw yr *art* o'r golwg. Mae y bregeth a draddodir yn rhwym o fod yn fwy dylanwadol na'r bregeth a ddarllenir; ond os bydd y traddodiad yn dwyn tebygolrwydd mawr i wers wedi ei dysgu, y mae hyny yn tynu llawer iawn oddiwrth ei heffeithioldeb. Nid y caethiwed yna yw y cyfanrwydd a gymhellwn, er fod yn well genym hyny na'r llacrwydd, a'r annibendod sydd yn fynych mewn pregethau ; ac yn cael eu gwneyd i fyny â rhyw ciriau llanw megis "welwch chwi ;"

[redacted]



"yn awr;" "ac yn y blaen." Llenwi y bylchau â geiriau diystyr. Ac y mae y pregethwyr hyny sydd yn arfer pregethu i gynulleidfaoedd bywiog, hwyliog, yn ymddangos yn llawer mwy darniog, a thoredig eu pregethau pan yn anerch cynulleidfaoedd oer, a digynwrf. Mae twrf y gwrandawyr yn llenwi y bylchau i fynu yn y naill amgylchiad, ond rhaid iddynt eu llenwi eu hunain yn y llall neu byddant yn wag. Ac y mae yn ofynol i bregethwr baratoi i fyned trwyddi beth bynag fyddo yr amgylchiadau; ac os ceir awelon ffafriol, ni bydd cyfansoddiad cyfan yn un anfantais.

Gofynir yn fynych pa gynllun o bregethu yw y goreu?

Mae arddulliau gwahanol o gyfansoddi gan wahanol bregethwyr; a gwahanol arddulliau gan yr un pregethwyr; ac y mae yn anhawdd dyweyd pa gynllun sydd oreu, am fod gan bob un ei fanteision; ac y mae y naill ddull yn gyfaddasach na'r llall i destynau neillduol.

Mae rhai yn hoff iawn o'r *ffurf athrawiaethol.* Codant athrawiaeth o bob testyn. Hon a ystyrid unwaith y ffurf uchaf; ac ni byddai neb ond y rhai a gyfrifid yn bregethwyr mawr yn ymgynyg ati. Egluro; profi; a chymhwyso yr athrawiaeth oedd eu ffordd gyffredin. Rhoddwn engraifft o'r dull:—

IOAN ix. 35. "A wyt ti yn credu yn Mab Duw?"

Athrawiaeth y testyn yw "CREDU YN MAB DUW," neu *mai trwy gredu y mae cael bywyd tragywyddol.*

I. Egluro yr athrawiaeth.

1. Fod dadguddiad o drefn cadw pechadur wedi ei roddi.

2. Fod gweithrediad ffydd yn cael ei ofyn er derbyn y drefn.

3. Fod a fyno ffydd gadwedigol â'r Arglwydd Iesu Grist.

II. Profir yr athrawiaeth, mai â chredu y mae bywyd tragywyddol yn cael ei gysylltu.

1. Mae bwriad tragywyddol Duw i gadw yn cael ei gysylltu â chredu.

2. Mae credu yn cael ei gysylltu yn uniongyrchol â marwolaeth Crist.

3. Mae credu yn cael ei ddal allan yn yr efengyl fel un o'i thelerau hanfodol.

4. Mai anghrediniaeth a ddelir allan fel achos colledigaeth gwrandawyr yr efengyl.

III. Cymhwyso yr athrawiaeth.

1. Rhwymau diolch fod amodau cadwedigaeth mor rhesymol, "credu."

2. Fod credu yn cael ei ofyn gan bob un yn bersonol, "A wyt ti yn credu?"

3. Gwerth gweinidogaeth gyfeiriadol, "A wyt ti?"

Nid yw yr uchod ond rhyw beth ar y cynllun i egluro beth a olygwn wrth y ffurf athrawiaethol. Ni chlywsom ni neb oedd mor hoff o'r ffurf yna; nac yn gallu ei gwneyd gystal a'r diweddar Barch. John Breese, Caerfyrddin. Ac yr oedd ei wres a'i fywiogrwydd yn peri ei fod yn gallu pregethu yn boblogaidd iawn, er yn niwliog a chymysglyd. Y prif beth sydd yn erbyn y dull yna o gyfansoddi ydyw ei fod yn rhedeg dros ormod o dir bob tro; ac heb ddisgyn at y manylion hyny sydd yn hollol angenrheidiol er egluro yr Ysgrythyrau.

Defnyddia eraill y *drefn osodiadol* bob amser. Sefydlu ar ryw osodiad a defnyddio y testyn yn unig fel arwyddair iddo. O ran dim perthynas sydd rhwng y testyn a'r bregeth, gall fod y bregeth wedi ei gwneyd cyn dewis y testyn; a gallai fod dwsin o destynau yn llawn mor briodol i'r bregeth a'r un a ddewiswyd. Er hwyrach y gwneir ryw fath o eglurhad ar y testyn a'i gysylltiadau, eto y mae yn ddigon hawdd deall nad o'r testyn y mae y bregeth yn cyfodi; defnyddir ef yn unig fel hoel i grogi rhyw wirionedd sydd gan y pregethwr i'w ddyweyd arno. Cymerwn yr un testyn eto fel engraifft. "*A wyt ti yn credu yn Mab Duw?*"

Y gosodiad ydyw, *Fod yn ddyledswydd ar bawb sydd yn clywed yr efengyl gredu yn Mab Duw.*

[redacted]



Cynwysiad y ddyledswydd. Rhesymoldeb y ddyledswydd; a phwysigrwydd y ddyledswydd.

I. Cynwysiad y ddyledswydd. Mae yn cynwys yn

1. Mai yn Mab Duw y mae bywyd tragywyddol i bechadur.

2. Mai yn yr efengyl y mae y bywyd hwnw yn cael ei ddal allan yn eglur.

3. Mai credu yn Mab Duw sydd yn dwyn y pechadur i afael holl fendithion y drefn.

4. Fod y drefn yma yn cael ei dal allan o flaen pawb sydd yn clywed yr efengyl.

II. Rhesymoldeb y ddyledswydd. Ymddengys felly oblegid

1. Mae yn cael ei chymhell arnom gan yr awdurdod uchaf.

2. Mae genym gymhwysder naturiol i gydffurfio â'i gofynion.

3. Mae ein mantais bersonol ynglyn a'i chyflawniad.

4. Mae canlyniadau ein hanufudd-dod wedi ei wneyd yn hysbys.

III. Pwysigrwydd y ddyledswydd.

1. Mae yn dal cysylltiad ag achos penaf dyn.

2. Mae anghredu yr efengyl yn cael ei ddal allan fel y drwg gwaethaf.

3. Mae adeg cynygiadau yr efengyl yn fuan i fyned o'n gafael.

4. Mae ein tynged dragywyddol yn troi ar gyflawniad neu esgeulusiad y ddyledswydd yma.

Mae y ffurf osodiadol yn dwyn llawer o debygolrwydd i'r un athrawiaethol. Dull celfyddydol o bregethu ydyw. Crynhoi defnyddiau o bob man i wneyd un darn o waith, yn lle agor cloddfa y testyn a dwyn allan y gwirioneddau sydd ynddo. Casglu dwfr i wneyd llyn mawr, dwfn, llonydd ydyw; yn lle agor ffynon o ddwfr gloyw, a gollwng mân ffrydiau i

lifo i bob cyfeiriad. Mae ambell i fater y mae yn rhaid ei drin yn osodiadol. Wrth bregethu ar Grefydd deuluaidd: neu Haelioni; neu yr Ysgol Sabbothol; neu unrhyw destyn o'r fath; cynllun manteisiol ydyw casglu yr oll a ellir gael o'r holl Feibl fyddo yn arweddu ar y mater hwnw. Yn y dull yma o bregethu yr oedd y diweddar Barch. D. Hughes, Trelech yn rhagori. Yr oedd ynddo allu cryf iawn i ddosbarthu a threfnu gwirionedd. Gwelir hyny yn eglur yn ei bregethau cyhoeddedig ar "Ysbryd Cyhoedd." "Eithafon a chanol y ffordd," ac eraill. Gresyn na chawsid mwy o honynt. Er nad oedd ynddo athrylith a gwreiddiolder, eto yr oedd ynddo dalent a medrusrwydd o radd uchel.

Y ffurf fwyaf cyffredin ac arferedig, yw y *ffurf destynol.* Yr hawddaf i'r pregethwr a'r gwrandawyr. Y perygl gyda'r dull hwn ydyw na byddo dim yn cael ei ddysgu: na byddo yr un gwirionedd yn cael ei osod allan. Drwy y ffurf athrawiaethol, a'r ffurf osodiadol y mae rhyw wirionedd mawr yn cael ei ddwyn at y meddwl pa mor wasgarog ac anmherthynasol bynag y byddo i'r testyn; ond yn y ffurf destynol rhenir yn aml i gynifer o fân benau nes nad oes dim yn cael ei ddysgu yn y diwedd. Mae llawer o adnodau yn ymagor mor naturiol fel mai cam â hwy fyddai peidio eu cymeryd fel y maent yn rhanu eu hunain; ond camgymeriad ydyw meddwl y gellir gwasgu meddwl o bob gair mewn adnod, a dosbarthu y cwbl yn fanwl i raniadau ac adraniadau. Cymerwn yr un testyn eto er engraifft mewn ffurf destynol.

"*A wyt ti yn credu yn Mab Duw?*"

I. Y gwrthrych a nodir yn y testyn, "Mab Duw." Mae y cyfenwad hwn arno yn dangos yn

1. Agosrwydd perthynas "Mab."
2. Uwchafiaeth natur "Mab Duw."
3. Tebygolrwydd delw "Mab Duw;" "yn ffurf Duw."

II. Y weithred y cyfeirir ati, "credu yn Mab Duw."

1. Y weithred ynddi ei hun, "credu;" beth ydyw?

[redacted]



2. Y weithred yn ei gwrthrych—"credu yn Mab Duw."

3. Y weithred yn ei harbenigrwydd—"credu *yn* Mab Duw.'

III. Yr ymofyniad difrifol a gymhwysir—"A wyt ti yn credu." Mae yr ymofyniad yn cynwys

1. Fod credu yn waith personol—"A wyt *ti* yn credu."

2. Fod credu i fod yn waith presenol—"A wyt *ti yn* credu."

3. Fod credu yn Mab Duw mor bwysig fel y dylai dyn feddu gwybodaeth sicr o hono—"A *wyt* ti yn credu yn Mab Duw."

Gall na bu neb yn ei oes yn fwy o feistr ar y drefn yna, na'r diweddar Barch. W. Jones, Penybontarogwy. Yr oedd ganddo farn gywir, chwaeth bur, a llaw gelfydd at y gorchwyl. Mae ei bregeth ar "Weddi ddirgel" a draddodwyd ganddo mewn Cymanfa yn Morganwg, yn adnabyddus bellach drwy Gymru oll. Medrai ef ymdrin ag athrawiaeth yn y drefn yna, a'i chodi yn naturiol o'r testyn. Mae i'r dull yma lawer o fanteision ond ei arfer yn briodol. Mae yn gynorthwy mawr i'r gwrandawyr i ddeall a chofio; y perygl ydyw i bregethwr oblegid ei rwyddineb syrthio yn ormodol iddo, oblegid ni's gwyddom am yr un dull y gellir gyda chyn lleied o baratoad basio yn dderbyniol.

Mae y *dull casgliadol* o ddosbarth uwch, ac yn amcanu egluro y gwirionedd mewn trefn. Casglu yr holl wirioneddau gwasgaredig drwy y benod, neu ddosran o honi i un pwynt; a'u cymeryd oll i egluro, profi, neu gymhwyso y pwynt hwnw, fel y byddo y bregeth yn fath o eglurhad ar y benod oll. Nid ydym yn sicr y gallwn wneyd ein meddwl yn eglur: ac nid oes genym engraifft yn ein boddio ar ein cof. Cymerwn yr un adnod eto er engraifft, gan i ni ddechreu arni, "*A wyt ti yn credu yn Mab Duw?*" Y sylw ydyw hwn. *Y gall dynion fyned yn mlaen yn mhell gyda chrefydd, ac eto heb gredu yn Mab Duw.* Ceir yr engreifftiau yn hanes y gwr hwn.

1. Gall dynion fod yn ddeiliaid cymwynasau oddiar law Mab Duw, ac eto heb gredu ynddo. Dyma ddyn wedi cael ei olwg ganddo, ac eto gofyna iddo, "A wyt ti yn credu yn Mab Duw?"

2. Gall dynion gael eu cyfrif yn mysg dysgyblion Crist, ac eto heb gredu ynddo; "tydi sydd ddysgybl iddo ef," meddai yr Iuddewon wrtho; eto meddai Iesu Grist, "A wyt ti yn credu yn Mab Duw?"

3. Gall dynion amddiffyn Iesu Grist ger bron y byd, ac eto heb gredu ynddo. Amddiffynodd y dyn hwn ef yn hyawdl, eto gofynai Crist iddo, "A wyt ti yn credu yn Mab Duw?"

4. Gall dynion ddyoddef erledigaeth yn achos Crist, ac eto heb gredu ynddo. Erlidiwyd y dyn hwn, a bwriwyd ef allan o'r synagog, eto yn y diwedd gofynai Iesu Grist iddo "A wyt ti yn credu yn Mab Duw?"

Nid yw yr uchod ond engraifft anmherffaith iawn o'r dull casgliadol, fel yr holl engreifftiau a nodasom yn wir; ond hwyrach y bydd yn gynorthwy i'r darllenydd ddeall y cynllun. Mae i'r drefn yma fanteision neillduol. Cymer olwg ëang ar y gwirionedd; edrycha ar wahanol ranau o'r gair dwyfol mewn cysylltiad a'u gilydd; a'r naill yn egluro y llall; ac nid yw y pregethwr ganddi yn cael ei gadw yn gaeth o fewn terfynau cyfyng. Yr oedd llawer iawn o'r drefn yma yn mhregethau y diweddar Barch. D. Morgan, Llanfyllin, er yn wir yn gylchynedig fynychaf gan gymylau a thywyllwch; ond yr oedd ganddo er hyny trwy y cwbl amcan i gario allan ryw un prif bwynt; ac yr oedd yn lled sicr o fod gyda meddwl ac ysbryd gwirionedd ei destyn a'i gysylltiadau. Ac y mae amryw bregethwyr galluog sydd yn awr yn fyw wedi gwneyd eu hunain yn feistriaid hollol ar y dull hwn o gyfansoddi; ac y mae ganddynt ryw fedr greddfol agos, i gael gafael ar yr allwedd sydd yn datgloi celloedd y gwirionedd. Nid oes yr un dull yr anogem bregethwyr ieuainc i'w astudio a'i faethu yn fwy na'r dull hwn. Mae yn rhoddi rhyw eangder i feddwl dyn.

[redacted]



Mae y *drefn esboniadol* yn un a ddefnyddir gan lawer o bregethwyr. Nid rhaid myned i'r drafferth i egluro y dull yma, am ei fod yn ddigon adnabyddus. Mae medr i esbonio yr ysgrythyrau yn ddawn gwerthfawr iawn yn y weinidogaeth. Yr oedd y diweddar Barch. M. Jones, Bala, yn fedrus i egluro yr ysgrythyrau. Nis gallesid ei wrando heb gofio yr ymadrodd "agoriad dy eiriau a rydd oleuni." Ei unig ddiffyg oedd eisiau defnyddio ychwaneg o ffigyrau a chydmariaethau er gwneyd ei bethau yn fwy dealledig i feddyliau cyffredin.

Mae y *ffurf hanesyddol* hefyd yn un a ddefnyddir gan lawer. Bu hon yn dra chyffredin gynt, ond daeth ryw dyb i mewn nad oedd dim mawredd ynddi; ac er mwyn bod yn fawr gadawyd hi. Ond y mae hyny yn gamgymeriad pwysig. Nid oes dim yn dangos mwy o athrylith na medru gosod rhyw hanes ysgrythyrol allan mewn gwedd fywiog; a thynu nifer o gasgliadau priodol oddiwrthi; neu ynte gymeryd yr hanes yn eglurhad ar ryw wirionedd penodol. Meddyliau mawr sydd yn gweled pethau bychain; ac o'r amgylchiadau mwyaf cyffredin tynant allan egwyddorion mawrion. Mae yr ysgrythyrau yn dysgu egwyddorion trwy ffeithiau. Mae rhyw wirionedd yn o-blygedig yn mhob hanes. Yn y dull yma yr oedd y diweddar Barch. Arthur Jones, D. D., yn nodedig. Nid oedd yr anwybodus a'r difeddwl yn teimlo nac yn mwynhau dim ond y digrifwch; ond gwelai y meddylgar ei gyfeiriadau craff, miniog, a chyrhaeddgar. Yr oedd y gwahaniaeth rhyngddo ef a'r Parch. M. Jones yn nodedig. Pe cymerasai y ddau y testyn y cyfeiriasom ato eisioes; mor wahanol y buasent yn ymdrin ag ef; ac yn neillduol â hanes agoriad llygaid y hyn a anesid yn ddall wrth arwain at y testyn. Gadawsai y naill allan yn hollol y pethau y gwnaethai y llall fwyaf o hono. Buasai yr Athraw yn esbonio pob ymadrodd dyrys—yn egluro pob cyfeiriad at ddefodau—ac yn dwyn pob peth a ymddangosai yn dywyll i oleuni; ond gadawsai bob darlun yn hollol fel y mae; os nad yn wir dynu

rhai o'r lliwiau prydferth ymaith i osod yr hanes mewn gwedd fwy dysyml. Ond gwnaethai y *Doctor* y goreu o'r hanes. Cymysgasai ef y clai a'r poeryn ar gledr ei law, rhwbiasai ef ar lygaid y dall ; a rhoddasai siars gyffrous iddo wrth ei anfon i lyn Siloam. Tynasai ddarlun o'r cymydogion yn ymholi a'u gilydd ; ac o benbleth y Phariseaid ; a gwnaethai yr oll gyda'r fath fywiogrwydd nes hoelio pob clust ; a gwelsai y rhai mwyaf cyfarwydd a'r hanes ryw newydd-deb ynddi na chanfuant o'r blaen. Medrai roddi gwedd newydd i hanesion mwyaf cynefin y Beibl. Nid oes ond un pregethwr yn fyw y gwyddom ni am dano, a all osod hanesion y Beibl mewn gwedd swynol felly. Y mae ef yn feistr y gynulleidfa yn y drefn hanesiol yn arbenig.

Rhwng y naill neu y llall o'r ffurfiau yna y gellir cymeryd i mewn agos yr holl bregethau a draddodir. Mae rhai pregethwyr yn fedrus yn y rhan fwyaf o'r dulliau yna ; ac y mae eraill yn gallu corffoli rhyw gymaint o bob dull yn eu cyfansoddiadau. Dylai pob pregethwr amcanu meistroli mwy nag un dull o bregethu. Gwyddom am lawer o bregethwyr y gallem fod yn lled sicr o'u trefn cyn iddynt ddechreu. Ceir tri phen cyffredinol ; a phedwar pen dan bob un o'r rhai hyny ; a "gwelwn oddiwrth yr hyn a ddywedwyd" ryw dri o bethau mor sicr ag iddynt ddarllen y testyn. Ceir eraill a rhyw bedwar o osodiadau cryfion ; ac un casgliad oddiwrth y cwbl. Nid ydym yn deall fod yn rhaid wrth hyny oll. Os dau beth sydd yn y testyn, pa raid ei ystumio i dri phen er mwyn cadw y rhif ; gweithio y gwirionedd neu y gwirioneddau cynwysedig yn y testyn ddylid ; ac nid cadw yn gaeth at yr un rheol bob amser. Cymeryd y ffurf hono a fyddo yn gweddu oreu i'r testyn a'i gysylltiadau ; y ffurf a gyfleo amlycaf ger bron y gwrandawyr y meddyliau sydd ganddo i'w traethu ; a'r ffurf a atebo effeithiolaf amcanion pwysig pregethu yr efengyl ; oblegid yn y diwedd nid yw y ffurf berffeithiaf gydag unrhyw beth yn ddim ond moddion i gyrhaedd dyben uwch.

[redacted]



Wedi i ni aros cyhyd gyda'r gwahanol arddulliau o bregethu, y mae yn llawn bryd bellach dyfod yn mlaen at

NODWEDD Y PWLPUD CYMREIG.

Mae llinellau neillduol i'w cael yn nodwedd y pwlpud yn Nghymru na cheir hwy yn un wlad arall. Cawn gyfeirio at bedair elfen nodedig. Naturioldeb; Nerth; Gwresawgrwydd; a thuedd gyfeiriadol y Weinidogaeth.

*Naturioldeb*. Mae mwy o natur a llai o gelfyddyd yn y Pwlpud Cymreig, nag yn mhwlpud unrhyw wlad arall. Rhaid i ni hefyd fod yn ochelgar yma rhag cael ein cam ddeall. Nid ydym yn meddwl awgrymu nad oes siaradwyr naturiol yn mysg y Saeson. Gwyddom yn amgen. Hyn yn benaf yw rhagoriaeth Spurgeon. Mae yn siarad yn ddirodres. Mae Thomas Binney, tywysog pregethwyr y brif ddinas yn siaradwr hollol naturiol; ac y mae ychydig eraill: ond eithriadau ydynt. Nid yw naturioldeb yn nodweddu y pwlpud yn Lloegr. Ac nid ydyw yn dyweyd nad oes pregethwyr annaturiol yn Nghymru, oblegid gwyddom fod genym rai y mae eu rhodres a'u coegedd yn eu gwneyd yn boenus i'w gwrando. Ac y mae genym yn Nghymru un enwad y mae delw Seisnigaidd ar eu pwlpud; a dichon fod hyny yn cyfrif mewn rhan paham na chafodd yr enwad hwnw afael mor ddwfn ar y meddwl Cymreig ag y mae wedi ei gael mewn gwledydd eraill. Dywedir hefyd fod eu neillduolion enwadol gan bob plaid; ac nid gwiw celu y mae mesur o hyny, er fod yn anhawdd gan un gydnabod hyny am ei enwad ei hun; ac wrth fod ynddo, ac wedi cynefino ag ef, nid yw yn tynu ei sylw. Mae efelychwyr gwasaidd hefyd yn mysg pob plaid. Ond gwehilion yr enwadau sydd felly; y mae y dynion sydd yn arwain yr enwadau yn gwbl naturiol. Pwy wedi gwrando John Elias, a Williams o'r Wern, a Christmas Evans a feddyliodd eu bod yn efelychu neb? Yr oedd hyny mor ddirmygus yn ngolwg yr hen Christmas fel y dywedai, "ei fod yn Blair iddo ei hun," pan awgrymwyd iddo nad oedd yn cyfansoddi yn ol rheolau

Blair. Mae yr holl bregethwyr sydd wedi bod a llaw yn ffurfiad nodwedd y Pwlpud Cymreig yn nodedig fel siaradwyr naturiol. Dywedir mae un o siaradwyr mwyaf naturiol yn ei oes oedd yr hybarch Dr. Phillips, Neuaddlwyd ; ond yn anffodus i ni, ni chawsom gyfle i'w wrando. Siaradwr nodedig o naturiol oedd y Parch. Richard Humphreys, Dyffryn sydd newydd orphen ei yrfa. Yr oedd yr un fath yn y pwlpud ag ar yr aelwyd. Gallem enwi degau o gewri y weinidogaeth yn ein gwlad yn mysg y rhai sydd wedi marw yn gystal a'r rhai sydd yn awr yn fyw, hynod fel siaradwyr naturiol. Ond heblaw ymadroddi yn syml, mae gwedd answyddol, ac ymddangosiad dirodres y pregethwr yn ychwanegu at naturioldeb y pwlpud. Peth diweddar iawn i gorff pregethwyr Cymru ydyw y wisg glerigol ; ond gall y mwyafrif o honynt gyfarch eu gwrandawyr yn ngeiriau Elihu wrth Job, "Wele fi yn ol dy ddymuniad di yn lle Duw, allan o'r clai y torwyd finau ; Wele, ni'th ddychryna fy arswyd, ac ni bydd fy llaw yn drom arnat." Mae yr agosrwydd sydd rhwng y pregethwyr a'r gwandawyr wedi bod yn help mawr i'r efengyl i enill y werin yn ein gwlad; ac nid ymddengys dim yn chwithig mewn gweled lleygwr yn esgyn i'r pwlpud i roddi gair o gyngor i'r bobl.

Mae symledd ac eglurdeb y cydmariaethau a ddefnyddir hefyd yn dangos yr un naturioldeb. Nid yw y pwlpud Cymreig erioed wedi bod uwchlaw defnyddio cydmariaethau syml, dealladwy, oddiwrth amgylchiadau cyffredin bywyd. Nid oes dim yn fwy dibwrpas na chydmariaethau yn cael eu cymeryd oddiwrth bethau nad yw y lluaws yn eu deall. Amcan cydmariaeth ydyw egluro yr hyn fyddo dan sylw ; rhaid gan hyny, cyn yr atebo y dyben, ei bod oddiwrth beth a ddeallir yn rhwydd. Clywsom bregethwyr yn tynu cydmariaethau oddiwrth bethau, yr oedd y gwirionedd a eglurid yn fwy adnabyddus i'r dorf na'r gydmariaeth a gymerid. Defnyddiai un gŵr ieuanc unwaith gydmariaeth oddiwrth rywbeth mewn fferylliaeth, er dangos rhyw wirionedd ysgrythyrol, ond collodd pawb eu golwg ar y pwnc tra y bu ef gyda'i fferylliaeth.

[redacted]



Gwell heb gydmariaeth os na bydd yn hollol ddealladwy i'r gynulleidfa, ac yn gyfaddas i egluro y gwirionedd yr amcenir ei osod allan Traddodwyd pregeth dda yn ein clywedigaeth, mewn tref borthladdol, ar grefydd trwy y gydmariaeth o aredig, pan nad oedd un o bob pump o'r gynulleidfa wedi gweled aradr erioed ; a chlywsom bregeth ar "angor yr enaid" mewn gwlad amaethyddol fynyddig, haner can' milldir oddiwrth y porthladd agosaf. Yn sicr nis gall pethau felly fod yn "air yn ei amser." Ac y mae yn anmhosibl dweyd gwerth cydmariaeth syml mewn trefn i egluro y gwironedd i feddyliau yn gyffredin Beia rhai am ddefnyddio cydmariaethau oddiwrth bethau cyffredin bywyd mewn pregethau, fod hyny yn darostwng urddas y pwlpud. Urddas y pwlpud yn wir ! Onid amcan y weinidogaeth ydyw "eglurhad y gwirionedd ?" Ac nid oes dim a gynalia urddas y pwlpud i fynu, ond fod y pregethau a draddodir ynddo yn cael eu deall a'u teimlo gan y rhai fyddo yn gwrando, ac nis gellir cael hyn heb eu gwneyd yn amlwg, a goreu pa symlaf fyddo yr eglurhad. Mae newydd-deb a dyeithrwch cydmariaeth yn peri fod y sylw yn cael ei dynu ati hi, ac felly collir golwg ar y gwirionedd yr amcenir ei ddysgu. Oddiwrth amgylchiadau hysbys i'w wrandawyr cyffredin y cymerai pen pregethwr y byd ei holl eglurhadau ; ac am dano ef y mae pawb yn barod i ofyn "a phwy sy'n dysgu fel efe ?" Ac y mae gweled "gwr dysyml" yn y pwlpud, yn siarad yn ddirodres, gan egluro ei bethau trwy gydmariaethau syml a chyfarwydd yn rhwym o gymeradwyo ei hun i olwg y gwrandawyr yn gyffredinol. Ac y mae hyn yn un o neillduolion y pwlpud yn Nghymru.

*Nerth.* Dyma elfen eto sydd yn hynodi y pwlpud Cymreig. Cwynir yn gyffredin mai eiddilwch sydd yn nychu y pwlpud yn Lloegr. Maent yn ofalus iawn i gadw chwaeth bur, mor belled ag y mae peidio dyweyd geiriau isel a difoes yn myned; ond gwan iawn ydynt, mewn meddyliau, cyfansoddiad, a thraddodiad. Ac y mae dynion craff iawn eu sylw yn bygwth mai felly y mae gweinidogaeth Cymru yn gogwyddo. Dynion

ieuainc hynaws, didramgwydd, crefyddol, ond heb ddim byd yn hynod ynddynt i'w gwahaniaethu oddiwrth y cyffredin o ieuenctyd ein Hysgolion Sabbothol. Yr ydym yn ceisio credu mai ofnau disail yw y rhai yna; er ar yr un pryd gorfodir ni i gredu fod gormod o sail iddynt. Mae yn ddigon hysbys ddarfod i'r hybarch Christmas Evans ofyn i gyfaill mewn Cymanfa lle y digwyddodd fod tua diwedd ei oes, pan oedd y doniau yn lled wan, "Beth yw y Sparbils hyn dywed; p'le mae yr hen hoelion wyth wedi myn'd?" A dywedai yr hyglod Ebenezer Richards ar achlysur urddiad nifer o frodyr, "fod yr Arglwydd yn y ganrif ddiweddaf wedi cyneu *torches* mawrion, yr oedd ryw haner dwsin o honynt yn llewyrchu drwy y Dywysogaeth; ond erbyn hyn eu bod wedi myned yn fân ganwyllau pedair ar hugain yn y pwys." Yr oedd yn ddigon naturiol iddynt hwy glywodd y cedyrn cyntaf, deimlo a siarad fel yna. Yr oedd nerth yn ngweinidogaeth ein tadau. Dynion oeddynt gan mwyaf o gyrff cryfion. Yr oedd Duw wedi eu gwneyd o bwrpas i ateb gwaith eu hoes. Ac yr oeddynt o feddyliau galluog. Cwynir, ac nid heb achos, hwyrach, ar erwindeb rhai o honynt. Disgynent yn isel a dichwaeth, ond yr oedd eu grym yn gyfryw, fel y goddefid y gerwindeb er mwyn y nerth. Ond gall y pwlpud Cymreig ddangos dynion o'r chwaeth buraf, ac eto o'r grym mwyaf. Dynion na ddywedent air a ferwinai y glust fwyaf coethedig; ac eto a'r fath lifeiriant o hyawdledd nes ysgubo pob peth o'u blaen. Mae yn anhawdd i ni yn awr wrth ddarllen yr ychydig sydd wedi ei adael ar ol o bregethau ein prif bregethwyr ddychymygu yr effaith anorchfygol oedd yn cydfyned â hwy pan eu traddodid. Yr oedd rhyw nerth ag egni corfforol a meddyliol yn cael ei ddefnyddio yn eu traddodiad fel nas gallasai y cryfaf sefyll o'u blaen. A gwyddom yn dda mai nid y pregethau sydd oreu wrth eu darllen, yw y rhai goreu wrth eu gwrando. Am bregethau argraffedig, agos yr holl bregethwyr fu yn ysgwyd y byd, nid oes un hynodrwydd neillduol ynddynt. Nis gall neb wrth ddarllen pregethau Whitfield

[redacted]



ymygu ddarfod i'r traddodiad o honynt gynyrchu un-
argraff neillduol. Nid oes yn nghynllun a meddyliau
hau John Elias ddim neillduol i dynu sylw ;ond yr oedd
ddodiad hyawdl ef o honynt yn rhoddi nerth ac awdur-
dynt. Nid yw yr ychydig weddillion sydd genym o
hau Williams o'r Wern ond dangoseg anmherffaith iawn
rydiaeth oedd ynddynt pan yr oedd ef yn "enaid byw"
traddodi. Yn ei Hanesiaeth mae Arglwydd Macauly
fynu o Plutarch am Lysias yn ysgrifenu amddiffyniad i
oedd i gael ei brofi yn un o frawdlysoedd Athen. Yn
n i'r amddiffynydd ddysgu yr araeth, daeth yn anfodd-
awn iddi, ac yn ei ddyryswch aeth at Lysias, yr awdwr;
ddai, " Yr oeddwn yn cael fy moddhau yn fawr yn eich
pan ddarllenais hi y tro cyntaf, ond nid oeddwn yn
l cymaint ynddi yr ail waith ; y drydedd waith y dar-
hi yr oedd yn waelach o lawer yn fy ngolwg ; ac er-
yn nid wyf yn ei gweled yn amddiffyniad mewn un modd."
fy nghyfaill," ebe Lysias, " yr ydych chwi wedi anghofio
w y barnwyr ddim i'w gwrando ond unwaith." Felly y
awer pregeth yn cynyrchu effeithiau grymus yn y tradd-
o honi, pan na ddaliai feirniadaeth graff ped argreffid
r nerth a'r awdurdod oedd yn y traddodiad o honynt,
y prif beth a osodai hynodrwydd arnynt.

*resawgrwydd* sydd nodwedd arall yn y pwlpud Cym-
Er fod hyn yn perthyn yn agos i'r nerth y cyfeiriwyd
flaenorol, eto y mae gwahaniaeth rhyngddynt. Gall
rth mawr, eto heb y gwres, neu fel y dywedir yn gyff-
" yr hwyl " sydd yn perthyn i'r pregethu Cymreig. Nid
n y Saeson yr un gair i osod allan y peth a olygir genym
h " hwyl ;" o ran hyny nid yw y peth ganddynt, pa
gan hyny y gall fod ganddynt air i'w osod allan. Mae
ac angerddoldeb yn un o neillduolion crefydd Cymru, a
thio na chollir byth yr elfen yma o grefydd ein gwlad.
mae cysylltiad agos rhwng y pwlpud a'r seat. Mae y
n sicr o adael argraff ar y llall. Mae pregethwr oer yn

sicr o wneyd gwrandawyr oer, ac y mae gwrandawyr oer yn un mor sicr o wneyd pregethwr oer ; ac y mae pregethwr a gwrandawyr oer yn ddigon i rewi crefydd yn y lle. Mae ambell i gynulleidfa yn eistedd fel delwau i wrando, ond yn disgwyl i'r pregethwr fod yn llawn tân yn y pwlpud. Os ydynt hwy yn rhy gall i fyned i hwyl wrth wrando, yn sicr dylai ef fod yn rhy gall i fyned i hwyl wrth bregethu ; oblegid dylai y pregethwr a'r gwrandawyr fod yn yr un dymheredd ; a'r naill a'r llall "yn wresog yn yr yspryd yn gwasanaethu yr Arglwydd." Ac y mae tân ac angerddoldeb yn hynodi pregethu Cymru. Mae y darluniad roddir gan hen bobl o rai o'r hen bregethwyr, bron a pheri i ni gredu eu bod yn rhyw fodau uwch dynol. Nid oedd Robert Roberts Clynog ond dyn bychan, eiddil, gwar grwn, ond yr oedd angerddoldeb ei zel yn peri iddo ymddangos fel seraff tanllyd ger bron y gynulleidfa; a disgynai ei ciriau fel hylif poeth ar ei wrandawyr. Ac nid peth priodol i ambell un oedd y gwresawgrwydd yna, ond dyna oedd nodwedd y weinidogaeth yn gyffredin, nes y mae Cymru wedi enill hynodrwydd ar gyfrif *bywiogrwydd* ei chrefydd.

Ac y mae un llinell yn nodwedd y pwlpud Cymreig y dylem ei grybwyll yma, na cheir yn un wlad arall. Y peth a elwir yn y De yn "*Ddawn.*" Mae i'r gair yma fel i lawer o eiriau eraill ystyr wahanol yn y De a'r Gogledd. Yn y Gogledd, yr hyn a feddylir wrth "*ddawn,*" neu ddyn doniol, ydyw un yn gallu traethu ei feddwl gydag eglurder, a rhwyddineb iddo ei hun, a boddhad i bawb a fyddo yn gwrandaw ; a dyna feddyliem yw ei ystyr briodol. Ond yn y De cyfyngir ystyr y gair "*dawn*" i'r gallu i wneyd swn peroriaethus wrth bregethu. Canu neu *chantio* y bregeth. Nid ydym yn gwbl sicr i ba gyfnod yn hanes y pwlpud Cymreig y perthyn dechreuad y dawn yma. Mae yn bur sicr nad yw yn perthyn i'r cyfnod cyntaf. Nid oedd dim o'i ddelw ar y Puritaniaid a'r Anghydffurfwyr. Mae yn sicr hefyd nad yw y perthyn i'r Diwygwyr Methodistaidd. Yr oedd tân a bywyd yn eu gweinidogaeth

[redacted]



hwy, ond ar ol eu dyddiau hwy y dechreuwyd y canu wrth bregethu. Arddull Ddeheuol ydyw yn benaf. Mae yn wahanol i'r swn lleddf, trydaraidd, cwynfanus sydd yn bur gyffredin yn y Gogledd. Dullwedd Annibynol hefyd ydyw yn ddechreuol; er fod enwadau ereill wedi cyfranogi yn helaeth o hono, a rhai wedi disgyn yn ddyfnach iddo, eto yn mysg yr Annibynwyr y cychwynodd; ac i'r ganrif hon y perthyn. Mae hen Weinidog patriarchaidd yn awr yn fyw ddechreuodd bregethu cyn diwedd y ganrif ddiweddaf yn cofio adeg pan nad oedd y dawn yna yn adnabyddus yn mhwlpudau Cymru. Y diweddar Barchedig D. Davies Sardis oedd tad yr Ysgol yma; ac ni ragorodd un o'i feibion arno. Cyfododd nifer o bregethwyr medrus yn y dull yma, agos yn gyfamserol yn enwedig yn Morganwg; a daeth y *dawn* yn boblogaidd ryfeddol. Un o'r rhai mwyaf galluog ei *ddawn* oedd y diweddar Barch. Daniel Griffiths, Castellnedd. Gallasai swyno unrhyw gynulleidfa â phereiddwch ei lais, ns peri iddynt anghofio y byd yn llwyr, a thybied eu bod haner y ffordd i'r nefoedd. Mae y *dawn* yna wedi ei weithio i eithafion, nes y mae ambell i bregethwr yn debycach i ddyn yn canu baledi ar ben heol ddiwrnod ffair, nag i Weinidog difrifol yn siarad â dynion am eu bywyd tragywyddol; ac y mae y fath ddull yn rhwym o beri i bob dyn deallgar ddirmygu y pregethwr a'i bregeth. Ond cam ddefnydd o'r *dawn* sydd yn peri hyny. Gallai y neb sydd yn ei feddu trwy wneyd defnydd priodol o hono ei droi yn fanteisiol iawn i boblogrwydd ac effeithiolaeth y pwlpud. Mae gan Weinidog enwog sydd yn awr yn fyw, fwy o'r *dawn* yma wedi ei buro oddiwrth bob sothach baledaidd, na neb y cawsom ni gyfle i'w wrando; ac y mae wedi gwneyd marsiandiaeth dda o hono. Mae hon yn un o linellau gwahaniaethol y pwlpud Cymreig; ac yn dal cysylltiad agos â'r gwresawgrwydd sydd mor briodol iddo.

*Tuedd gyfeiriadol y Weinidogaeth.* Yn hyn y mae wedi bod yn nodedig. Pwlpud argyhoeddiad ydyw. Mae ganddo genadwri uniongyrchol at y bobl. Nid siarad am danynt ond

dyweyd wrthynt. Pwy, wedi gwrando John Elias a Willia o'r Wern yn pregethu, a amheuai nad ag ef yr oeddynt siarad. Deuai Elias at y gynulleidfa fel un anfonedig g Dduw a chenadwri ganddo dros Dduw at ddynion. Preget yn ddeffroedig, yn gynhyrfus, yn argyhoeddiadol, nes y da bob gwrandawr gyda'i fater ei hun yn bersonol. Ysgw pechaduriaid oedd ei waith. Dihunai broffeswyr cysglyd, lonyddai ar wrandawyr diofal, datguddiai eu perygl i hun dwyllwyr esmwyth arnynt yn Sïon, ffaglai dân yn llochesau rhagrithwyr, ymaflai yn nghalon y pechadur cyndyn, siara â chydwybod y gwrthgiliwr caled, teimlai y bachgen anyst iol fod rhyw un wedi bod yn dyweyd ei hanes wrtho, ac oedd y ferch wyllt yn gwrando arno fel un wedi ei dal g ddo. Wedi ei wrando byddai y pechadur yn cael ei rwym aros gyda'i fater ei hun. Yn ei feirniadaeth ar Cicero, Demosthenus, dywedai Longinus, fod y bobl, ar ol gwra Cicero, yn dywedyd, "Y fath areithiwr ardderchog, y f gyfansoddiad godidog, y fath iaith ddestlus, y fath lais ] aidd, y fath draddodiad hyawdl sydd gan *Cicero.*" Cicero y siaradent wedi gwrando arno Ond wedi gwra Demosthenus ymadawent gan ddywedyd, "Gadewch i ni ladd â Phillip." Yr oeddynt wedi gwallgofi yn erbyn y gelyn fath raddau nes anghofio yr areithiwr. Tebygolai Elias fwy i'r olaf. Nid rhyfeddu ei gyfansoddiad, ei lais, a'i d ddodiad y byddent; ond yr oedd ei weinidogaeth yn dal d ion, gorchfygid pechaduriaid gan awdurdod ei eiriau. oedd pawb wedi gwrando arno yn sicr o ddigio wrthynt hunain, neu wrth y pregethwr. Dywedai Louis XIV. w Massilon wedi gwrando arno yn pregethu yn Versail "Clywais areithwyr mawrion yn y capel yma, *a boddlonu fi yn fawr ynddynt hwy;* ond bob amser y gwrandawaf a och chwi, byddaf yn myned ymaith wedi *anfoddloni wrth fy hun,* oblegid byddaf yn gweled mwy o'm cymeriad." oedd Elias yn bur sicr o beri i gydwybod y gwrandawr i lonyddu arno wedi ei wrando; ac nid peth anghyffredin fyd

[redacted]



l y dynion cryfaf yn crynu ger ei fron gan awdurdod ei

oedd llawer o'r un neillduolion yn Williams o'r Wern,
ıd oedd y taranau mor ofnadwy. Cariai fuddugoliaeth
o ymderch ; ond yr oedd yn ddibaid gyda chydwybod
ndawyr, ac ni adawai lonydd iddynt. Casglai nerth,
dai arnynt, ymlidiai hwy o bob man, dilynai hwy i bob
s, diarfogai hwy o bob gwrthddadl, cymerai o'u genau
sgus ; os cilient i fan arall, byddai yntau ar eu hol, di-
hwy nes eu dal ; wedi eu dal, curai hwy nes eu cael i
wedi eu cael i lawr, gwasgai ar en hanadl nes cael
onrwydd eu bod yn ildio ; yna agorai ddrws gobaith o'u
dygai oludoedd yr efengyl ger eu bron, cymhellai hwy
ınogi, tröellai ei ddawn yn ddeniadol i'w gwahodd, gwef-
ıi y gynulleidfa, cynhyrfai bywyd trwy y lle fel rhai wedi
sglyfaeth lawer.

nid rhyw beth priodol i rai o'n prif bregethwyr ydyw y
argyhoeddiadol yna ; ond y mae yn perthyn i'r pwlpud
eig yn gyffredinol ; a chadwer yn ein plith yr amcan
g yna i gyrhaedd cydwybodau y gwrandawyr ; a "thrwy
ad y gwirionedd, i ganmol ein hunain wrth bob cydwy-
ynion, yngolwg Duw hefyd."

di dyweyd cymaint am neillduolion y pwlpud Cymreig ;
glir hwyrach cael engreifftiau helaethach na dim a rodd-
enym eto. Yr ydym yn mawrhau ein braint i ni glywed
a fwyaf o'r prif bregethwyr Cymreig ddechreuodd yn y
' hon. Yr oeddym yn ieuanc iawn pan glywsom rai o
t, fel nad oes genym ond côf anmherffaith am danynt.
lael heibio y rhai sydd yn awr yn fyw, dewiswn y ddau
hwr mwyaf poblogaidd y cawsom ni gyfle i'w gwrando
lyfod i oedran i allu ffurfio barn am danynt, sef y
edigion William Williams, Llandilo, a John Jones,
yfni.

## WILLIAMS, LLANDILO.*

Yr ydym yn bur sicr na allwn dynu portread mor gywir fel y gellir dweyd, Dyna Williams, Llandilo. Yr anhawsder ydyw cael safle fanteisiol i edrych arno mewn trefn i dynu darlun o hono. Clywsom ef lawer gwaith, mewn gwahanol fanau, yn pregethu ar wahanol destynau, mewn gwahanol hwyliau; ond nid oes un amgylchiad neillduol o flaen ein meddwl oedd yn tra rhagori ar bob tro arall. Ond odid na thybia rhai ein bod yn lliwio yn rhy gryf, ond ein barn bob amser yw, y dylid darlunio y dyn ei hun, a hyny yn y fan oreu arno. Yn gyffredin y mae yr argraff gyntaf a dderbynir i'r meddwl yn lled debyg o fod yn gywir, amcanwn gan hyny edrych ar Mr. Williams mewn cysylltiad â'r tro cyntaf y clywsom ef yn pregethu mewn Cymanfa, a'r ail dro y gwrandawsom ef erioed.

Yr oedd Cymanfa yn Bwlchnewydd, yn yr haf, ddwy flynedd a'r hugain yn ol, sef yn 1841, a dysgwylid am amryw o Weinidogion dyeithr i fod yn bresenol; ond oblegid rhyw amgylchiadau methodd rhai o honynt a dyfod. *Hysbyswyd* gan hyny y byddai i Mr. Williams, Llandilo, ac un arall i bregethu y prydnawn cyntaf. Nid oedd yn drefn arferol i roddi neb o Weinidogion y Sir i bregethu yn y Gymanfa pan y byddai yn y Sir. Ond gan fod rhai o'r dyeithriaid a ddysgwylid wedi eu siomi, a Mr. Williams y pryd hwnw yn nerth ei boblogrwydd, barnwyd yn ddoeth ei osod i bregethu, ac ni allasai dim fod yn fwy boddhaus gan y gwrandawyr oll. Cynelid y Gymanfa ar gae lled uchel, yn tueddu at fod yn llethrog. Yr oedd yr esgynlawr wedi ei chodi ar y tir isaf, a'r dorf oll o'i blaen yn fanteisiol iawn i bawb weled y pregethwr, ac i'r pregethwr weled y dorf. Yr oedd y pregethwyr agos oll ar yr esgynlawr. Safem ni yn nghŵr pellaf y gynulleidfa, eto yn

*Bu Mr. Williams farw Medi 6ed, yn 34 oed. Bu yn Weinidog yn Llandilo, Llansadwrn, &c., am 11eg mlynedd. Cyhoeddwyd Cofiant rhagorol iddo gan y Parch. J. Williams, Castellnewydd.

[redacted]



ddigon agos i glywed y cwbl, ac mewn lle manteislol i weled y pregethwr a'r gwrandawyr. Traddodwyd pregeth fer, flasus, doddedig, yn gyntaf gan ddyn bychan oedranus, oddiar y geiriau, "A ymlanhei di, pa bryd bellach?" Yr oedd rhyw arogl hyfryd gyda'i weinidogaeth, "fel arogl maes a fendithiodd yr Arglwydd." Mae yr hen gyfaill erbyn hyn wedi noswylio, disgynodd mewn "henaint i'r bedd, fel y cyfyd ysgafn o yd yn ei amser."

Yn ddioed dacw Williams, Llandilo ar ei draed. Dyna fe ddarlenydd, a welaist ti ef erioed? Mae yn ddyn o wneuthuriad cadarn, yn ymddangos o gylch 32 oed, ond gall nad yw yn gymaint; mae o daldra canolig; nid yw yn dew, er fod golwg gorffol arno; ac esgyrn ei wyneb yn lled uchel. Mae ei wisg yn lân a thrwsiadus, heb ddim yn goegaidd i dynu sylw ar y naill law, na dim yn gyffredin i dynu sylw ar y llaw arall. Saif i fynu yn syth gan droi dalenau y Beibl yn bur brysur. Mae yn hawdd deall fod ei feddwl yn llawn cyffroad, edrycha braidd yn sarug, nid yw ei wyneb yn ei liw naturiol, ac y mae ychydig lesni ar ei wefusau. Mae ei enaid wedi dihuno, ac y mae yn deimladol fod ganddo genadwri bwysig i'w dwyn. Mae arwyddion pryder drwy y dorf, ac nid anhawdd darllen ar eu hwynebau fod un y disgwylient lawer wrtho ar agor ei enau. Dyna y canu yn diweddu, a bron cyn i'r dorf gael hamdden i feddianu eu hunain, darllenai ei destyn mewn cywair uchel, yn hyglyw i'r dorf oll, Dat. iii. 12:—"Yr hwn sydd yn gorchfygu, mi a'i gwnaf ef yn golofn yn nheml fy Nuw i, ac allan nid â efe mwyach, ac mi a ysgrifenaf arno ef enw fy Nuw i, ac enw dinas fy Nuw i, yr hon ydyw y Jerusalem newydd, yr hon sydd yn disgyn o'r nef oddiwrth fy Nuw i; ac mi a ysgrifenaf arno ef fy enw newydd i." Nid oedd dim yn narlleniad y testyn yn ein taro, yr oedd braidd yn frysiog, heb arwydd fod unrhyw ofal am bwyslais nac aceniad. Ac yr oedd y prysurdeb gyda'r hwn y dechreuodd yn bradychu rhyw fath o ofnusrwydd, er i'r sylwedydd cyffredin yr arddangosai hyfdra a gwroldeb mawr. Yr oedd

y rhagymadrodd yn agoriad ar y llythyr at eglwys Philadelphia ; ac yr oedd yr holl sylwadau yn eglur a phriodol, ac yn arwain i mewn yn ddigon naturiol. Ac eto y mae rhyw beth ar ol, y mae sylw y gynulleidfa heb ei gael, mae y gweinidogion y tu ol iddo yn bur ddigynwrf, ac nid ymddengys ynddynt ychwaith y diflasder, a'r hunan ddigonedd hwnw, welir yn rhy fynych mewn gweinidogion wrth wrando eu gilydd ; ac y mae y pregethwr yn ymdeimlo ei fod mewn cylch, a bod yn rhaid tori hwnw cyn y daw y dorf ac yntau i ymyl eu gilydd. Ond y cwestiwn ydyw pa fodd i'w dori. Un gair all ei wneyd, ond y gamp ydyw cael gafael ar y gair hwnw. Wedi ymdroi yn lled faith, nid gorfaith ychwaith, y mae yn paratoi at ddosraniad ei destyn, " Cymeriad a gwobr y duwiol." Nid oedd ei raniadau ond syml a chyffredin ; ond yn ddioed wedi eu crybwyll, mae mewn dull ffraeth yn gwneyd math o ymddiheurad dros bregethu yno, " Na feddyliodd mewn un modd wrth ddyfod yno am bregethu, gan ei fod yn ei Sir ; ond gan iddynt ei alw ati, ei fod yntau yn myned i'w galw hwythau oll i ryfel " Derbyniwyd y sylw gyda gwên foddhaus gan y dorf oll, unai y gweinidogion yn yr unrhyw, dyna yntau mewn eiliad yn ymryddhau, torai yr holl gylchau oedd o'i gwmpas, newidiai y sarugrwydd oedd hyd yma yn ei lygaid yn llonder a bywiogrwydd, ciliai y glesni oddiar ei wefusau, a'r gwyni oddiar ei ruddiau, a gwisgai ei wynebpryd ddelw sirioldeb; ac fel yn awyddus am gadarnhau ei nerth, a chryfhau ei ysbryd, dymunai am ran yn eu gweddiau am i'w ymdrech fod yn llwyddianus i'w cael oll yn orchfygwyr ; ac wedi i ganoedd ar unwaith arwyddo eu parodrwydd mewn mil o amenau, nes ysgwyd y gynulleidfa oll, ymaflai yntau o ddifrif yn ei waith, fel un yn teimlo fod ganddo yntau frwydr i'w hymladd.

Y darluniad o'r Cristion, " Un yn gorchfygu." Cymerai olwg ar ei elynion, ei ryfel â'i elynion, a'i fuddugoliaeth ar ei elynion. Gosododd ger bron bedwar o elynion cryfion ag y mae gan bob Cristion i ymladd â hwy, y byd, y cnawd, y diafol, a'i hunan. Darluniodd y gelynion yma yn ei holl ffurfiau,

[redacted]



y dulliau gwahanol trwy y rhai yr ymrithient, yr ystrywiau sydd ganddynt i ddwyn eu cynllwynion yn mlaen, y ffyrnigrwydd gyda'r hwn yr ymosodant, ac mor gyndyn ydynt i roddi i fynu er colli lawer gwaith. Eglurai y cwbl trwy gydmariaethau syml, tarawiadau ffraeth, iaith ddealledig, bywiogrwydd cyffrous, ac apeliadau cymhwysiadol, nes yr oedd y gynulleidfa oll yn hongian wrth ei wefusau.

Triniai *hunan* mewn dull gwawdlym, miniog, a gafaelgar. Llnniai y V fawr â'i fysedd o flaen y dorf yn ymledu tuag i fynu, heb ofalu dim am neb, ond cael digon o le iddi ei hun. Dangosai y llywodraeth sydd gan hunan ar y byd, edrychai arni yn effeithio dinystr o'r dechreuad, olrheiniai ei hanes a'i gweithrediadau, darluniai y diafol yn ei bortreadau yn ei swynion ger bron llygaid "Sanct Duw" yn yr anialwch, ond fod yr holl elynion yn llesmeirio yn ei bresenoldeb ef.

Wedi cymeryd golwg fanol ar gryfder, cyfrwysder, hudoliaeth, ac ystryw y gelynion, y mae yn symud yn mlaen at y filwriaeth, ac y mae y dorf i'w gweled yn symud gydag ef. Mae yn galw y Cristion i'r maes, ac yn ei wisgo mewn "cyflawn arfogaeth." Mae yn paratoi i frwydr galed, boethlyd, ddwysganlyniadol. Mae gwynebpryd y dorf yn newid. Tra y darluniai y gelynion er eu holl gyfrwysder a'u dichell, yr oeddynt yn gallu gwenu; ond gan ei fod yn eu galw i'r maes, a'u tynghedu i ryfel, yn gwasgu arnynt eu cyfrifoldeb, ac yn sicrhau mai ymladd *duel* ydyw gwaed am waed, bywyd am fywyd, mae y dorf yn difrifoli; mae dwysder yn ei pherchenogi; mae y pregethwr yn siarad, nid *am*, ond *wrth* y bobl. Mae ei bethau, nid i'w gwybod yn unig, ond i'w gwneyd; nid yw deall, ond i'w hymarfer. Dilyna hwy i bob congl, myn iddynt feistroli pob chwant, darostwng pob tueddiad, croeshoelio pob nwyd, ymwadu â phob blys, a gosod holl dueddiadau natur lygredig dan reolaeth. Mae fel dyn o ddifrif, yn penderfynu y myn gyffroi pob cyneddf, a galw pob gallu i'r maes yn erbyn y gelynion. Edrychai yn myw llygaid y dorf i edrych a wêl arwyddion eu bod yn ufuddhau; a chan nad

yw yn teimlo yn foddlonol fod ei amcan wedi ei gyrhaedd, ail ymosoda arni gyda'r fath rym anianyddol, meddyliol, ac ysbrydol, fel y mae ocheneidiau y dorf yn awgrymu ei bod ar eu heneidiau yn "ddydd ymladd a rhyfel." Ac wrth adael y sylw, datganai ei hoff ddymuniad, "Duw lwyddo y Gymanfa i gael milwyr newydd," gyda'r fath nerth, fel, erbyn ei fod dros ei wefusau, yr oedd y dorf yn rhoddi *echo* iddo, nes yr oedd eu swn "fel swn dyfroedd lawer," a'r pregethwyr gan mwyaf ar eu traed, ac yn ymwasgu i'r wyneb, ac yntau yn hwylio rhagddo at oruchafiaeth y Cristion ar ei elynion, "Un yn gorchfygu." Gosodai bwys mawr ar hyny, a thynghedai hwy i beidio troi cefn nes cario y dydd. Gwnaeth rai cyfeiriadau sydd yn sicrhau concwest i'r credadyn. Ond nid oeddynt ond byr iawn. Ei bwnc ef oedd dal ar y dyn, gwasgu ar ei anadl ef, fod yn rhaid iddo sefyll ar y maes nes y byddo y gelynion wedi eu maeddu bob un. Ail ddywedai y geiriau, "Un yn gorchfygu," gyda'r fath rym; edrychai yn ngwyneb y dorf gyda'r fath benderfyniad; estynai ei fraich allan fel sêl ar ei eiriau na fynai lai, a'i fod yn meddwl y *peth a ddywedai*; a thybiem, yn yr olwg oedd ar y dorf, fod yno bawb yn meddwl mai ofer fuasai cynyg cilio o'r maes cyn enill y dydd. Gwasgai ar anadl y dorf am ddeugain munyd heb ganiatau iddynt hamdden i wibio a gwenu, teimlent fod y gelynion mor lluosog, ac yn gwylio arnynt o bob tu, fel yr oeddynt mewn perygl am eu bywyd yn mhob man, na feiddient na huno na hepian, oblegid na wyddent pa funyd y deuai y gelynion ar eu gwarthaf.

Nid oedd yr effaith a gynyrchai ar y gynulleidfa mewn un modd yn ei rhwygo, ei dryllio, ei briwio, a'i dwyn i wylo nes ei mwydo mewn dagrau; ond ymddangosai yn hytrach wedi ei gorchfygu. Yr oedd swn a chynhwrf yn gyffredinol, a'r gynulleidfa yn ymddangos fel wedi ei chymeryd mewn ystorm; ac yntau yn fynych yn anadlu ei hoff air, "Duw lwyddo ei wirionedd," nes y mae pawb sydd o'r un dymuniad yn rhoddi gollyngdod i'w teimladau mewn amenau uchel, y rhai a glywid

[redacted]



yn dyrchu o bob cwr i'r maes. Ni bu un areithiwr erioed yn fwy llwyddianus i wasgu ei wrandawyr i bwynt, nes eu bod yn ddiarwybod iddynt eu hunain yn curo eu dwylaw a'u traed, nag ydoedd Mr. Williams y pryd hwnw i dynu amenau oddiwrth y gynulleidfa.

Dyna fe wedi gweithio yn mlaen drwy y rhyfel, a thrwyddi yn fuddugoliaethus. Gwelwch, y mae ei ddullwedd yn cyfnewid, y mae yn ymddangos fel yn teimlo fod yr orchestwaith wedi ei gwneyd; bellach y mae y canlyniadau i'w mwynhau. Mae y frwydr wedi ei hymladd, yn awr y mae yr anrhaith i gael ei ranu. Mae y rhyfel drosodd, nid oes yn ol ond mwynhau y wobr. Cyhoeddai y wobr fel efengylwr peraidd, "Mi a'i gwnaf ef yn golofn yn nheml fy Nuw i, ysgrifenaf arno enw fy Nuw i, ac enw dinas fy Nuw i, ac ysgrifenaf arno ef fy enw newydd i." Darluniai y Cristion yn cael ei wneyd yn golofn goffadwriaethol o ras Duw, yn golofn gynaliol i achos Duw, ac yn golofn arhosol yn eglwys Dduw. Mae yn tywallt allan ffrydiau o iaith gref, mewn dull cyffrous, gyda llais clochaidd, nes y mae ei eiriau yn disgyn fel gwreichion ar y gynulleidfa; a'r fath newydd-deb swynol yn ymddangos yn y cwbl, fel y gellid meddwl mai y munyd hwnw y daeth y cwbl i'w feddwl. Wedi dangos y golofn, mae yn darllen yr ysgrifen sydd arni, "Enw fy Nuw i, enw dinas fy Nuw i, a fy enw newydd i;" neu fel y dywedai, "Enw ei Dad, enw ei fam, ac enw ei frawd hynaf." Mae yn dyrchu i fynu lais clir, clochaidd, soniarus, wedi ei droi yn beroriaethol, ac mewn cywair uchel yn bloeddio, "Fy enw newydd i." Bobl anwyl! ni chlywsom ddim erioed yn fwy swynol. Mae yn gweithio fel trydan drwy y dorf, mae yn goglais y gynulleidfa, nes y maent yn gwingo yn eu crwyn. Gwnaeth hyny eilwaith ac eilwaith, fel am y foment, anhawdd genym feddwl fod yno neb yn teimlo ei draed ar y ddaear. Mae ei swn peroriaethus yn bloeddio, "Fy enw newydd i," byth ar ein clustiau; ac yn y teimlad hapus hwnw y terfynodd. Ymwasgarodd y dorf ar ddiwedd yr oedfa, fel rhai yn teimlo eu bod wedi cael llawn ddigon am y Gymanfa.

Ond y mae hyn oll yn mysg y pethau a fu! Mae y llygaid belydrai mor ddysglaer wedi tywyllu; mae y llais swynai y miloedd wedi crygu yn oerni y glyn; mae y tafod dywalltai y fath arabedd santaidd wedi ei gloi gan angeu; a'r doniau ddyferai oddiar ei wefusau fel diliau mêl wedi fferu yn y gweryd.

> "Mor rhydlyd mae'r hyawdledd
> Daniai'r byd, yn y bedd."

---

## JOHN JONES, LLANLLYFNI.*

Dyna fe, ddarllenydd! Mae ei enw yn ddigon adnabyddus drwy Gymru oll. Nid rhaid iddo wrth na blaenddodiad nag olddodiad. Gall hebgor y Parch. a'r Mr. i'r rhai nad oes ganddynt ond hyny i'w henwogi. Er ei fod yn "barchedig gan yr holl genedl," ac yn "feistr y gynulleidfa," eto adnabyddid ef wrth yr enw syml a diaddurn, *John Jones, Llanllyfni.* Yr oedd Llanllyfni wedi ei gysylltu â'i enw, ac ni fynai y bobl ei newid. Talysarn oedd lle ei breswylfod, ond Llanllyfni sydd wedi ei hynodi, ac a fydd yn hynod yn mhell wedi i'r olaf o'n darllenwyr fyned yn hen; ac a hynodwyd felly, yn unig oblegid cysylltu enw yr anfarwol John Jones âg ef. OND—*efe a fu farw!*

Disgynodd y newydd yn ddyeithr ar ein clustiau, er ein bod yn gwybod yn flaenorol fod ei iechyd wedi amharu; eto nid oeddym yn barod i dderbyn y newydd trwm. Ychydig feddyliasom, wrth droi i mewn i gapel y Methodistiaid yn Nghastellnedd, ar un canol dydd ddwy flynedd yn ol, i'w wrando, mai hwnw fyddai y tro diweddaf i ni ei glywed. Ac yn ddam-

---

*Ysgrifenwyd hwn yn ddioed wedi derbyn y newydd farw y gwron; a chyhoeddir ef yn hollol fel y cyfansoddwyd ef ar y pryd. Mae Cofiant helaeth iddo i ymddangos, ac y mae yn llawn bryd bellach ei gael. Nis gwyddom beth sydd yn peri yr oediad. Disgwyliwn y bydd yn un da iawn wedi aros cyhyd. Yr oedd John Jones yn 60 oed yn marw, ac wedi pregethu am 36 o flynyddoedd.

[redacted]



weiniol y cawsom y *fraint*—BRAINT, meddwn, a rhaid fod diffyg mawr ar ben, neu galon, neu bob un o'r ddau, i'r dyn hwnw nad ystyriasai yn *fraint* i gael gwrando ar John Jones yn pregethu. Yr oeddym wedi disgyn y diwrnod hwnw yn y dref, ar ein ffordd i'r Maesteg; a thra yn aros wrth westy yno, i ddysgwyl cyfaill i'n cyfarfod yn ol ei addewid, gwelem luaws o bobl yn myned heibio yn brysur iawn. Nis gallasem ddyfalu pa le yr oeddynt yn myned. Ond cyn pen ychydig fynydau dyma ein hen gyfaill hoff, Mr. Evans, o Gastellnedd, yn dyfod yn mlaen yn gyflym iawn;—ac wedi, cyfarchiad serchog, gofynasom iddo, "Pa le yr oedd yn myn'd, a ph'le yr oedd yr holl bobl yn myn'd?" "I dŷ cwrdd y Methodist—mae Mr. Jones, Llanllyfni, yn pregethu yno yn awr am ddeuddeg," ebe yntau, gan dynu ei *watch* allan i ddangos ei bod yn hen bryd myned. Aethom gydag ef mewn munyd, ac i'r capel. Cymerasom ein heisteddle yn y man agosaf i'r drws ag y gallem, oblegid yr oedd yn ddiweddar. Gwelem y pregethwr yn taflu ei olygon craff arnom gyda chil ei lygad. Yr oedd wedi darllen ei destyn cyn i ni fyned i mewn, ond deallasom yn fuan mai rhyw ymadrodd yn llyfr y prophwyd Esaiah oedd dan sylw ganddo—"*Dysgwyl am ddaioni.*" Dangosai mor naturiol ydyw i bob un ddymuno ei ddaioni ei hun, a bod yr Arglwydd yn cymeradwyo hunan-ofal; ac nas gall yr un creadur ymgodi mor uchel fel ag i allu gwasanaethu Duw yn annibynol hollol ar bob ystyriaeth o'r daioni personol all hyny ddwyn iddo ef. Crybwyllai am ryw hen wraig, y dywed un o'r hen awdwyr am dani, oedd yn myned un diwrnod â dwfr yn un llaw, a thân yn y llaw arall; cyfarfu rhyw un â hi, a gofynai, "I b'le yr oedd hi yn myn'd?" "Yr wyf," ebe yr hen wraig, "yn myned i losgi y nefoedd â'r tân, ac i ddiffodd fflamau uffern â'r dwfr, gael i mi garu Duw er ei fwyn ei hun."

"Ah! mhobl i," ebe efe, "yr oedd yr hen chwaer yn *pretendio* gormod o grefydd; nid ydyw ein Duw ni ddim yn dysgwyl i neb ei garu heb olygu ei les ei hun!" Ymdriniai â'r camsyniadau y mae dynion yn syrthio iddynt wrth ddys-

gwyl daioni—dysgwyl y dyben heb ymarfer â'r moddion—dysgwyl y daioni mwyaf heb dderbyn a gwerthfawrogi y daioni lleiaf. Yma daeth ar draws ei hoff bwnc—dysgwyl rhyw beth mawr yn lle magu y peth bach. Gwnaeth gymhwysiad hapus iawn o hanes Samuel yn myned i eneinio Dafydd yn frenin, "Nid oedd ei dad, na neb o'r teulu, yn meddwl fod dim ynddo—pwt o fachgen gwridcoch, iachus, ond *dim byd* yn debyg ynddo i wneyd brenin. Ond wedi i Samuel dori y corn olew ar ei ben, a'i godi i deyrngadair Israel, y mae yn ymlid ei elynion, yn darostwng holl freniniaethau Canaan, ac yn gosod ei arswyd ar bawb o'i gylch. Gwna dithau yr un fath â'r teimlad bach yna, eneinia fo â gweddi—cwyd o i'r orsedd, ac fe feistrola dy chwantau—fe ddarostwng dy dueddiadau—fe ddwg dy holl nwydau dan ei reolaeth—ac fe deyrnasa yn frenin ar dy enaid." Ac yna, ar ol rhyw sych-besychiad, anadlai, yn ol ei arfer, weddi fer,—"O Arglwydd! dwg y bobl yma i gredu hyn." A dywedai y cwbl gyda'r fath naturioldeb, fel y teimlai pawb ei fod yn siarad fel un ag awdurdod ganddo. Nid ymollyngodd i bregethu gyda'i *yni arferol* y tro hwnw; er hyny yr oedd ei feddyliau yn cymeryd y gynulleidfa, a phawb yn teimlo fod yno ddyn a hawl ganddo i siarad yn sefyll uwch eu penau. Wedi siarad am ryw awr, dywedai, yn ei ddull syml, "Wel, mhobl i, dawn i yn gwybod y gwnaech chi y tipyn ddywedais, chi gaech fyn'd 'rwan; onide, mi'ch cadwn chwi dipyn eto." A dywedai bob peth mor briodol fel yr oedd y cwbl yn gweddu iddo.

Ni bu dyn erioed wedi ei wneyd gan natur yn well at bregethu. Yn sicr yr oedd yn "llestr etholedig" i'r gorchwyl—wedi "ei neillduo o groth ei fam" i'r gwaith. Yr oedd o gorff cryf, llathraidd, golygus—llygaid gloewon treiddgraff—ymadrodd croew eglur—llais cryf, clir, peraidd, yn swyno y glust—a'i ddawn rhwydd, diatal, fel afon yn myned a'r cwbl o'i blaen. Yr oedd holl hanfodion pregethwr poblogaidd yn cydgyfarfod ynddo. Yr oedd rhyw beth yn ei ymddangosiad, pan y safai yn y pwlpud, yn cymeryd perchenogaeth o'r gyn-

[redacted]



ulleidfa yn ddiarwybod iddi ; ac wedi iddo agor ei enau, yr oedd yn sicr o gadw meddiant o honi. Yr oedd o athrylith naturiol rymus iawn. Yr oedd delw gwreiddioldeb ar bob peth o'i gylch—yn *feddyliwr* gwreiddiol—yn *gynlluniwr* gwreiddiol—ac yn *draddodwr* gwreiddiol. Nid amcanodd ddilyn neb, ond torodd allan lwybr iddo ei hun—"rhodiodd lwybr disathr." Yr oedd ganddo feddwl galluog i greu ; ac yr oedd ynddo ddigon o wroldeb i ddwyn ei greadigaethau i'r golwg. Nid oedd byth yn ymofyn a ddywedodd rhyw un hyn o'i flaen. Yr oedd yn ddeddf iddo ei hun. Ac yr oedd codiad John Jones yn ddechreuad cyfnod newydd yn nodwedd gweinidogaeth y Corff parchus i'r hwn y perthynai. Gwnaeth fwy na neb arall i wrthweithio llif Antinomiaeth, a newid tôn y weinidogaeth yn eu plith. Yr oedd yn ymddangos wrth ei fodd yn ymlid ar ol pechaduriaid—chwalai eu holl wrthddadleuon—boddai eu holl lochesau—gyrai hwy o'u holl noddfeydd —a llosgai eu holl glustogau. Yr oedd fel wedi diofrydu, os marw yn eu hanghrediniaeth a fynent, y caent farw heb un gobenydd i bwyso arno. Ac wedi pregethu yr egwyddorion yma yn y pwlpud, a dyfod i lawr i dŷ y capel, amddiffynai ei weinidogaeth yn ngwyneb hen flaenoriaid anwybodus a rhagfarnllyd, a phregethwyr culion eu heneidiau, a gymerent arnynt fod yn angylion gwarcheidiol yr athrawiaeth. Erbyn hyn, y mae gweinidogaeth y Methodistiaid mor rhydd a chymhelliadol ag eiddo un enwad yn y Dywysogaeth. Ond John Jones, yn benaf, dorodd y garw ; ac yr oedd yn rhaid cael dyn o alluoedd cryfion—o ysbryd annibynol—o wroldeb disigl —ac o ddoniau poblogaidd, i wneyd hyny ; ac yr oedd y cwbl yn cyfarfod ynddo ef.

Yr ydym yn cofio yn dda rai o'i bregethau gorchestol bum' mlynedd a'r hugain yn ol, a'r dylanwad nerthol fyddai yn cydfyned â hwy. O ! y mae ei swn yn ein clustiau y munyd yma, a'r hen olygfeydd yn ymrithio o flaen ein llygaid pan yn ysgrifenu. Rhoddodd argraff ddyfnach o'i fawredd ar ein meddwl ni nag un pregethwr a wrandawsom erioed. Nid

ydym yn dyweyd mai efe oedd y mwyaf, ond yn unig na lwyddodd neb i adael yr un argraff ar ein meddwl ni ag a wnaeth efe. Gall fod hyny yn cyfodi oddiar ein hadnabyddiaeth o hono—y ffaith mai efe oedd hoff bregethwr ein mebyd—yn nghydag i ni ddigwydd lawer gwaith ei glywed ar ei uchelfanau, yr hyn ni buom mor ffodus gydag amryw eraill o gewri y pwlpud Cymreig. Pa fodd bynag, rhwng pob peth, gadawodd argraff ar ein meddwl ni mai efe oedd tywysog pregethwyr ei oes. Ac yn wir, wedi adystyriaeth, a dyfod i oedran aeddfetach, nid ydym yn gweled llawer o achos i ni newid ein cred. Ni chlywsom neb erioed yn dyfod mor agos i'r dychymyg sydd genym ni beth ddylai pregethu yr efengyl fod. Yr oedd bywyd yr efengyl ganddo am fywyd ei gwrandawyr.

Wedi i ni fod am flynyddau lawer heb gael cyfle i'w glywed, daeth Cymdeithasfa i Gaerfyrddin; ac yn mysg y dyeithriaid a ddysgwylid, yr oedd *John Jones, Llanllyfni.* Yn wir, John Jones oedd y cwbl. Nid oedd dim son am neb *arall,* na neb yn ymofyn neb arall wedi cael sicrwydd ei fod *ef yn dyfod.* Ni bu yr un plentyn ysgol erioed yn fwy awyddus am weled y gwyliau i gael myned adref nag oeddym ni am weled y Gymanfa hono, a hyny yn unig er mwyn clywed John Jones. Daeth y Gymanfa, a daeth yntau iddi. Yr oedd amryw Weinidogion Annibynol wedi dyfod o gryn bellder er mwyn ei glywed; ac yr oeddym wedi canmol cymaint arno wrthynt, fel yr oeddym yn gobeithio y deuai allan ar ei oreu. Cynelid y Gymanfa yn y Farchnad Newydd, lle digon anghyfleus i bregethu a gwrando Yn yr oedfa ddeg o'r gloch, ar "ddydd mawr yr wyl," yr oedd yno dorf luosog wedi dyfod yn nghyd; ac ar ol pregeth fer, fywiog, cododd John Jones i fyny. Dacw fe—yn sefyll yn lled syth, gan ymafael â'i ddwylaw yn yr astell sydd o dan y Beibl, ac yn cadw ei lygaid ar y llyfr, oddigerth ei fod yn achlysurol, yn taflu cip-drem i'r dde neu i'r aswy. Mae y dorf fawr yn ymlonyddu—y crwydwyr yn sefyll—y rhai oedd bell yn nesau—mae pawb mor ddystaw a'r

[redacted]



bedd—y Gweinidogion ar yr esgynlawr oll ar eu traed, oddigerth ambell i hen ben eiddigus sydd yn edrych yn drwynsur iawn. Mae y dorf yn estyn eu penau yn mlaen, gan glustfeinio am y testyn. Mae yn hawdd deall yn mhryder ac awydd y miloedd fod etholedig y dyrfa wedi codi i lefaru. Ust! Dyna fe yn darllen ei destyn mewn cywair isel, ac eto rhoddai allan gorff cryf o lais dwfn, clir, gan acenu yn bwyllog a phwysleisiol, "Canys pa lesad i ddyn os ynill efe yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun?" Hen destyn cyfarwydd, mae yn wir; ond y mae rhywbeth yn ei ddull dylanwadol o'i ddarllen yn peri i ni ddysgwyl rhywbeth newydd arno. Byr iawn oedd ei ragymadrodd, byrach o lawer na chyffredin. Daeth rhagddo i wneyd y sylw pwysfawr, FOD COLLI YR ENAID YN GOLLED FAWR. Nid oedd yn rhoddi un awgrym i'r gynulleidfa ei fod yn myned i gymeryd hyny fel mater ychwaith. Yr oedd rhywbeth yn ei ddull yn llwyddianus iawn i gelu pob peth tebyg i gyfansoddiad; ac eto yr oedd ganddo gyfansoddiad, a chyfansoddiad gorchestol hefyd. Disgynodd ar ei fater ar y dechreu, a glynodd gydag ef hyd y diwedd, gan gadw y pethau cryfaf yn olaf. I ddangos *fod colli yr enaid yn golled fawr*, cymerai olwg, i ddechreu, ar werth yr enaid. Ymdrodd yn hir gyda hyn. Ymresymai werth yr enaid oddiwrth gywreinrwydd y corff. Triniai y corff fel peiriant rhyfedd ac ofnadwy—manylai ar bob rhan o hono, ac yr oedd ei sylwadau arno yn fywiog a difyrus, y fath ag a greai wên siriol ar wyneb y gynulleidfa oll, ac yntau wrthi yn araf hwylio y dorf i dymer dda. Ymddangosai fel ar ei oreu am enill eu serch, a myned i'w mynwes; ac eto nid anhawdd oedd canfod fod ganddo rywbeth heblaw eu boddio mewn golwg.

Wedi darlunio y corff yn ei wahanol ranau, dywedai, "Wel, 'rwan, os ydyw y corff mor werthfawr, beth feddyliech chi am yr enaid? os ydyw y babell wnaed iddo i fyw dros ychydig amser yma mor ardderchog, beth dybiech chi raid fod y preswylydd sydd oddifewn?" A daeth yn mlaen, o radd i radd, yn ymgodi yn uwch,—uwch, i ddangos gwerth enaid. "Ond,

ond," meddai o'r diwedd, "i ba beth yr ydw i yn ymdroi fel hyn gyda rhyw is-brofion; os mynwch chi olwg glir ar unwaith ar werth enaid, ewch i Galfaria i weled pris prynedigaeth yr enaid—yr Iawn anfeidrol roddwyd yno dros yr enaid." Ar hyn, gwefreiddiai ei eiriau y gynulleidfa. Mae cawod ysgafn o ddagrau yn myned dros y dorf; ond y mae pregethwr fel yn ymatal—yn codi y fflodiardau i rwystro y llifeiriant yn mlaen; yn galw ei hyawdledd yn ol; a chan daflu ei lais i daflod ei enau, yn anadlu gweddi fer, "O Arglwydd! dangos i'r bobl yma werth eu heneidiau." Ac mewn eiliad, dyna filoedd o Amenau yn ysgwyd y gynulleidfa. Mae yna bawb yn cymeryd eu hanadl—y dagrau yn cael eu sychu—y dorf yn adfeddiannu ei hun i wrando—a phob un yn gwenu ar ei gyfaill, i ddangos eu bod yn mwynhau y wledd. Ac wedi i'r pregethwr, yntau, gael ei anadl, ac ystwytho ei beirianau llafar, trwy ryw ymgarthiad, â yn mlaen, fel un yn teimlo fod y gynulleidfa fawr oll yn ei law.

Mae yn brofedigaeth i ni geisio tynu darlun o ryw gymeriadau adnabyddus i ni yn y dorf, ond y mae ein *terfynau yn* rhy gyfyng; ond nis gallwn ymatal heb gyfeirio at un a dynodd ein sylw neillduol. Hen weinidog o enwad arall ydoedd, a ddaeth yn mysg eraill er mwyn clywed John Jones. Yr oedd yr olwg arno yn batriarchaidd, ei wallt agos yn wyn i gyd. Mae yn araf ymsymud â'i ddwylaw yn ol, ac yn amneidio ar hwn a'r llall i ddangos y boddhad y mae yn ei gael. Mae yr egwyddorion yr un ag y bu ef ei hun am lawn deugain mlynedd yn eu pregethu, ac y goddefodd lawer o wawd a dirmyg o'u herwydd; ac y mae yn mwynhau wrth glywed yr un golygiadau yn cael eu pregethu mor groew gan un o brif ddynion y bobl fu flynyddau cyn hyny yn ei gyhoeddi ef fel heretic oblegid eu pregethu. Gwyddem wrth ei wyneb nas gallasai gael gwell gwledd; ac o'r diwedd yr oedd wedi araf symud hyd atom, ac meddai, gan ysgwyd ei ben, "Mae e' yn dyweyd yn anwyl,—hyfryd," ac yn fuan aeth ymaith, a bron heb yn wybod iddo ei hun yr oedd wedi amgylchu y dorf. Esgusoded

[redacted]



ein darllenwyr ni am y llam yma a roisom; gwnaethom ef i ddangos y swyn oedd gan y pregethwr ar y dorf; a dyma ni yn dychwelyd i fyned yn mlaen.

*Fod colli yr enaid yn golled fawr.* Oddiyna y mae y pregethwr yn cychwyn, ac i'r fan yna y mae yn dychwelyd; dyna ei osodiad, a dyna ei gasgliad—yna y mae yn dechreu, ac yna y mae yn diweddu. Ymgodai o radd i radd—dringai yn uwch, uwch, a'i sylwadau yn cryfhau wrth fyned rhagddo; ac wedi myned heibio i lawer o bethau sydd yn dangos fod colli yr enaid yn golled fawr, daeth at y sylw—

*Colled ydyw y bydd ei holl ganlyniadau yn disgyn ar un.* Darluniai gwmniau y byd yn cyfarfod â cholledion, ond fod yno lawer i gydymgynal dan y golled; fel, er ei bod yn fawr, na theimlir cymaint oddiwrthi, gan ei bod rhwng llawer. "*Ond,*" meddai, "enaid anwyl! os colli di dy enaid, fe fydd y golled i gyd yn disgyn arnat ti dy hun. Chei di yr un cythraul nac enaid damnedig i'th helpu dani—fydda nhw yn golledig fel tithau." Fflamai ei lygaid—rhuai ei lais—a rhwygai ei floedd gyda'r geiriau yna; ac yr oedd sefyll y fath gawodydd o hyawdledd ofnadwy yn ormod i gnawd, oni bai i'r pregethwr roddi cyfle i'r bobl gael eu hanadl, tra gollyngai allan bwt o weddi, "O Arglwydd! dangos i'r bobl yma berygl colli enaid."

Mae y pregethwr yn dirwyn yn mlaen—mae ei waed yn poethi—ei ysbryd yn bywiogi—ei deimlad yn dwysâu—ei lais yn chwyddo—a'i hyawdledd yn cyflymu. Mae difrifwch i'w ddarllen yn ngwyneb y dorf; mae colli neu gadw enaid wedi llyncu pob peth arall.

"*Fod colli enaid yn golled fawr.*" Ust! mae rhywbeth ofnadwy gan y pregethwr i'w ddyweyd yn awr. Mae yn ofni nad yw pawb o'r gynulleidfa ddim yn ddigon difrif-ddwys, oblegid hyny, mae yn ail ddyweyd, "*fod colli enaid yn golled fawr!! oblegid colled o esgeusdra fydd!!* Mae y dorf yn ochain, ac yntau yn ail ddyweyd, mewn llais dwfn, dwys, haner crynedig, *Colled o esgeulusdra fydd!!* Mae yn darlunio

plentyn wedi llosgi i farwolaeth trwy esgeulusdra ei rieni, a'r teimladau alaethus sydd yn llenwi calonau y tad a'r fam. Mae y plentyn yn cael ei bortreiadu gyda'r fath fywiogrwydd a phriodoldeb, fel y mae pawb yn gweled y fflamau yn ymdorchi o'i gwmpas, y tad yn ei godi yn ei freichiau, y fam yn tynu ei gwallt yn ei gwallgofrwydd, y deigryn gloew wedi sefyll ar rudd y plentyn, yr olygfa yn ymrithio o'u *blaen* yn mhen ugain mlynedd ; ond dyna sydd fel taran yn rhwygo y fynwes, esgeulusdra wnaeth y cwbl. Mae ocheneidiau y tad a'r fam yn disgyn ar glust y dorf, ac y mae yr adsain yn para —esgeulusdra wnaeth y cwbl. Mae y lle mewn gwirionedd yn ofnadwy. Mae yna filoedd o ocheneidiau yn codi o galonau, a miloedd o wynebau yn wlybion gan ddagrau. Nid oes amser gan neb i edrych o'i gwmpas ; nid oedd neb yn gwenu ar ei gyfaill. Mae ein hen gyfaill oedd yn araf ymsymud, yn awr yn sefyll fel delw, a'i lygaid fel dwy ffynon, yn gollwng eu ffrydiau gloewon. Mae pob llygad yn tremio ar y pregethwr, a phob clust wedi ei hoelio wrth ei wefus. Mae yna bawb yn ymddangos wedi anghofio pob peth ond *yr enaid,* ac arswyd colli yr enaid sydd lon'd pob mynwes. Yn nghanol y teimladau ofnadwy yna ar y gynulleidfa, mae y pregethwr, fel dyn Duw, yn sefyll mewn hunan-feddiant perffaith, ac ymddengys yn benderfynol o fynu meistrolaeth lwyr arnynt. Casgla ei holl nerth—mae difrifoldeb seraffaidd ar ganwyll ei lygaid—mae rhyw danbeidrwydd uwch-ddynol yn ei wynebpryd—teifl ei lais cryf yn ol i'w wddf, ac â rhyw floedd ddofn, gynhyrfus, gwaeddai, "*Ow! Ow! bobl anwyl, colli yr enaid o esgeulusdra!!*" nes y mae y dorf wedi ei gorchfygu, a'r pregethwr fel yn ymfoddhau yn ngoruchafiaeth yr efengyl. Ond nid ymddengys fod y pregethwr eto wedi cyrhaedd ei amcan, ac y mae yn mhell o roddi allan ei nerth. Mae plygiau yn ei ddawn eto heb eu dwyn i'r golwg. Mae yna seiniau yn ei lais eto heb eu rhoddi allan ; y dwfn, y dwys, y difrifol ; gweinidogaeth y lladd sydd wedi bod hyd yma, ac y mae wedi gwneyd hyny yn effeithiol hefyd.

[redacted]



Aroswch! Dacw y pregethwr fel yn cymeryd ei anadl, ac mewn eiliad mae ei wyneb yn sirioli, ei lygaid yn bywiogi, a'i ysbryd yn ysgafnhau. Mae yn amlwg yn ei wyneb fod ganddo genadwri hedd i'w chyhoeddi. Mae, ar ol gwasgu y dorf i gongl, am ddangos iddynt ddrws gobaith—ar ol eu lladd, am ddangos man iddynt i gael bywyd. Mae yn codi ei lais i gywair uwch, ac âg un fanllef beraidd yn gwaeddi, "*Mae modd cadw yr enaid.*" Mae y floedd yn gweithio fel trydan trwy y dorf, ac ugeiniau ar unwaith yn gwaeddi, "O diolch!" "Bendigedig!" &c. Ailgasglai yntau ei nerth; taniai ei holl enaid. Mae ei lais yn fwy swynol a thoddedig nag o'r blaen, a rhydd floedd beraidd dros ben, uwch o lawer na'r gyntaf, "MAE MODD CADW YR ENAID." Erbyn hyny yr oedd y dorf wedi ei gorchfygu; pob cylch wedi dryllio; pob cadwen wedi tori; llestri llawer o'r hen seintiau yn llifo dros yr ymylau; banllefau gorfoledd o gylch yr esgynlawr; hen wŷr a hen wragedd â'u lleisiau cryglyd yn molianu Duw; ac er uched oedd llais y pregethwr, mae llais y bobl yn uwch. Dechreuodd yntau ganmol ac ymollwng gyda hwy, a rhoddai hergwd i'r bobl sydd yn cwyno fod "y gogoniant yn ymadael;" a chyfeiria at agwedd y dorf, gan ddyweyd, "Os oedd o yn ymadael, ei fod yn ymadael yn rhyfedd iawn." Ac yn y teimlad gorfoleddus hwnw y terfynwyd yr oedfa.

Ni welsom bregethwr erioed yn cario meistrolaeth lwyrach ar gynulleidfa fawr nag a gariodd John Jones y boreu hwnw. Ond! beth dâl siarad? mae ei hyawdledd wedi dystewi yn angeu.

"O ardderchawgrwydd Israel!
Pa fodd y cwympodd y cedyrn?"

# CREFYDD GYMDEITHASOL CYMRU.

CYMRU—CREFYDD CYMRU—CREFYDD GYMDEITHASOL CYMRU.

*Cymru.*—Darn o dir ydyw ar yr ochr orllewinol i Ynys Prydain. Terfynir ef yn ogleddol gan Fôr yr Iwerddon—yn orllewinol gan *St. George's Channel*—yn ddeheuol gan y *Bristol Channel*—ac yn ddwyreiniol gan Siroedd Caerloyw, Henffordd, a'r Amwythig. Nid yw ond llain fechan, gul, yn ymyl y byd mawr, llydan. Mesurir ei hŷd o Gaergybi yn Môn, i i Gaerdydd yn Morganwg; a'i led o Lanandras yn Maesyfed, i Dyddewi yn Mhenfro; ac y mae yn agos i 8,000 o filldiroedd ysgwar.

Rhenir Cymru i ddwy adran, Gogledd a De; a'r adranau hyn i dair ar ddeg o Siroedd, chwech yn y Gogledd a saith yn y De;* yn cynwys poblogaeth, yn ol y cyfrif *diweddar*, o 1,286,266; fel y canlyn:

| | | |
|---|---|---|
| Môn,.............................. | 54,546 | |
| Arfon,.............................. | 95,668 | |
| Dinbych,.............................. | 100,862 | |
| Fflint,.............................. | 69,870 | |
| Meirion,.............................. | 38,888 | |
| Maldwyn,.............................. | 67,075 | |
| | | 426,909 |
| Brycheiniog,.............................. | 61,627 | |
| Aberteifi,.............................. | 72,250 | |
| Caerfyrddin,.............................. | 111,757 | |
| Morganwg,.............................. | 317,551 | |
| Mynwy,.............................. | 174,670 | |
| Penfro,.............................. | 96,093 | |
| Maesyfed,.............................. | 25,409 | |
| | | 859,357 |
| Cyfanswm,.................... | | 1,286,266 |

* Yr ydym yn cymeryd Sir Fynwy i mewn, a byddwn yn gwneyd hyny trwy gorff yr ysgrif.

[redacted]



Sir Faesyfed yw y leiaf ei phoblogaeth o holl siroedd Cymru, a Sir Forganwg yw y fwyaf. Mae Morganwg yn cynwys yn agos i un ran o bedair o holl boblogaeth Cymru. Nid yw o fewn ein terfynau, nac yn gydweddol â'n hamcan presenol, i gymeryd golwg ar arwedd allanol nac adnoddau mewnol ein gwlad, yn ddim pellach nag y mae a wnelo hyny âg esbonio nodwedd ei phreswylwyr. Mae gan olygfeydd naturiol gwlad, a galwedigaethau ei phobl, ddylanwad yn nadblygiad cymeriad, a ffurfiad arferion cenedl. Gwlad fynyddig yw Cymru. Mae/yn wir fod genym ddyffrynoedd tlysion Clwyd, a Thowy, ac Wysg, ac eraill; a Bro fras Morganwg a elwir yn briodol yn "Ardd Cymru;" ond er hyny, os edrychir ar y Dywysogaeth drwyddi, ceir mai mynydd-dir ydyw. Ac y mae hyny wedi bod yn ffafriol i feithriniad yr awen, o'r hon y mae y Cymry mor hoff; ac i efrydu Duwinyddiaeth, dros yr hyn y mae ein cenedl mor selog. Y mynydd-dir sydd yn magu glewion. Cyrff ac nid meddyliau a fegir fynychaf ar y broydd breision. Mae y creigiau ysgythrog—y gelltydd gwylltion—y rhaiadrau trystfawr—a'r mynyddoedd uchel, ar y rhai y gorphwysa y cymylau wrth grwydro yn lluddedig dan eu beichiau trymion, oll yn meddu gallu i gryfhau galluoedd, ac awchio meddyliau y rhai a ddygir i fynu yn eu canol. Er hwyrach y ceir llawer o erwinder ynddynt, eto y mae nerth a chryfder yn ngewynau eu heneidiau. Y mae yr Ysgotiaid yn engraifft nodedig o hyn. Ac y mae hoffder o'r cryf a'r aruchel yn un o nodweddion arbenig y meddwl Cymreig; mor gryf yw y teimlad hwn, yn wir, fel yn aml y twyllir llawer â geiriau cryfion, mawrion, er na byddo yn oblygedig ynddynt ond meddyliau egwein a dinerth; os, yn wir, y bydd yno feddwl o gwbl.

Ac y mae dylanwad y golygfeydd hyn i'w ganfod hefyd yn nwysder a thrymder ein cenedl. Nid pobl wyllt, wamal, wibiog ydyw y Cymry; ond yn hytrach tueddant at y dwys, y difrifol, y prudd, y dywedwst, ac y mae gan y lleddf a'r galarus gryfach dylanwad arnynt nag sydd gan y llon a'r siriol.

Mae yn wir fod hyn yn fwy priodol i'r Gogledd nag i'r De; ond y mae yn briodol i fesur i'r naill a'r llall; ac yn fwy felly yn y naill a'r llall i'r rhai fagwyd yn y rhanau uchaf a mwyaf mynyddig o'r Dywysogaeth.

Ond rhaid i ni gofio nad chwilio i elfenau a theithi y genedl Gymreig yw ein hamcan, rhaid i ni gan hyny frysio at

*Grefydd Cymru.*—Mae elfenau hanfodol crefydd yr un yn mhob oes a gwlad. Yr un peth oedd ofn yr Arglwydd yn nghalon "Abel gyfiawn" yn moreu y byd, ac yn nghalon y bachgen duwiol yn yr oes hon. Trwy yr un drefn y cyfiawnhawyd "Abraham ffyddlon" yn Mesopotamia, ag y cyfiawnheir y credadyn rhwng mynyddoedd Cymru. Mae ffydd, ac ufudd-dod, ac ofn yr Arglwydd, yn hanfodol i grefydd bob amser. Ond y mae ffurf gymdeithasol crefydd yn gwahaniaethu mewn gwahanol wledydd ac oesau.

Y ffurf deuluol oedd y gyntaf ar grefydd yn gyhoeddus. Pob penteulu i fod yn offeiriad i'r Arglwydd yn ei deulu. Helaethwyd terfynau crefydd i gylch ëangach, nes y daeth crefydd yn beth cyhoeddus a chymdeithasol; ac felly y mae yn parhau hyd yma mewn gwahanol agweddau. Ond gwisg crefydd ydyw y ffurf. Y mae hanfod crefydd yn aros yr un, beth bynag fyddo y wisg am dano. Mae yn wir y gall gwisg wneyd llawer er gosod y dyn allan. Mae yr un dyn yn ymddangos yn wahanol iawn mewn gwisg lân, brydferth, drwsiadus, rhagor y peth oedd yn y wisg fudr, lom, garpiog. Mae y gwahaniaeth yn gymaint fel mae prin y gellid meddwl mai yr un ydyw. Felly hefyd y mae ffurf gymdeithasol crefydd mewn gwahanol oesau a gwledydd yn peri iddi edrych yn bur wahanol: mor wahanol yn aml fel yr amheua ambell un ai yr un ydyw. Goreu pa berffeithiaf y byddo ffurf ein crefydd, er mai yspryd y peth byw ynddi sydd yn gosod gogoniant arni.

Ac y mae hyn yn briodol nid i grefydd yn unig, ond i gymdeithas yn gyffredinol. Mae holl genhedloedd gwâr ac anwar y ddaear yn cytuno ar delerau hanfodol bywyd; ond y mae gwahaniaeth mawr rhwng sefyllfa yr Affricaniad gwyllt yn

[redacted]



nghysgod y llwyn yn yr anialwch diffaeth, ac eiddo y Prydeinwr diwylliedig sydd yn ei balas gorwych yn mwynhau cysuron cymdeithas wareiddiedig. Ac nid hyny yn unig, ond y mae arferion cymdeithasol gwledydd gwareiddiedig yn wahanol iawn, mor wahanol, yn wir, fel y mae yr hyn a gyfrifir yn gyfleusterau a chysuron yn y naill yn cael edrych arnynt yn anghyfleusterau ac anfanteision yn y llall. Felly hefyd y mae gan bob gwlad Gristionogol ei ffurf neillduol o ddwyn crefydd yn mlaen ; er mai yr un Duw a addolir—yn yr un Crist y credir—ac i'r un wlad y maent oll yn cyfeirio.

Mae gwahaniaeth mawr rhwng ffurf crefydd gymdeithasol Cymru ac eiddo yr Alban, a rhwng dull dygiad crefydd yn mlaen yn Lloegr ac yn America. Ac nid gwahanol enwadau sydd yn amrywio, ond y mae yr un enwad yn gwahaniaethu mewn gwahanol wledydd ; ac hyd yn nod yn yr un wlad, y mae gwahanol enwadau yn gwahaniaethu ychydig, a'r un enwad yn wahanol yn y naill gwr o honi rhagor yr hyn ydyw yn y llall ; fel mai gorchwyl lled anhawdd ydyw tynu darlun o grefydd gymdeithasol gwlad fechan fel Cymru. Mae gan neillduolion cenedlaethol—sefyllfa addysg—arferion cymdeithasol—a chyfleusterau lleol, oll ddylanwad cryf ar ffurf gymdeithasol crefydd gwlad.

Ar yr un pryd y mae rhyw linellau cyffredinol yn nodweddu crefydd cenedl, fel yr eiddo y genedl ei hunan, wrth y rhai y gellir yn lled gywir ffurfio barn ar y mater. Amcanwn fod yn deg ac anmhleidiol wrth ymdrin â chrefydd gymdeithasol Cymru. "Dewiswn i ni farn ; gwybyddwn rhyngom pa beth sydd dda."

Mae yn deg i ni wrth gychwyn grybwyll mai âg Ymneillduaeth Cymru y bydd a fynom. Ni fynem drwy hyny awgrymu nad oes crefydd yn ein gwlad y tuallan i gylch Ymneillduaeth ; oblegid gwyddom yn amgen, fod engreifftiau nodedig o grefydd bur yn bersonol, a gweithgarwch mawr yn gymdeithasol, i'w cael o fewn terfynau yr Eglwys Sefydledig. Ond gwyr pawb mai cenedl o Ymneillduwyr ydym ; mai gwlad

Ymneillduaeth yw Cymru; a bod gogwyddiad naw o bob deg o'r boblagaeth, ag y mae rhywbeth a fynont â chrefydd, at yr Ymneillduwyr. Heblaw hyny, pa faint bynag o weithgarwch ac ymroddiad cymdeithasol sydd yn offeiriad ac aelodau yr Eglwys Sefydledig yn ein gwlad, oddiwrth yr Ymneillduwyr y maent wedi ei gopïo; yn ol traed *Ymneillduaeth* y maent yn rhodio; oblegid tra y cafodd y grefydd sefydledig y wlad yn gwbl iddi ei hun, yr oedd "tywyllwch yn gorchuddio y ddaear, a'r fagddu y bobloedd;" felly wrth ddarlunio crefydd gymdeithasol Ymneillduwyr Cymru, byddwn hefyd yn dangos y modd y gweithia hyny o grefydd gymdeithasol sydd yn yr Eglwys Sefydledig. Dichon nad anfuddiol fyddai i ni yn gyntaf gymeryd golwg ar

*Ystadegaeth grefyddol Cymru.*

Gorchwyl anhawdd iawn ydyw cael Ystadegaeth gywir o un peth yn ein gwlad. Hyd yn ddiweddar yr oeddym yn fwy ar ol yn hyn nag yn un peth arall; ond trwy *ymroddiad* caled ychydig o bersonau gyda'r gwahanol enwadau, *llwyddwyd* i gael cyfrif cywirach na dim a gafwyd erioed o'r blaen o sefyllfa yr Eglwysi. Nis gallwn warantu cywirdeb y Taflenau sydd yn canlyn; ond cymerwyd hwy o gyfrifon cyhoeddedig diweddaraf y gwahanol enwadau, a lle nad oedd cyfrif llawn, neu lle yr oeddym mewn petrusder, ymofynwyd â'r personau tebycaf yn mhob enwad i fod yn gwybod. Nid ydynt o bosibl yn hollol gywir, ond yr ydym yn sicr eu bod mor gywir am y naill enwad a'r llall; ac na cheisiwyd chwyddo y naill na lleihau y llall. Pell oddiwrthym fyddo cyfrif y bobl mewn ysbryd plaid. Nid oes dim ag y mae mwy o gamsyniad yn ei gylch na rhif ein Heglwysi a'n cynulleidfaoedd. Ar antur yn aml y mae dynion yn rhoddi eu cyfrifon; ac y mae cynulleidfaoedd yn myned bob amser yn llai wrth eu cyfrif nag y meddyliwyd eu bod. Ein barn bersonol ydyw, fod llawer iawn o fanau yn cyfrif eu nifer uwchlaw yr hyn ydynt mewn gwirionedd, ac ambell i Eglwys yn cyfrif ei haelodau yn fwy nag a all

apel ei gynwys; ond nid oes a fynom ni â hyny yma. ɔn fod y cyfrif ar y cyfan mor agos i gywirdeb ag y gellir ɘl.

lem grybwyll yn y fan yma hefyd, mai â Chymru yn ɣ mae a fynom. Nid ydym yn cymeryd i mewn yr ach-Cymreig yn y trefydd Seisnig. Nid â chrefydd y Cymry bynag y ceir hwy y mae a fynom, ond â chrefydd gym-asol Cymru; ac yr ydym yn cynwys y Saeson yn Nghym-gystal a'r Cymry.

d yw dosbarthiad crefyddol y Siroedd ychwaith yn hollol a'r dosbarthiad daearyddol. Mae y gwahanol enwadau llunio y siroedd at eu cyfleustra. Y dosbarthiad enwad-d genym ni. Y mae yn gwneyd y cyfanswm yn y diw-n hollol yr un peth. Yr ydym yn dweyd hyn i atal pob lealltwriaeth.

| Siroedd. | Annibynwyr | Bedyddwyr. | T. Calfinaidd | T. Wesleyaid. |
|---|---|---|---|---|
| eifi, | 11658 | 2304 | 13093 | 1480 |
| ), | 8248 | 9152 | 2580 | 1135 |
| rddin, | 15774 | 8758 | 6257 | 840 |
| nwg, | 23861 | 17147 | 9986 | 3935 |
| y, | 7469 | 9803 | 2628 | 3062 |
| ɘiniog, | 3775 | *3048 | 2300 | 400 |
| fed, | 450 | | 510 | 479 |
| yn, | 4180 | | 5388 | 3360 |
| n, | 3611 | †3932 | 10763 | 1285 |
| ch, | 3587 | | 7607 | 3745 |
| | 1648 | 539 | 6457 | 1864 |
| | 7095 | 1327 | 16465 | 2125 |
| | 3587 | 2282 | 10932 | 1250 |
| | 95952 | 58292 | 94996 | ‡24960 |

—

ɩe Brycheiniog, Maesyfed, a Maldwyn yn cael eu cynwys yn yn ngyfrif yr Hen Gymanfa.

ɩe Dinbych a Meirionydd yn cael eu cysylltu yn nghyd.

ı Gylchdeithiau ac nid yn Siroedd y mae y Wesleyaid yn rhanu l; ond credwn fod y cyfrif uchod yn decach iddynt na chof-ı y *Conference* am 1862.

| Enwadau. | Cap-eli. | Gweini-dogion. | Aelodau. | Gwranda-wyr. | Ysgolorion Sabbothol. |
|---|---|---|---|---|---|
| Annibynwyr, ........ | 802 | 405 | 94952 | 102400 | 86483 |
| Bedyddwyr, ........ | 508 | 322 | 58292 | 54000 | 49453 |
| Methodistiaid,......... | 908 | 288 | 94996 | 165400 | 134157 |
| Wesleyaid,............ | *510 | 118 | 24960 | 22000 | 20000 |
| Trefn. Cyntefig,....... | 100 | † .. | .. | 10000 | .. |
| Diwygwyr Wesleyaid... | 45 | .. | .. | 2250 | 2000 |
| Undodiaid............ | 30 | 20 | .. | 5000 | .. |
| Crynwyr,............ | 7 | .. | .. | .. | .. |
| | 2910 | 1152 | 273200 | 361050 | 292093 |

Yn ol y Tafleni uchod, gwelir fod gan Ymneillduwyr Cymru 2,910 o Gapeli—1,152 o Weinidogion, ac o gylch yr un nifer o Bregethwyr cynorthwyol—273,200 o aelodau—361,050 o wrandawyr—a 292,093 o ysgolheigion yn eu Hysgolion Sabbothol, dan ofal ac addysg rhyw 40,000 o athrawon ac athrawesau llafurus · a hunanymwadol Gwelir gan hyny fod dros un ran o bedair o'r boblogaeth yn dal cysylltiad uniongyrchol âg Ymneillduaeth, naill ai fel aelodau neu ysgolheigion Sabbothol.

Yn y Gogledd yn gyffredinol y Methodistiaid *Calfinaidd* sydd luosocaf o lawer. Y maent wedi cymeryd gafael gref dwfn ar y wlad oll; ond yn Mon ac Arfon y maent yn teyrnasu. Y maent yn lluosocach yno na'r holl enwadau eraill yn nghyd. Yr unig Sir yn y De lle y maent yn gryfach nag un enwad arall ydyw Sir Aberteifi. Mae un ran o'r Sir hono agos yn llwyr yn eu meddiant. Yr ochr uchaf o Lanbedr trwy Langeitho i fynu hyd Bontrhydfendigaid, ac i lawr hyd Aberystwyth. Methodistiaid ydynt agos oll. Mae gan y Bedyddwyr a'r Wesleyaid rai achosion yno, ond bychain a di

* Nid ydym yn hollol sicr, ond o gylch, gan gynwys y Capeli a'r ystafelloedd i bregethu.

† Nid ydyw y darllenydd i dybied nad oes Gweinidogion gan y Trefnyddion Cyntefig, a'r Diwygwyr Wesleyaidd; ond methasom â chael eu cyfrif, a gwell oedd genym eu gadael allan na rhoddi amcan gyfrif. Am yr un rheswm y gadawsom allan rif eu haelodau hwy ac eiddo yr Undodiad; yn gystal a nifer eu Hysgolion Sabbothol.

[redacted]



nerth ydynt. Yr oedd hen Eglwysi Annibynol yn Llwynpiod ac Abermeurig er dyddiau y Puritaniaid; ac yr oedd yno hen Weinidog dysgedig, boneddigaidd, a duwiol, o'r enw Phillip Pugh, pan y torodd Rowlands, Llangeitho allan. Yr oedd Rowlands ac yntau yn gyfeillion mawr, a chyfeiriai bob amser at enw Mr. Pugh gyda pharchusrwydd neillduol. Wedi marw Mr. Pugh, daeth y Parchedig Thomas Gray yn Weinidog i Lwynpiod ac Abermeurig; ffurfiodd ef gysylltiad agosach â Rowlands a'r Diwygwyr Methodistaidd. Pregethai ef yn eu capeli hwy, a phregethent hwythau yn ei gapeli yntau; ac er iddo barhau yn Annibynwr, ac arferai hyd ddiwedd ei oes ddilyn eu Cymanfaoedd; eto pan fu ef farw, yr oedd ei bobl wedi ymddieithrio oddiwrth yr Annibynwyr, a ffurfio cyfathrach â'r Methodistiaid, fel y dymunasant ar ol ei farwolaeth ymuno yn llwyr â'r Cyfundeb; ac felly collodd yr Annibynwyr yr unig achosion oedd ganddynt yn y rhan hon o'r wlad; ac nid ydym yn gwybod iddynt byth wneyd cynyg i adfeddianu y tir.

Yn y De yn gyffredinol yr Annibynwyr sydd gryfaf; ond yn Siroedd Caerfyrddin a Morganwg y mae eu mawr nerth. Dywedodd un o Weinidogion ffraeth y Methodistiaid wrth gyfaill o'r Gogledd unwaith, "fod yr Annibynwyr mor lluosog, o Gaerfyrddin i Lanfyrnach, ac o Gastellnewydd i Narberth, nad oes ond un yn y nefoedd a wyr eu rhifedi." Nid yw yn hollol felly ychwaith, er fod y darn ëang hwnw gan mwyaf yn eu meddiant.

Yn Mhenfro a Mynwy y Bedyddwyr sydd luosocaf. Mae darn mawr o wlad rhwng Abergwaun a Hwlffordd, lle y mae eu gorsedd yn Sir Benfro. Trwy y Dehau oll, y maent yn blaid gref a dylanwadol iawn; ond yn y Gogledd agos oll nid yw eu hachosion ond egwan.

Mewn rhai parthau o'r Gogledd y mae y Wesleyaid yn lled gryfion. Yn Ninbych a Fflint y maent yn ail mewn nerth i'r Methodistiaid; ac ar y llinell o Gaernarfon trwy Fangor hyd Abergele, ac yn mlaen trwy Dreffynon, a'r Wyddgrug, hyd

Lanrhaiadr, Llanfyllin, a Llanfair-caereinion, y mae ganddynt lawer o achosion cryfion a galluog. Ond trwy y Deheu oll, ac eithrio yr achosion Seisnig, nid ydynt mewn un modd wedi cael gafael yn y wlad.

Achosion Seisnig ydyw y cwbl sydd gan y Trefnyddion Cyntefig yn Nghymru. Mae ganddynt Gapeli yn y rhan fwyaf o drefydd pwysig Cymru; ac yn rhanau Seisnig *Siroedd* Penfro, Maesyfed, a Mynwy.

Mae darn o wlad yn Sir Aberteifi, o Lanbedr i Landysul, gyfla glan afon Teifi, lle y mae cryn lawer o Undodiaid. Yno y mae y nifer fwyaf o'u Capeli, er fod ganddynt achosion hefyd mewn amryw fanau yn Siroedd Caerfyrddin a Morganwg. Nid ydym yn gwybod fod un Capel perthynol iddynt drwy y Gogledd oll; nac ond ychydig bersonau yn coleddu eu golygiadau. Yr ychydig a geir o'r enwadau bychain ereill, y maent yn wasgaredig yma a thraw, heb ddim nerth yn un man.

Yr Annibynwyr a'r Methodistiaid sydd wedi ymwthio agos yn gydwastad trwy Gymru oll; ac â thaflu y *De a'r Gogledd* yn nghyd, y mae eu rhifedi agos yn gyfartal. Dichon y *gellir* cyfrif paham y mae y naill enwad wedi cymeryd meddiant mor llwyr o'r naill ran o'r wlad, ac heb allu gwneyd dim yn gyd-marol mewn rhanau ereill. Nid oes genym amser i fyned y ffordd yna yn bresenol, ac yn wir yr ydym yn ymdroi gormod cyn dyfod at y testyn yn uniongyrchol; ond byddai ymchwiliad i'r mater yna yn ddyddorol iawn; ac hwyrach y taflai oleuni ar lawer o bethau.

Mae tebygolrwydd mawr yn ngwedd gymdeithasol yr holl enwadau; ac y mae y naill wedi mabwysiadu rhyw bethau priodol i'r llall; a'r Eglwyswyr hwythau wedi cymeryd dalen o lyfr yr Ymneillduwyr.

Yn raddol y dadblygwyd crefydd gymdeithasol Cymru i'w ffurf bresenol, a thuag at gael golwg arni rhaid i ni edrych arni yn ei gwahanol gyfnodau.

Mae tri chyfnod arbenig yn nglŷn â chrefydd gymdeithasol

[redacted]



Jymru. Y Cyfnod Puritanaidd—y Cyfnod Diwygiadol—a'r Jyfnod Llenyddol; ac erbyn myned trwy y cyfnodau yna, lichon y gwelir hi yn mhob gwedd arni.

*Y Cyfnod Puritanaidd*; dyma y boreuaf, a hwn sydd yn hawlio ein sylw gyntaf. Mae cychwyniad Ymneillduaeth yn yn Nghymru yn cael ei ddyddio o'r flwyddyn 1639. Dyma r pryd y ffurfiodd y Parch. W. Wroth, Llanfaches, yr Eglwys Ymneillduol gyntaf yn y Dywysogaeth. Dyma y fam Eglwys; a Wroth oedd tad Ymneillduaeth Gymreig. Bwriwyd ef a Walter Cradoc, a William Erbury, Caerdydd, allan o'r Eglwys Sefydledig am wrthod darllen "Llyfr y Chwareuon" (*Book of Sports*). Ymroddodd Wroth i wasanaethu Eglwys Llanfaches; ac yr oedd ganddo dan ei ofal yno ar un adeg dros 800 o bobl bryderus am eu cyflwr. Corffolodd Erbury Eglwys yn Nghaerdydd; ond trodd Cradoc allan i'r prif ffyrdd a'r caeau, i heolydd ac ystrydoedd" y pentrefydd, r trefydd, a'r dinasoedd, i efengylu "anchwiliadwy olud Crist." Teithiodd y rhan fwyaf o siroedd Cymru, a "llaw yr Arglwydd oedd gydag ef." Cafodd gynorthwywyr llafurus ac egniol yn Vavassor Powell, Morgan Llwyd, Morgan Howell, ac eraill; a bu y seibiant a roddwyd i Ymneillduaeth yn nyddiau Gweriniaeth Oliver Cromwell yn fanteisiol i ledaeniad crefydd bur trwy ranau helaeth o'r wlad, fel yr oedd o leiaf 22 o gynulleidfaoedd ymneillduol wedi eu casglu cyn adferiad Charles II., a phan y pasiwyd Deddf Unffurfiaeth yr oedd 106 o offeiriaid cydwybodol yn Nghymru, na phlygasant i'r ddelw aur a gyfodasid. Y dynion hyn a ymroisant o ddifrif i ddyfrhau yr Eglwysi oedd eisoes wedi eu planu; ac mewn enbydrwydd am eu heinioes a anturiasant allan i "bregethu yr Efengyl lle ni enwid Crist;" fel erbyn y flwyddyn 1736, er holl orthrwm deddfau creulawn, a holl gynddaredd erlidwyr dialgar, yr oedd 130 o gynulleidfaoedd crefyddol yn Nghymru gan yr Ymneillduwyr.

Yr ydym yn teimlo mai gorchwyl anhawdd iawn ydyw rhoddi darluniad boddhaol o ffurf gymdeithasol crefydd yn y

cyfnod dan sylw. Gall nad oes yr un cyfnod yn hanes crefydd yn Nghymru wedi ei gamddarlunio yn fwy. Nid oes neb o'n haneswyr, na'n darlithwyr, na'n beirdd, hyd yn ddiweddar, wedi gwneyd cyfiawnder âg ef. Gellid meddwl mai anialwch gwag crehyll oedd Cymru hyd ddechreuad y ddeunawfed ganrif; ac nad oedd neb wedi gwneyd dim i arloesi y tir diffaeth nes yr ymddangosodd y diwygwyr tanllyd Harris a Rowlands. Ni fynem fod yn ol i neb mewn parch i goffadwriaeth y tadau Methodistaidd; gwnaethant ddaioni annhraethol i Gymru, rhoddasant gynhyrfiad nerthol i grefydd pan yr oedd yr Eglwysi "yn cysgu ac yn caru hepian;" a dihunasant filoedd o eneidiau i ystyriaeth o'u perygl. Bydd y genedl dan ddyled byth iddynt. Ond yr oedd Ymneillduaeth wedi gwreiddio yn y wlad mewn lluaws mawr o fanau yn mhell cyn hyny, a mil oedd o aelodau ffyddlon o diwyd yn arddel crefydd.

O gylch y flwyddyn 1715, casglodd Dr. John Evans, trwy drafferth fawr, ystadegaeth y cynulleidfaoedd Anghydffurfiol trwy Gymru a Lloegr. Mae y cyfrifon gwerthfawr hyn ar gael yn awr yn llawysgrif y Dr. ei hun, yn *Llyfrgell Dr. Daniel Williams*, yn Redcross Street, Llundain; ac mor fanwl y mae y cyfrif wedi ei roddi, fel y ceir olrheiniad i sefyllfa, galwedigaeth, ac amgylchiadau yr aelodau oll; ac yr oedd rhifedi Ymneillduwyr Cymru y pryd hwnw yn 30,000 o leiaf. Yn y De yr oeddynt agos oll; nid oedd Ymneillduaeth wedi rhoddi ei throed i lawr ond mewn ychydig fanau yn y Gogledd.

Am nodwedd crefydd gymdeithasol ein gwlad yn y cyfnod hwnw, yr oedd yn meddu rhagoriaethau neillduol.

Yr oedd y cynulleidfaoedd yn cael eu gwreiddio yn dda mewn gwybodaeth grefyddol. Yr oeddynt yn feddianol ar ddeall da yn yr athrawiaeth, ac yn gadarn yn yr Ysgrythyrau. Gofalent yn neillduol am ddeall yr Efengyl; hyfforddiadol ac athrawiaethol oedd nodweddiad eu pregethau yn fwy na chymhwysiadol ac argyhoeddiadol. Y mae y rhan fwyaf o bregethau yr oes hono sydd ar gael yn dangos hyny yn eg-

[redacted]



hir iawn. Yr oedd gofal manwl gan grefyddwyr y dyddiau hyny am grefydd deuluaidd. Dywedai Howell Harris nad oedd addoliad teuluaidd yn cael ei gynal gan neb yn y wlad ar ei gychwyniad ef allan, ond gan yr Ymneillduwyr yn unig; ond yn eu plith hwy nad oedd un teulu crefyddol heb "arfer duwioldeb gartref."

Yr oedd lluaws mawr o deuluoedd cyfrifol a pharchus yn aelodau o'r Eglwysi. Nid ydym ni o nifer y rhai sydd yn awyddus iawn am ffafr y cyfoethogion, ac ni theimlasom erioed awydd i ofyn "A gredodd neb o'r penaethiaid?" Gwyddom fod pob da yn dechreu gyda'r bobl ac yn dringo i fynu at y cyfoethogion—ond byddai deall pa fodd yr oedd cynifer, o'r rhai yr oedd ganddynt gryn lawer o dda y byd hwn yn dal cysylltiad ag Ymneillduaeth yn yr oes erledigaethus hono, yn rhyw help i ni i ffurfio barn am nodwedd crefydd y cyfnod. Yr oedd Ymneillduaeth wedi derbyn ffafr neillduol gan y llywodraeth yn nyddiau y Weriniaeth; ac er nad oedd yn grefydd Wladol, eto rhoddid bywiolaethau brasach i'r Presbyteriaid nag i'r Esgobaethwyr; a phan y bwriwyd yr offeiriaid allan o'u bywiolaethau dilynwyd hwy gan lawer o'u pobl oedd o'r un ysbryd, ac yn caru eu gweinidogaeth. Yr oedd y Weinidogaeth yn dwyn gwedd foneddigaidd, a'r Gweinidogion oll wedi cael Addysg Athrofaol; ac yr oedd rhai o'r Eglwysi wedi myned mor bell yn eu sêl dros Weinidogaeth ddysgedig fel y gosodid yn ngweithredoedd y Capeli nad oedd neb i fod yn Weinidogion ynddynt os heb gael manteision Athrofaol. Sicr genym eu bod hwy yn myned yn rhy bell; ond y mae yn eithaf eglur fod eisiau rhyw safon mewn dysgeidiaeth cyn gollwng dynion i'r Weinidogaeth, os mynir cadw ei chymeriad i fynu, ac iddi enill dylanwad dros feddyliau dysgedig a choethedig. Yr oedd bywyd halogedig yr offeiriaid hefyd yn peri i'r rhai a deimlent yn achos eu heneidiau gilio oddiwrth eu hathrawon cyflogedig i chwilio am addysg at y rhai yr oedd eu bywyd yn dystiolaeth dros yr athrawiaeth a bregethent. Yn y pethau yna yr oedd golwg ddy-

9

munol iawn ar grefydd gymdeithasol Cymru yn y cyfnod hwnw; a byddai yn dda iawn ped adferid hwynt i'n crefydd ni yn y dyddiau hyn. Ond er hyny, yr oedd rhyw bethau yn eu dull o ddwyn crefydd yn mlaen oedd yn effeithio yn anffafriol i'r cynydd a'u dylanwad.

Yr oedd unffurfiaeth gormodol yn nhrefn eu gwasanaeth. Nid oes dim yn fwy canmoladwy na threfn briodol gyda phob rhan o grefydd; "Gwneler pob peth yn weddaidd ac mewn trefn." Ond os bydd mwy o sylw i'r ffurf nag i'r ysbryd, gwna fwy o ddrwg nag o dda. Pa symlaf y ffurf, goreu oll. Nis gwyddom ni fod unrhyw reswm dros unffurfiaeth gwastadol yn nhrefn ein gwasanaeth. Nid oes un reol ddwyfol ar y pwnc. Paham y cedwir pob oedfa ar yr un cynllun? Onid buddiol fyddai cael newidiad? Mae amrywiaeth dulliau a threfniadau yn taro yn well ar y meddwl. Beth fyddai allan o le pe traddodid y bregeth yn gyntaf oll, a'r darllen a'r gweddio ar y diwedd; neu pe treulid ambell odfa heb bregethu o gwbl, ond darllen gwahanol ranau o'r gair dwyfol gyda phwyll a dwysder? Pa niwed fyddai fod ambell i gyfarfod heb ganu ynddo? Mae ffurfiau yn cael eu dwyfoli yn ngolwg dynion gan yr unffurfiaeth. Ni fynem fod yn benrhydd, heb unrhyw reol; ac nid ydym ychwaith yn caru darllen, a chanu, a gweddio, a phregethu wrth bwysau a mesurau, ac wedi eu tynhau mewn rhwymau. I'r eithafoedd yna y rhedai yr Anghydffurfwyr. Eu holl foddion cyhoeddus yn ystod y mis oedd oedfa yn y Capel boreu y Sabboth, a phawb gartref yn egwyddori ei deulu y gweddill o'r dydd. Yr oedd ganddynt Gwrdd Eglwys ar ganol dydd gwaith unwaith yn ystod y mis, lle y traddodid pregeth ymarferol, ac yr ymdrinid â rhyw bethau cysylltiedig âg amgylchiadau allanol yr achos, ac y gweinyddid dysgyblaeth eglwysig. Ac ar y Sadwrn cyn y cymundeb yr oedd Cwrdd paratoad pan y traddodid pregeth er cymhwyso meddwl y cymunwyr at yr ordinhad sanctaidd oedd i'w gweinyddu dranoeth; ac y penderfynid achos y rhai oedd i'w derbyn o'r newydd yn aelodau o'r Eglwys. Dyna yr

[redacted]



holl wasanaeth cyhoeddus yn ystod y mis. Y mae y drefn yna yn aros mewn llawer o hen Eglwysi yn ein gwlad hyd heddyw; ond fod cyfarfodydd eraill wedi eu hychwanegu atynt; ond ystyrid byth fod rhyw bwysigrwydd a chysegroldeb yn perthyn i'r hen sefydliadau gwreiddiol yna.

Yr oedd hirfeithder eu gwasanaeth yn ei wneyd yn feichus i'r lluaws. Nid rhedeg drwy y gwasanaeth gyda brys y byddai y Gweinidog, ond cymerai hamdden ac amser at bob rhan o hono, Ddarllenydd, a ddeui di gyda ni i un o hen gynulleidfaoedd Cymru 180 mlynedd yn ol? Gad i ni gychwyn. Mae heddyw yn foreu Sabboth braf, yn nechreu mis Mai; ac y mae yna gryn nifer yn "esgyn i fynu i fynydd yr Arglwydd, i dŷ Duw Jacob." Brithir y llechwedd uwchlaw yr hen dŷ cwrdd gan luaws o wŷr traed sydd ar hyd y croeslwybrau yn dyfod i addoli; tra y mae islaw yr addoldy hen ffordd arw, gul, a nifer o wŷr ar feirch yn dyfod ar hyd-ddi. Mae yr hen Gapel yn sefyll ar drumun craig uwchlaw afon fechan drystiog, mewn coedwig gysgodfawr. Mae yn llanerch neillduedig yn mhell o dwrw a dwndwr y byd; a hawdd deall fod y llecyn wedi ei ddewis mewn adeg erledigaethus, pan nad oedd heddwch i addoli. Nid yw yr hen Gapel ond adeilad hirgul, bychan, llwyd. Nid oes ynddo ond y *seat* fawr, a dwy *seat* sgwâr ar y naill ochr, y rhai y mae yn hawdd deall arnynt ydynt feddiant i ryw rai uwch na'r cyffredin o'r addolwyr o ran eu hamgylchiadau bydol. Trwy y gweddill o'r llawr y mae meinciau a chefnau iddynt. Mae yna oriel ar y naill ben, a grisiau ceryg oddiallan i fyned iddi. Mae y lle yn llawn o addolwyr dwys a defosiynol iawn. Mae yna nifer o hen bobl o gylch y pwlpud, a golwg urddasol iawn arnynt. Mae toriad eu gwisg, a llaesder eu gwallt, yn peri i ni feddwl am yr hen Rabbiniaid Iuddewig, ond nad ydynt yn farfog fel y cyfryw. Dyna y Gweinidog yn esgyn i'r pwlpud. Gwr dysyml ydyw, ond y mae ei ddifrifoldeb yn argraffu ar ein meddwl fod y lle yr ydym ynddo yn lle sanctaidd. Ond y mae yna fwy o ddwysder nag sydd o gynhesrwydd—mwy o ddefosiwn nag o

deimlad—mwy o debygolrwydd i athraw yn cyfarfod â'i ddosbarth i gyfranu addysg iddynt, nag i genad hedd yn dyfod at bechaduriaid colledig i dracthu iddynt eiriau y bywyd tragwyddol. Mae y gwasanaeth yn dechreu am haner awr wedi naw gyda'r hyn a elwir y "weddi fer;" gweddi am ddeg neu ddeuddeg munyd. Yna rhoddir un o Salmau y Parchedig Edmund Prys allan i ganu; oblegid y mae Williams, Pantycelyn, eto heb ei eni; maent yn canu y Salm i gyd, a dyblir y ddwy linell olaf yn y penill diweddaf. Yna y mae pennod faith yn cael ei darllen yn araf a phwyllog, yr hon a ddilynir gan yr hyn a elwir "y weddi hir;" gweddi am bump neu ddeng munyd ar hugain. Wedi hyny y mae un arall o'r Salmau yn cael ei chanu fel o'r blaen. Darllena y pregethwr ei destyn; yr athrawiaeth heddyw yw Maboliaeth Crist. Mae y bregeth yn gyfansoddiad da, dengys ol llafur mawr; ond rhywfodd, siarad am y gwirionedd ac nid wrth y bobl y mae y pregethwr; ac nid yw y cymhwysiad a wneir o'r gwirionedd atynt ond ychydig. Traddodir yn araf, *ond yn eglur* a hyglyw, ac nid yw ond yn yr un cywair ar y *diwedd ag a* y dechreu; ac wedi parhau am awr a haner, *terfynai ac er na* ddangosodd y gynulleidfa unrhyw gyffroad wrth wrando, nid ymddangosent ychwaith ar y diwedd wedi blino. Cenid Salm arall, ac wedi gweddi o hŷd rhesymol y mae y gynulleidfa yn ymwasgaru, wedi cael digon hyd y Sabboth nesaf. Dyma ddarlun anmherffaith o grefydd gymdeithasol y cyfnod cyntaf. Ni fynem mewn un modd ei feirniadu yn llym; ac er y carem gael mwy o galon yn y gwasanaeth, eto yr ydym yn edmygu yr astudrwydd a'r defosiwn a welir yn y gwrandawyr a'r ymgais sydd yn y pregethwr i oleuo ac addysgu ei gynulleidfa, yn hytrach na'i difyru a'i boddio. Yn sicr i chwi, os gellir cael sylw dynion at y fath weinidogaeth, bydd y dynion a fegir dani yn gryfion mewn crefydd, ac wedi eu gwreiddio yn "yr athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb," fel na'u "syflir y fuan oddiwrth y ffydd."

*Y Cyfnod Methodistaidd.* Dyma ni yn awr yn dyfod i

[redacted]



gyfnod arall ar grefydd gymdeithasol Cymru ;—y cyfnod a ddechreuodd gyda chodiad y Diwygwyr Methodistaidd ; ac yn yr hwn y dygwyd elfenau newyddion i mewn i grefydd ein gwlad.

Pe gofynid i ni nodi *prif* nodwedd crefydd y cyfnod mewn un gair, dywedem mai TEIMLAD BYWIOG ydoedd. Dichon pe chwilid hanesiaeth crefydd er dyddiau yr apostolion, na cheid *teimlad crefyddol mor ddwys* yn nodweddu unrhyw adeg. Gwir fod sêl llawer o honynt heb fod yn ol gwybodaeth, a llawer o gnawd yn nglŷn â hwy ; a llawer heb ddim ond cyffroad ar y nwydau anifeilaidd ; eto ofer fyddai amheu nad oes nodedig mewn teimlad crefyddol ydoedd. Gellir canfod hyny os edrychwn ar lenyddiaeth grefyddol yr adeg. Mae y llyfrau a gyhoeddir mewn unrhyw oes yn ddangosiad pur gywir o gymeriad yr oes hono. Gallwn gymeryd hyn agos yn ddieithriad fel rheol i farnu nodweddiad cenedl. Anadlir crefydd y Puritaniaid yn eu hysgrifeniadau : a gwelir teimlad crefyddol Cymru yn y llyfrau a gyhoeddwyd o ganol hyd ddiwedd y ddeunawfed ganrif :—"Taith y Pererin," "Y Rhyfel Ysbrydol," "Y Cristion mewn cyflawn Arfogaeth," "Marw i'r Ddeddf," "Dechreuad a chynydd Crefydd yn yr enaid,"—Cyfansoddiadau Rhyddiaethol a Barddonol Williams, Pantycelyn, a'r cyffelyb. Dyna nhw ; y maent yn wir lun crefydd yr oes hono. Dyma y llyfrau a ddarllenwyd, ddeallwyd, gofiwyd, ac a deimlwyd gan ein tadau. Nid oes yn y rhan fwyaf o honynt ddim ond eu crefydd i'w cymeradwyo, ac ofnwn y byddai yn garchar a chaledwaith, i gannoedd o broffeswyr sychlyd y dyddiau hyn, dreulio tair awr i'w darllen.

Yr oedd caniadaeth eu cynulleidfaoedd yn dangos nodwedd eu crefydd. Mae cerddoriaeth a chrefydd yn dilyn eu gilydd, a phan y mae yn adeg lwyddiannus ar y naill, y mae felly ar y llall. Gellir olrhain cysylltiad canu mawl â gwres crefyddol yn mhob adeg lwyddiannus ar Eglwys Dduw er dyddiau peraidd ganiedydd Israel hyd ein dyddiau ni. Yr oedd lle pwysig i ganu mawl yn addoliadau yr oes apostolaidd. Yr oedd

enaid Luther, Diwygiwr Germani, yn llawn cerddoriaeth. Yr oedd canu mawl yn dylanwadu yn bwysig ar Ysgotland yn nyddiau Knox, ac yn ddiweddarach yn Lloegr yn nyddiau Whitfield a Wesley; ac yn Nghymru trwy Emynau swynol Williams, Pantycelyn, Dafydd Jones, Williams, Bethesda, ac eraill. Yn y cyfnod blaenorol, fel y crybwyllwyd eisioes, arferai yr hen Ymneillduwyr ganu yr Emyn o lyfr, heb fyned drosti ond unwaith, oddigerth y ddwy linell olaf. Ond yn ngwres eu teimladau cyfnewidiwyd o'r dull ffurfiol a digyffro hwnw; rhoddid gair i'w ganu gan y neb a deimlai ar ei galon, nid o lyfr, ond oddiar ei gôf; canent dôn gyfaddas arno, ac os caent flas aent drosto drachefn a thrachefn, gan ddyblu a threblu fel y dyrfa a glywodd Ioan, "Ac eilwaith y dywedasant Amen." Yr oedd y dull hwn yn dangos bywiogrwydd eu teimladau crefyddol eu hunain, ac yn dylanwadu yn bwysig ar eraill hefyd. Cyffrowyd rhai o'r diwygiadau cryfaf trwy ganu mawl. Cyrhaeddodd saeth argyhoeddiad lawer calon trwy eu dull bywiog a thanllyd o ganu. Ysgydwai *cynulleidfaoedd* mewn hwyl nefolaidd, fel coedwig gan wynt; *ac ymddangosent* fel wedi cwbl anghofio y ddaear, a'u heneidiau wedi eu dwyn i'r nefoedd. Nid ydym yn amheu dim na adawodd Emynau a Chaniadau Williams, Pantycelyn ddylanwad cryfach ar grefydd Cymru, nag a adawyd hyd yn nod gan weinidogaeth nerthol Rowlands, neu lafur diflino Harris.

Yr oedd neillduolrwydd eu gweinidogaeth yn esbonio dwysder crefyddol y tymhor. Mae cysylltiad agos rhwng sefyllfa crefydd yn yr Eglwys âg ansawdd y weinidogaeth, oblegid genau yr Eglwys ydyw y weinidogaeth; o'r naill y dyrchefir i'r llall. Gellir darllen sefyllfa yr Eglwys yn llais y weinidogaeth. Yn yr oes hono yr oedd gweinidogaeth y pwlpud yn arddangos teimlad yr Eglwys, yn mywiogrwydd y traddodiad o'r genadwri. Anaml y mae pregethwr yn fywiog a thanllyd os bydd yr Eglwys yn oer a dideimlad. Gwrandawyr oer, y maent yn sicr o wneyd pregethwr oer; a phregethwr oer yr un mor sicr o wneyd gwrandawyr oer; a phregethwr a

[redacted]



;wrandawyr oer y maent yn ddigon i rewi calon seraff. O bob peth yn y pwlpud, sychder ac oerfelgarwch yw y peth mwyaf annyoddefol; ond y mae hyny yn cyfodi fynychaf oddiar ddideimladrwydd yr Eglwys; oblegid ni oddefa pobl wedi eu trwytho mewn teimladau crefyddol y fath weinidogaeth rugl odaidd.

Ond nid oddd perygl i'r weinidogaeth yn yr oes hono fyned felly. Ymaflent ynddi â'u holl egni. Siaradent o'r galon, a siaradent i'r galon. Yr oedd ysbryd y peth byw yn eu hysgogi; a rhyw farworyn oddiar yr allor wedi cyffwrdd â'u calonau. Disgynai eu geiriau fel ufel poeth ar deimladau eu gwrandawyr, ac argyhoeddent bawb a'u clywai, eu bod o ddifrif yn eu cenadwriaeth. Yr oedd eu gweinidogaeth yn nodedig yn ei thuedd gymhwysiadol. Dygent bob gwirionedd yn gyfeiriadol at y gydwybod; a siaradent wrth y gwrandawyr, ac nid am danynt. Ac yn neillduol yr oeddynt yn rhoddi arbenigrwydd i wirioneddau hanfodol yr Efengyl. Llygredigaeth dyn—Aberth Crist—Cyfiawnhad trwy ffydd, a Gweithrediadau yr Ysbryd Glân, dyma oedd baich eu cenadwri. Yr oedd y rhai hyn wedi eu ffurfio yn egwyddorion bywyd yn eu gweinidogaeth.

Yr oedd dull dygiad yn mlaen eu cyfeillachau neillduol yn dangos ansawdd fywiog crefydd yr oes. Dyma yr adeg y dechreuodd yr hyn a elwir yn "*Seiat brifat.*" Yr oedd Cwrdd Eglwys a Chwrdd parotoad yn flaenorol gan yr hen Ymneillduwyr; ond yn ngwres eu teimladau crefyddol cyfarfyddai y saint â'u gilydd o'r neilldu i "fynegi yr hyn a wnaeth Duw i'w henaid." Yr oedd yn berffaith naturiol i ddynion o gyffelyb deimladau; yn cyfarfod â'r un tywydd, ac yn mwynhau yr un cysuron i ymgynull at eu gilydd i wroli, cadarnhau, cysuro, a diddanu y naill y llall. Gwnaeth y cynulliadau hyn annhraethol les i grefydd yn ein gwlad. Llawer a wawdiwyd, a ddrwg-liwiwyd, ac a gamgyhuddwyd arnynt gan annuwiolion cyhoeddus, a phroffeswyr sychlyd a phenrhydd; ond enillasant yn fuan gymeradwyaeth y dosbarth duwiolaf o'r hen

Eglwysi Ymneillduol; a chydag ychydig yn ychwaneg o ddysgu ac esbonio mabwysiadwyd ganddynt y dull profiadol o gynal cyfeillachau crefyddol; ac erbyn hyn y mae llawer iawn o debygolrwydd rhwng pob enwad o ddwyn yn mlaen eu cynulliadau Eglwysig.

Eel un o ganlyniadau naturiol bywiogrwydd teimlad, daeth pob aelod i deimlo ei rwymau personol i wneyd rhyw beth dros grefydd, ac nid ymddibynu yn hollol ar y weinidogaeth. Yn y cyfnod blaenorol cyfyngid yn ormodol ar lafur lleygion. Ychydig oedd yn gwneyd dim ond y Gweinidogion. Yr oedd gweled dyn diurddau yn cyflawni dyledswyddau crefydd yn beth anghyffredin. Ymddibynid agos yn hollol ar lafur y Gweinidogion gyda chrefydd gymdeithasol; a chan nad oeddynt hwy ond ychydig, ac iddynt wneyd eu goreu, nis gallasai y llwyddiant fod yn fawr. Ond yn y cyfnod Methodistaidd daeth gwedd wahanol iawn ar bethau. Cyfodwyd dosbarth lluosog o ddynion cyffredin yn gynghorwyr, fel y gelwid hwy, neu bregethwyr cynorthwyol; ac er eu bod gan mwyaf yn lled anllythyrenog a diddysg; eto, gan fod eu *calonau* yn llawn o gariad Crist, ac awydd i achub eneidiau, gwnaethant les dirfawr yn ein gwlad. Y mae yn anmhosibl prisio gwasanaeth y dosbarth diurddau yma. Pregethent mewn tai anedd mewn conglau anghysbell ar nos Sabbothau, ac ar nosweithiau o'r wythnos; ac yn raddol troisant allan yn bregethwyr teithiol i gynyg Crist croeshoeliedig i ardaloedd y tu allan i'w broydd eu hun. Yn y cyfnod yma daeth pregethu prydnhawn a hwyr y Sabboth yn beth bur gyffredin. Elai y pregethwyr Methodistaidd i daith Sabboth, a phregethant dair gwaith y dydd; ac yn aml cymerid taith trwy Sir gan bregethwr enwog, a phregethwr arall llai adnabyddus gydag ef fel ei gyfaill. Elai gwr enwog o'r De, a'i gyfaill, i'r Gogledd; a gwr enwog o'r Gogledd, a'i gyfaill gydag ef, ar daith i'r Deheudir. Ac nid yn mysg y Methodistiaid yn unig yr oedd hyn; er mai gyda hwy y dechreuodd, ac mai iddynt hwy y perthynai yn benaf; eto yr oedd Annibynwyr a Bedyddwyr

[redacted]



yn mabwysiadu yr un dull. Sefydlog iawn oedd yr Anghydffurfwyr yn y cyfnod cyntaf; yn rhy sefydlog i gyfarfod angen y wlad yn yr adeg hono. Yr oedd y Puritaniaid cyntaf wedi bod yn deithwyr mawr. Yr oedd Walter Cradoc, Vavassor Powell, James Owens, Hugh Owen, Bronclydwr, ac eraill, wedi bod yn ddiwyd yn lledaenu yr Efengyl, ond nid oedd eu holynwyr yn meddu yr un ysbryd; boddlonent hwy yn unig ar bregethu yn eu lleoedd penodedig, heb fyned allan i ymosod ar y cryf arfog; ond yr oedd Edmund Jones, Lewis Rees, James Davis, Isaac Price, ac eraill, o ysbryd gwahanol, am fyned allan i aflonyddu y byd; a chyn gynted ag y gwnaeth y Diwygwyr Methodistaidd eu hymddangosiad, rhoddasant iddynt bob calondid. Gwahoddodd Edmund Jones Howell Harris i ymweled â Mynwy; ac ar gais Lewis Rees y daeth gyntaf i'r Gogledd; ac er fod gan y Gweinidogion Ymneillduol eu gofal Eglwysig, eto cymerent deithiau yn achlysurol i bregethu i gyrau eraill o'r Dywysogaeth.

Sefydlwyd Cyfarfodydd gweddio o dŷ i dŷ mewn gwahanol ardaloedd, a rhoddid y rhai cymhwysaf o'r brodyr i flaenori ynddynt. Yn y cynulliadau hyn y dadblygwyd gyntaf dalent bregethwrol canoedd o Weinidogion Cymru; ac y mae eu hadgofion yn mysg pethau mwyaf swynol crefydd. Y cyfarfod gweddi a gynhelid o dŷ i dŷ; a'r ymddiddan a fyddai ar y diwedd rhwng rhyw ychydig o'r rhai blaenaf, ar bynciau yr Efengyl, fu yn foddion i wneyd y cynulliadau hyn i ddegau yn rhai y disgwylid am danynt gyda hiraeth o wythnos i wythnos. Yn y cyfnod yma gwisgai crefydd wedd siriol a chalonog—cyfarfodydd crefyddol oedd prif hyfrydwch y bobl—a darostyngwyd y wlad yn lled gyflawn dan ddylanwad cymdeithasol crefydd. Ac ni byddai yn deg i ni adael y cyfnod hwn heb gyfeirio at y diwygiadau grymus a'r rhai y bendithwyd ein gwlad ynddo. O drugaredd yr Arglwydd y mae ein gwlad yn nodedig am ei diwygiadau gwresog; ond yn y cyfnod yna y dechreuasant, a hwyrach na fu dim mor nerthol ac angerddol mewn un adeg ddyfodol. Mae y darluniadau a

roddir gan Williams, Pantycelyn o agwedd gyffrous diwygiadau Llangeitho trwy weinidogaeth Rowlands; gan Thomas Williams, Bethesda, o weinidogaeth Jones, Llangan; a chan Dafydd Jones, Llanwrda, o weinidogaeth rymus Isaac Price, Llanwrtyd, yn dangos mor angerddol oedd teimladau crefyddol y dyddiau hyny. Hoffasem allu difynu, ond ni chaniata ein terfynau. Digon yw genym ddyweyd fod y darluniadau yn gyfryw nes ein gorfodi i ddyweyd, "O'r Arglwydd y daeth hyn, a hyn oedd ryfedd yn ein golwg ni."

*Y Cyfnod Llenyddol.* Dyma ni yn awr yn dyfod at gyfnod arall ar grefydd ein gwlad. Nid ydym yn teimlo ein bod yn hapus am enw arno, ond y mae y goreu y gallem feddwl am dano; ac nid ydym yn meddwl y byddwn yn hir cyn gosod ar ddeall i'n darllenwyr beth a olygwn wrtho.

Yr ydym wedi gweled yn eglur mai prif neillduolrwydd y cyfnod cyntaf oedd gweddusder a defosiwn, Mai prif nodwedd yr ail gyfnod oedd bywiogrwydd teimlad crefyddol. Dichon yn wir fod hyny yn cael ei weithio i eithafion, nes ymylu ar ben-boethni. Esgeulusid y deallol yn ormodol wrth ofalu am y teimladol. Y pwnc yn awr ydyw pa fodd i ddiogelu y cyntaf heb golli yr olaf; i uno ynghyd addysg a hyfforddiant y cyfnod cyntaf, â gwres a theimlad yr ail gyfnod.

Dichon y dylem gydnabod y Parch. T. Charles o'r Bala fel prif gymeriad y cyfnod hwn; a'r Ysgolion Sabbothol a ddygwyd i'w ffurf bresenol gan mwyaf trwy ei lafur ef, fel y moddion penaf i gyfranu addysg i'r miloedd. Gwnaeth Ysgolion cylchredol y Parch. G. Jones, Llandowror les annhraethol; ac addysgwyd llawer o ieuenctyd i ddarllen y Beibl "a gwybod yr Ysgrythyr lân," yn yr Ysgolion nos Sabbothol a gedwid gan rai o hen weinidogion Ymneillduol Cymru; ond Mr. Charles o'r Bala a osododd y peiriant i weithio yn nerthol ar gorff y genedl. Cyfarfu â gwrthwynebiad dirfawr nid yn unig oddiwrth anwybodaeth ac ofergoeledd y wlad, ond oddiwrth ysbryd rhagfarnllyd ei frodyr ei hun. Edrychent ar ddysgu plant i ddarllen yn halogiad ar ddydd yr Arglwydd; ac yn

[redacted]



ddirmyg ar weinidogaeth yr Efengyl. Yr oedd y gwrthwynebiad yn mysg Annibynwyr a Bedyddwyr hefyd ar y cyntaf yn llawn cymaint; a thrwy anhawsdra mawr y ceid gwasanaeth y Capeli am ran o'r Sabboth i'w chynal. Ond rhoddodd y dynion goreu yn fuan bob cefnogaeth iddi, oblegid yr oedd ei heffeithiau daionus mor amlwg yn narostyngiad hen arferion pechadurus, a dyrchafiad y genedl mewn addysg a moesau; ac yn fuan iawn derbyniwyd hi gan bob enwad i fod yn rhan o grefydd gymdeithasol ein gwlad.

Daeth galwad yn fuan am ychwaneg o Feiblau a Thestamentau, y rhai a wasgarwyd wrth y miloedd; magwyd chwaeth at ddarllen; a chyhoeddwyd nifer o lyfrau yn gynorthwyon i ddeall y Beibl, ar ffurf esboniadau a geirlyfrau, heblaw lluaws o fân draethodau, a phregethau ar wahanol destynau Dygwyd allan gyhoeddiadau cyfnodol yn nglŷn â'r gwahanol enwadau fel y daeth yr Eglwysi yn gyffredin yn gyfarwydd yn "egwyddorion dechreuad ymadroddion Duw." Bu y dadleuon poethion a ddygid yn mlaen ar dudalenau ein misolion ddeg ar hugain a deugain mlynedd yn ol, am Bechod gwreiddiol—Iawn a Phrynedigaeth—Sefyllfa Prawf— Etholedigaeth—a Gwaith yr Ysbryd Glân, &c., yn foddion i ddwyn corff y bobl i ffurfio rhyw syniad ar y gwirioneddau mawrion yna. Er's blynyddau bellach y mae y llyn wedi llonyddu, ac y mae yn lled anhawdd ei gyffroi. Tebygol nad oes argyhoeddiadau mor gryfion genym yn gyffredin yn yr oes hon am y gwirionedd ag oedd gan ein tadau; a rhyw ryddfrydigrwydd eithafol wedi ein meddianu. Ychydig sydd yn cysylltu rhyw bwys mawr â chredo dyn, os bydd yn dduwiol, a gweithgar, a chydwybodol. Yn y cyfnod hwn y mae yn rhaid i ni hefyd gymeryd i mewn y cyffroad llenyddol sydd yn ein gwlad. Peth diweddar ydyw dwyn Cymdeithasau llenyddol, a chyfarfodydd cystadleuol i gysylltiad â'r Capeli. Dylid eu gwylio gyda manylwch neillduol. Carir hwy yn mlaen mewn manau i eithafion peryglus; a gwneir hwy yn fath o gyfarfyddfan rhwng y chwareudy a'r addoldy; ac yn perthyn yn llawer nês

i'r blaenaf na'r olaf. Gallai y sefydliadau hyn pe dygid hwy yn mlaen yn weddus a phriodol wneyd daioni annhraethol; ond yn anffodus, nid y dynion goreu yn yr Eglwysi sydd yn ymgymeryd â hwy; ac am nad oes unrhyw arolygiaeth drostynt gan ddynion o chwaeth a barn, y maent yn aml yn troi allan y cymysgbla mwyaf dinystriol i grefydd a chwaeth bur. Wrth eu camarfer y maent yn tynu dynion oddiwrth y cryf, y sylweddol, a'r adeiladol, at yr ysgafn, y digrif, a'r cellweirus; ac y mae cysylltiad y peth â'r Capeli yn ei wneyd yn fwy andwyol. Byddai yn resyn i grefydd Cymru wedi dechreu mewn gweddusder, ac astudrwydd, a defosiwn; a chryfhau trwy deimlad, a bywiogrwydd, a sêl; ddybenu eto mewn ysgafnder, gwamalwch, a phenrhyddid. Er mwyn ein cenedl, ein gwlad, a'n crefydd yr ydym yn gweddio na byddo felly. Bellach wedi cymeryd golwg gyffredinol fel yna ar grefydd gymdeithasol Cymru mewn gwahanol gyfnodau, rhaid i ni ddisgyn i edrych yn fwy uniongyrchol ar Ragoriaethau a Diffygion Crefydd gymdeithasol Cymru.

*Rhagoriaethau Crefydd gymdeithasol Cymru.* Mae lluosogrwydd, helaethder, a harddwch ein haddoldai yn deilwng o sylw. Nid oes yr un wlad o'i maint mor aml ei Chapeli. Ceir hwynt ar lechwedd pob mynydd—ar waelod pob cwm—ar lan pob afon—ac ar ben pob croesffordd. Mae ein gwlad yn un rhwydwaith o Gapeli drwyddi. Mewn pentrefi bychain nid peth anhawdd ydyw gweled tri neu bedwar o Gapeli hardd. Ac yn ein trefi mwyaf yr addoldai ydyw yr adeiladau ëangaf a gwychaf. Mae y dyeithriaid a ymwelent â'n gwlad yn cael eu taro yn rymus wrth weled amledd a mawredd ein Capeli. Ac y mae hyn pan y cyferbynir ef â sefyllfa pethau yn Lloegr yn ymddangos yn fwy peth. Gellir teithio diwrnod trwy ranau amaethyddol Lloegr heb weled odid un Capel; a myned trwy bentrefydd mawrion, a threfydd bychain na welir yr un addoldy Ymneillduol o'u mewn. Anrhydedd i grefydd gwlad ydyw fod nenfwd ei Chapeli yn ymddyrchu gornwch yr holl adeiladau eraill sydd o'i mewn; a phob tŷ yn ymddangos

[redacted]



os yn fychan wrth ei gydmaru â thŷ yr Arglwydd. Ac y mae ein Capeli a'u cymeryd gyda'u gilydd yn adeiladau hardd a chyfleus. Mae yn wir nad yn aml y gwelir y tyrau a phinaclau ynglŷn â Chapeli Ymneillduol yn Nghymru; er nad oes genym ddim yn erbyn y rhai hyny, os bydd gan y bobl sydd yn eu codi fodd i dalu am danynt. Mae Capeli heirdd yn foddion i ddyrchafu a choethi chwaeth dynion; ac y mae pobl yn addurno ac yn prydferthu eu tai eu hunain; ac ar yr un pryd yn tybied mai balchder a gwastraff ydyw addurno y Capeli; ond i'r cyfryw gellir gofyn, "Ai amser yw i chwi drigo yn eich tai byrddiedig eich hun, a'r tŷ hwn (tŷ Dduw) yn anghyfanedd?" Gwyddom am lawer o gymydogaethau yn ein gwlad ag sydd wedi gwellau yn eu moesau a'u harferion, ar ol cael Capeli newyddion gweddus a hardd. Ni fynem ar yr un pryd aberthu gwasanaeth i harddwch; oblegid yr amcan ydyw cael lle manteisiol i bregethu a gwrando, a'r Capeli mwyaf cyfleus i hyny ydyw y rhai goreu yn y diwedd. Ac yn hyny gall Cymru ymgystadlu âg un wlad. Mae darostyngiad llwyr ein cenedl i wrando yr Efengyl yn brawf o ddylanwad Crefydd gymdeithasol Cymru. Mae y genedl Gymreig, ond gydag ychydig eithriadau, yn arfer gwrando yr Efengyl. Yr ydym yn gwybod er galar fod eto yn Nghymru uchel freintiog lawer nad ydynt un amser yn myned i unrhyw le o addoliad; ond nid ydynt ond ychydig wrth eu cydmaru â nifer y boblogaeth; ac y maent gan mwyaf yn ein trefydd a'n gweithfaoedd; a llawer o honynt yn ddyeithriaid i Gymru. Estroniaid ydynt yn ein gwlad. Byddai gweled y lluaws "sydd yn esgyn i fynydd yr Arglwydd" ar foreu y Sabboth yn un o'r golygfeydd mwyaf swynol y gallai y llygaid edrych arni. Ac nid ar y Sabboth yn unig y bydd hyn, ond ar nosweithiau a dyddiau yr wythnos. Mae y parodrwydd mwyaf yn cael ei ddangos i roddi pob peth o'r neilldu er myned i dŷ yr Arglwydd. Pregethu yr Efengyl ydyw y peth mwyaf poblogaidd yn ein gwlad. Gall testynau gwladol a chymdeithasol beri cyffro ar adegau, a chasglu ynghyd dyrfaoedd mawr-

ion i wrando darlithiau ac areithiau arnynt; ond y mae y bobl yn blino ar bob peth o'r fath; ond y mae rhyw swyn parhaol gan bregethiad yr Efengyl. Gwnaeth y pregethu teithiol a fu mor gyffredin yn ein gwlad lawer iawn er dwyn ein gwlad dan ddylanwad moddion gras. Nis gallwn oddef neb yn siarad yn ddirmygus am bregethu teithiol. Pa annhrefn bynag a fu yn nglŷn ag ef; ac nid oes dim dadl na fu annhrefn mawr; eto gwnaeth wasanaeth pwysig i grefydd yn ein gwlad. Galwai sylw y wlad at yr Efengyl; ac yr oedd dyfodiad y gŵr dyeithr enwog a phoblogaidd heibio, yn cael ei ddisgwyl gyda hiraeth a phryder; a'i weinidogaeth yn cael ei derbyn fel y "ddaear yn yfed y gwlaw." Gadawai dynion eu gorchwylion ar unrhyw awr o'r dydd, i fyned i wrando yr Efengyl; ac y mae gweddillion o hyn eto yn parhau. Ceir mewn rhanau o'n gwlad yn awr am ddeg neu ddau o'r gloch, ar ddiwrnod gwaith, Gapeli llawnion i wrando, ond cael cyhoeddiad pregethwr poblogaidd a chymeradwy. Yr anffawd ydyw mai y gwehilion fynychaf yn awr sydd yn teithio. Nid yw y cynulleidfaoedd yn teimlo eu bod yn cael eu talu am golli darn o ddiwrnod i fyned i'w gwrando; ac y mae cymeriad y pregethu teithiol yn cael ei dori gan y crwydriaid hyn.

Yn y Cyfarfodydd pregethu a'r Cymanfaoedd gwelir hefyd mor llwyr y mae ein gwlad wedi ei darostwng i wrando yr Efengyl. Nid oes odid ardal yn Nghymru na chynhelir Cyfarfod Pregethu ryw bryd yn ystod y flwyddyn, gan agos bob enwad; ac ar yr adegau hyny y mae pawb yn rhoddi eu gorchwylion heibio fel pe byddai yn Sabboth—ac y mae y cynulliadau mawrion a geir i Gymanfaoedd y gwahanol enwadau yn beth na cheir mewn unrhyw wlad arall Gwelir pump—deg—pymtheg—ac ugain mil o bobl yn cyfarfod yn yr awyr agored i wrando yr Efengyl; ac yn sefyll yno am ran o ddau ddiwrnod i wrando dwy ac weithiau dair pregeth yn yr un odfa. Nid oes yr un sefydliad Cenedlaethol yn ein gwlad wedi cyrhaedd a chynal poblogrwydd y Gymanfa a'r Sassiwn.

[redacted]



Nid ydym yn dywedyd nad oes llawer o lygredigaeth ac oferedd wedi bod yn y cynulliadau hyn; a chanoedd yn ymgynull iddynt yn unig er mwyn difyrwch a mwyniant; ond y mae fod y fath gynull iddynt yn profi fod ein Cenedl wedi ei darostwng yn lled gyflawn i wrando yr Efengyl. Ac y mae un cynulliad arall y dylem ei grybwyll yma sydd wedi cyrhaedd poblogrwydd neillduol yn ein gwlad, yn enwedig yn y rhanau Amaethyddol o honi, sef y Cyfarfod Diolchgarwch, a gedwir ar ddiwedd cynhauaf pob blwyddyn. Rhoddir diwrnod cyfan iddo—a gwelir rhai dynion yn hwnw, na welir yn un cyfarfod arall ar hyd y flwyddyn. Mae hwn mor boblogaidd fel y gorfydd i bob peth *gilio* o'r ffordd. Digwyddasom fod mewn tref unwaith lle yr oedd y Criwr yn myned drwy yr heolydd, i hysbysu fod amser Arwerthfa oedd wedi ei chyhoeddi i gael ei newid, am ei bod ar ddiwrnod oedd wedi ei nodi i gynal Cyfarfod Diolchgarwch trwy y wlad. Yn mha ran arall o'r byd y buasai raid i'r "*ffair Auction,*" fel ei gelwir, newid ei hamser er mwyn y Cyfarfod gweddi Diolchgarwch?

Y mae crefydd gymdeithasol Cymru yn rhan o fywyd cyffredin. Dyma destyn siarad y lluaws. Yn y gweithdy—ar y ffordd wrth fyned a dyfod i'r farchnad—ar yr aelwyd gartref, yr ymddiddan mwyaf cyffredin ydyw y Capel, y pregethu, y cyfarfod, y gymanfa, yr athrawiaeth, yr Eglwys, neu ryw beth sydd yn nglŷn â chrefydd. Nid yr aelodau yn unig sydd yn gwneyd hyn; ond y mae y gwrandawyr yn teimlo dyddordeb mawr ynddynt; a chan rai o'r dynion annuwiolaf crefydd a'i phethau ydyw testynau eu hymddiddanion yn eu cyfeillachau mwyaf llygredig. Llusgir llestri y cysegr hyd yn nod i'r dafarn, a thrinir helyntion "bwrdd yr Arglwydd" wrth "ford y cythreuliaid." A gwneir hyn nid mewn dirmyg a gwawd, ond rhyw fath o sêl, fel y tybiant, dros grefydd. Mae llawer dau yn y dafarn wedi ymladd dros yr athrawiaeth, yr enwad, y Gweinidog, neu y Capel y cymerant hwy y fath ddyddordeb ynddo. Nid ydym yn dyweyd hyn am ein bod yn cymeradwyo y fath beth. Dymunem ei gondemnio yn yr iaith gryf-

af. Beth sydd a fyno twr o ddynion llygredig yn y dafarn â thrin pethau cysegredig crefydd? "Ond wrth yr annuwiol y dywedodd Duw, Beth sydd i ti a fynegech ar fy neddfau, neu a gymerech ar fy nghyfamod yn dy enau; gan dy fod yn casau addysg, ac yn taflu fy ngeiriau o'th ol." Ond yn unig yr ydym yn dyweyd hyn i ddangos mor gymhlethedig ydyw crefydd gymdeithasol Cymru âg ymddiddanion cyffredin bywyd; a bod yn rhaid fod crefydd gymdeithasol yn uchel yn y wlad hono y byddo ei thrigolion yn teimlo felly.

Cynulliadau cymdeithasol crefydd sydd wedi bod yn lleoedd hyfrydwch ein cenedl. Dichon nad oes yr un wlad yn fwy amddifad o leoedd o ddifyrwch. Yr oedd Cymru gynt yn orlawn o ddrel-gampau ofer a phechadurus. Ymgasglai gwahanol blwyfydd i fynwent rhyw Eglwys i ymryson neidio, codymu, chwareu pêl, neu gicio pêl droed; a blaenorai yr Offeiriad yn y campau, ac wedi chwareu yno nes blino, yna elent gyda'u gilydd i dafarn y Llan, i dreulio gweddill y dydd. Ymgesglid ar amserau i lanerchau nodedig i ymladd cwn a cheiliogod; ac ar dyddiau gwyliau, neu achlysuron o *orfoledd* neillduol mewn ardal, gosodid gwŷr a gwragedd i ymryson rhedeg mewn sachau, i ddringo polion wedi eu seboni, a chyffelyb ynfydrwydd. Ond ymosododd yr Efengyl a'r Ysgol Sabbothol ar yr ofer gampau hyn, ac ymlidiwyd hwy yn llwyr o'n gwlad, a byth na ddeued y diwrnod du, cymylog hwnw, yr adferer yr hen chwareuon annuwiol. Nid ydym yn condemnio pob difyrwch, nac yn amheu dim na byddai llawer arferiad, pe cedwid hi o fewn terfynau priodol, yn llesiol i gryfder ac iechyd; ond y mae y fath anhawsder i dynu y llinell derfynol; a'r perygl y fath os dechreuir, na wyr neb pa le y dybenir; fel mai diogelach yn mhob ystyr ydyw cadw mor bell ag y byddo modd o derfynau y drel-gampau yma. Drwg oedd genym weled eu bod wedi eu hadfer ar achlysuron neillduol mewn rhai manau yn ddiweddar, gobeithio na chymer cyfeillion crefydd mewn awr wan eu harwain i brofedigaeth gan ddynion na byddai dim yn fwy o hyfrydwch iddynt na

[redacted]



medru darostwng Cymru i'r barbareiddiwch yr oedd ynddo ddau can' mlynedd yn ol.

Y Capel a'r pethau cysylltiedig âg ef sydd wedi bod yn lle hyfrydwch ein gwlad. Yr Ysgol Sabbothol a'r Cymanfaoedd perthynol iddynt, lle yr adroddir pynciau—y Cyfarfod Misol a'r Cwrdd Chwarterol a ddysgwylid gyda phryder—a myned i'r Gymanfa neu y Sasiwn oedd nôd penaf yr uchelgais. Nid oes odid Chwareudy yn ein gwlad, nac ond ychydig fanau lle y cyfarfyddir yn unig er mwyn difyrwch. Ysywaeth y mae ein gwlad yn llawn o dafarnau, a dyma y neuaddau mwyaf dinystriol i foesau a chrefydd y genedl ; ond edrychir ar dafarnau yn fwy fel lleoedd i borthi blys, nag i weinyddu mwyniant a difyrwch. Y mae agos yr holl gyfleusterau a geir i gyfarfyddiadau er difyrwch ac adloniant cymdeithasol, i'w cael yn Nghymru mewn rhyw gysylltiad â'r Capeli.

Mae talentau blaenaf y genedl wedi eu cyflwyno i wasanaeth crefydd yn ein gwlad. Y pwlpud oedd yr unig le yn Nghymru y gallasai dyn o dalent ac athrylith weithio i'r golwg hyd yn ddiweddar. Mae yn wir fod genym nifer o feirdd a llenorion wedi cyrhaedd gradd o gyhoeddusrwydd trwy yr Eisteddfodau, ond ychydig ydynt. Gweinidogion yr Efengyl ydyw y rhan fwyaf o'n Beirdd a'n Llenorion ; ac nid oes ond ychydig wedi cyrhaedd unrhyw fri yn y naill na'r llall, yn ein gwlad, na buont mewn rhyw adeg mewn cysylltiad â'r weinidogaeth yn mysg Eglwyswyr neu Ymneillduwyr, neu yn llygadu arni. Mae y pwlpud wedi cael blaenion meddyliau ein cenedl. Ac yr ydym yn gobeithio, fel y mae cyfleusterau eraill yn ymagor i ddynion o athrylith enill eu bywioliaeth a gwasanaethu eu cenedlaeth, y parha y pwlpud i sicrhau talentau blaenaf y genedl.

Mae y teimlad bywiog sydd, ac a amlygir, yn nôd gwahaniaethol ein crefydd gymdeithasol. Nis gellir cael gafael ar y werin mewn gwlad heb gryn lawer o wres a bywiogrwydd. Mae y dull y dygir crefydd yn mlaen gan yr Ymneillduwyr yn Lloegr, yn enwedig yr Annibynwyr, yn gweddu yn well i

ddynion goleuedig a gwrteithiedig nag i'r werin gyffredin. Mae oerder a ffurfioldeb yn boen i'r lluaws—gwell ganddynt hwy gyfarfodydd heb lawer o ffurfiau a rhodres ynddynt. Mae y dull y gweithiwyd crefydd yn mlaen yn ein gwlad ni yr effeithiolaf at gyfarfod corff y bobl mewn unrhyw wlad; ac i'r graddau y gweithredir ar gynlluniau cyffelyb mewn gwledydd eraill, y dygir y werin i ymhyfrydu mewn crefydd.

Mae y pethau hyn oll yn siarad yn uchel o blaid crefydd gymdeithasol ein gwlad, ac yn rhagoriaethau na cheir hwy i'r un graddau yn un wlad arall. Dymunem na chollir hwy, pa welliantau bynag a ddygir i mewn i'n gweithrediadau cyhoeddus. Gwelliantau, meddwn, oblegid nid yw crefydd gymdeithasol Cymru eto yn berffaith. Os oes rhyw un yn tybied ei bod, eglur yw na wyr efe eto ddim fel y dylai wybod. Dichon y goddefir i ni bellach, wedi canmol cymaint ar ei Rhagoriaethau, ddyweyd ychydig ar

*Ddiffygion Crefydd gymdeithasol Cymru.* Nid gorchwyl hyfryd ydyw dangos beiau; ac y mae yn llawn mor anghysurus i'r beiwr ag i'r beiedig. Ond y mae yn rhaid ei wneyd weithiau, a dylai gael ei dderbyn yn garedig, tra *y gwneir ef* mewn cariad. Ein hamcan ydyw gwella yr hyn sydd feius, symud ymaith frychau ein cariad wleddoedd, a glanhau crefydd Cymru oddiwrth y "gwybed meirw, y rhai a wnant i ennaint yr apothecari ddrewi."

Mae crefydd gymdeithasol Cymru yn cael ei gorfeichio a gormodedd o gyfarfodydd. Ymddengys fel pe byddai rhyw syniad wedi myned allan, nad oes modd gwasanaethu Duw heb fod yn y Capel yn wastadol; ac mai yn y gynulleidfa y mae y cwbl i'w wneyd dros grefydd. Ni fynem ddyweyd yr un gair a barai i neb feddwl yn isel am addoliadau cyhoeddus crefydd. "Yr Arglwydd a gâr byrth merch Sion yn fwy na holl breswylfeydd Jacob." Ac nid oes sail i feddwl yn dda am grefydd neb nad yw yn hoffi myned "gyda'r gynulleidfa, a chydgerdded gyda hwynt i dŷ Dduw." Ond y mae yn bosibl i amledd a lluosogrwydd cynulliadau cyhoeddus cref-

[redacted]



, daflu anfantais ar ffordd cyflawniadau tenluaidd a pher-
ɔl crefydd ; ac nid oes yr un ddyledswydd grefyddol yn
ıeradwy os ydyw yn byw ar waed dyledswyddau crefydd-
raill. Heblaw hyny, gall cyfarfodydd, trwy orfeichiad o
ynt, ladd natur nes anghymhwyso dynion at addoli ; yn
ryfhau tymher ac ysbryd addolgar. Beth feddyliai y dar-
ydd o'r rhifres faith ganlynol o gyfarfodydd a gadwyd yn
ın Capel mewn lle y dygwyddaswn fod unwaith? ac nid
riad oedd y Sabboth hwnw, ond dyna y drefn arferol:
'eu Sabboth cyfarfod gweddi am saith—ysgol am naw—
geth am un-ar-ddeg—cyfarfod athrawon am un—ysgol am
u—cyfarfod dirwestol am bump—pregeth am chwech—
illach ar ol y bregeth—cyfarfod canu ar ol y bregeth gan
losbarth ; a phwyllgor i ryw bwrpas yn cael ei gyhoeddi
osbarth arall ; a'r cwbl yn terfynu rhwng naw a deg, wedi
theg awr agos o lafur caled. Ai tybed mai peth fel yna
w "galw y Sabboth yn hyfrydwch?" Ai wrth fod fel
mewn prysurdeb diddiwedd y mae "gorphwys arno a'i
steiddio?" Onid oes tuedd uniongyrchol mewn pentyru
rfodydd fel yna ar eu gilydd, i yru dynion allan o ysbryd
oli? Mae y naill gynulliad yn sathru ar derfynau y llall ;
ysgwylir i un ddybenu er rhoddi cyfle i un arall i ddech-
; fel y cedwir y gynulleidfa mewn berw parhaus, a'r olwg
fel y môr ar ystorm a'i donau yn dygyfor. Gwyddom
yw y darlun yna i'w gymhwyso, ond at ranau o'r wlad ;
y mae yn briodol i'r rhanau hyny sydd yn fwyaf diwyd a
ithgar gyda holl ranau crefydd. Drwg iawn genym fyddai
ed fod y cynulleidfaoedd hyny yn lleihau yn eu gweithgar-
; ond yr ydym yn credu y byddai yn well i ysbryd cref-
pe byddai y cynulliadau yn anamlach, a'r rhai hyny yn
eu dwyn yn mlaen gyda mwy o astudrwydd a gweddus-

Mae tri gwasanaeth ar y Sabboth yn llawn cymaint ag
l corff ac ysbryd ddal. Odfa am ddeg—ysgol am ddau—
dfa am chwech ; ac ni ddylai cynulleidfa gael ei chadw
ıghyd yn y Capel oddigerth dan amgylchiadau anghyffred-
ım fwy na dwy awr o bellaf.

Dylai pob teulu gael hamdden i addoli Duw gartref cyn cychwyn y boreu; ac nid fod y penteulu yn rhedeg i'r Capel, gan adael ei deulu heb ddarllen na gweddio gyda hwy.

Mae fod cyfarfod gweddi yn y Capel am awr cyn yr oedfa y boreu yn fanteisiol iawn; yn benaf er mwyn y bobl ieuainc sydd mewn teuluoedd na cheir cyfle i gyd-weddio; ond nid oes dim yn fwy dirmygus gan Dduw na dynion yn brysio i'r dŷ i gyfarfod gweddi, heb "ddysgu yn gyntaf arfer duwioldeb gartref." A dylai y gwasanaeth hwyrol derfynu mor brydlon ag y gallai pob teulu wrtho ei hun, adolygu gwaith y dydd, ac adgofio yr hyn a wrandawyd arno. Mae yn bosibl i addoliadau cyhoeddus, trwy orfynychiad, ymlid ymaith deimladau addolgar, yn lle bod yn foddion i'w cynyrchu a'u cryfhau. Dichon y tybia llawer mai un o brif ragoriaethau crefydd ydyw fod y bobl yn treulio cymaint o'u hamser mewn gwahanol gynulliadau ar y dydd sanctaidd; ond yn ein bryd ni, dyma un o'i diffygion blaenaf; ac sydd yn gofyn sylw uniongyrchol er ei wella.

Mae yr amddifadrwydd o ysbryd defosiynol a *welir mor* amlwg yn ein cynulliadau, yn un o ddiffygion ein crefydd gymdeithasol. Mae ysbryd defosiynol yn briodol yn cael ei gynyrchu gan deimlad goruchel o barch i Dduw a'i waith. Hyny oedd yn gwneyd tŷ Dduw yn "lle sanctaidd" i'w bobl gynt; ac yn llenwi eu meddyliau â dwysder ac â difrifoldeb wrth sangu ei gynteddoedd ef. Yn ein hoes ni y mae llawer yn edrych yn isel a dibris ar ymddangosiad defosiynol, oblegid fod Eglwys Rhufain ac Eglwys Loegr yn cadw yr ymddangosiad heb yr ysbryd; ac yn tybied, os yw yr ysbryd ganddynt, nad oes un pwys beth fyddo yr ymddangosiad. Mae yn wir mai ysbryd addoli sydd yn bwysig; ond a ydyw yn bosibl meddu yr ysbryd heb fod hyny yn cario argraff amlwg ar yr ymddangosiad? Oni ddarllenir gofid y galon yn nwysder y wynebpryd? Nid yw gwyneb dyn yn ddim ond dangoseg i'r galon; ac os oes difrifwch ynddi, mae y wyneb yn sicr o arddangos hyny. Yr ydym fel Ymneillduwyr, y mae yn rhaid i

[redacted]



ni addef, yn ddiffygiol iawn mewn dwysder, astudrwydd, a gweddusder yn nghysegr Duw. Gwelir hyn yn y dyfodiad diweddar ac anmhrydlon i dŷ yr Arglwydd—y dull hyf, trystiog, y deuir i mewn—yr aflonyddwch a'r llygadrythu fydd pan y daw dyeithr-ddyn i gynulleidfa—y cellwair a'r gwamalwch a welir yn mhlith ieuenctyd—y syrthni, y cysgadrwydd, a'r diflasder a amlygir—yr agor pen, y dylyfu gen, a'r pesychu diangenrhaid a geir yn aml—y codi, a'r eistedd, a'r symud sydd yn dygwydd yn fynych—y twrf a gedwir gan famau a'u babanod nes anhwylysu y pregethwyr a'r gwrandawyr ; y pethau hyn, yn nghyd â llawer o bethau eraill o'r un natur, a ddengys yn eglur mor ddiffygiol o weddusder a defosiwn ydym fel cenedl yn ein haddoliadau

Gwisga dynion eu hetiau am eu penau yn fynych yn nhŷ yr Arglwydd ; pan y cymerai yr un dynion yn ddirmyg arnynt pe gwisgai dynion eu hetiau yn eu tai hwy. Ymddyga llawer yn y fath fodd fel pe byddai bod yn drwsgl a diseremoni yn profi eu bod yn fwy unplyg a gonest. Nid oes ond ychydig yn ystyried "fod sancteiddrwydd yn gweddu i dŷ yr Arglwydd ;" a bod parch yn ddyledus i'r fan lle y mae "coffadwriaeth o'i enw." Yn briodol iawn y dywedodd un gwr enwog wrth ddarlunio agwedd annheilwng llawer o'n cynulleidfaoedd ; "Pe deuai dyeithr-ddyn at ddrysau ein Capeli, y peth cyntaf a ddywedai wrth agwedd y pregethwr a'r gwrandawyr fyddai, Nid oes ofn Duw yn y lle hwn." Mae Duw i'w wasanaethu "gyda gwylder a pharchedig ofn," cyn y gwasanaethir ef "wrth ei fodd." Llanwer ein cynulleidfaoedd â'r gras hwn.

Mae y cyfleustra a roddir ganddi i ddynion hyf a siaradus i ymwthio i'r golwg, yn un o ddiffygion crefydd gymdeithasol Cymru. Mae ein cyfeillachau crefyddol yn un o'n sefydliadau mwyaf bendithfawr. Pe na buasai yr un esiampl ysgrythyrol o honynt, mae mor naturiol i ddynion yn teimlo yr un fath, ymgynull i fynegi yr hyn a wnaeth Duw i'w henaid. Rhoddodd y cyfarfodydd hyn wedd ar grefydd Cymru, na cheir yn

un wlad arall. Cyfleusterau gwerthfawr ydynt i feithrin a chryfhau profiad crefyddol. Ond yn absenoldeb profiad crefyddol, y mae llawer o ddynion hyfion wedi eu defnyddio i wasanaethu amcanion personol. Wrth gynal cyfeillach eglwysig bob wythnos gan ychydig bersonau, heb lawer o wybodaeth na phrofiad, a bod dan yr angenrheidrwydd o ddyweyd rhywbeth bob tro, y mae y dynion mwyaf hyf a thafodrydd yn cymeryd mantais o'r cynulliadau i ddangos eu dawn, ac arfer eu hawdurdod. Y mae dosbarth o ddynion wedi ymgodi mewn ardaloedd ynglŷn â'r cyfeillachau crefyddol, i dybied eu hunain yn oraclau, a buasai yn drugaredd i grefydd pe cuddiasid hwy drwy eu hoes o'r golwg. Yn lle "anog eu gilydd i gariad a gweithredoedd da,"—a "chynghori eu gilydd bob dydd tra y gelwir hi heddyw,"—ac "adeiladu eu gilydd mewn cariad;" cymerant fantais o'r cyfle i fwrw allan ar ben eu brodyr a'u chwiorydd deimladau Lidiog a bustlaidd eu calonau eu hunain. Gwneyd Eglwys Dduw yn lle i "daflu pentewynion tân, ac i saethu âg arfau marwolaeth." Ac nid y *rhai uchaf* eu profiad crefyddol bob amser ydyw y rhai *parotaf i siarad* yn y cyfeillachau hyn. Clywir ambell un yn adrodd profiad melus yn y gyfeillach, gellid meddwl mai hen saintes yn ymyl y nefoedd ydyw, gan mor uchel y profiad a ddatgana; ond arhoswch hyd dranoeth, os digir hi gan ei chymydoges, medr ffraeo a thafodi yr un mor ddoniol Gwyddom nad yw crefydd i'w beio oblegid fod cymeriadau o'r fath; ac mai camddefnydd o foddion cymdeithasol sydd yn achosi y drygau hyn; ond yr un pryd, y mae ein dull o ddwyn crefydd yn mlaen yn rhoddi cyfleustra i'r fath gymeriadau, yr hyn ni roddir mewn gwledydd lle y dygir crefydd yn mlaen ar gynllun gwahanol. Ni fynem oblegid hyn roddi i fynu ein cyfeillachau, nac yn wir newid y dull o'u cynal; ond byddai yn dda iawn pe byddai digon o ddeall, a barn, a chrefydd yn yr Eglwysi, fel y rhoddid cymeriadau felly i lawr yn esmwyth trwy arwydd eglur o anghymeradwyaeth y frawdoliaeth oll. "Gwynt y Gogledd a yr y gwlaw ymaith, felly wyneb digllon

[redacted]



dafod athrodwr." Edrychiad anghymeradwyol cynulleidfa o ddynion fyddai yn effeithiolach i roddi terfyn ar honiadau cymeriadau o'r fath, nag unrhyw gerydd cyhoeddus a ellir ei weinyddu.

Mae yr awydd cryf sydd am gyffroad a chynhyrfiad yn ein cynulliadau yn un o ddiffygion crefydd Cymru. Yr ydym fel Cenedl yn nodedig am frwdfrydedd teimlad. Dygir y brwdfrydedd yma i gysylltiad a chrefydd ; ac y mae yn anmhosibl ysgaru oddiwrth grefydd Cymru y synied o fywiogrwydd yn ngwasanaeth Duw. Cadwer y tân byth ar aelwydydd ein Heglwysi. Ond y mae yn bosibl disgyn yn rhy isel er peri cynhyrfiad. Nid y teimladau gyffroir trwy daro ar y nwydau a'r teimladau anifeilaidd yw y rhai y mae crefydd yn eu cynyrchu—ond y teimladau sydd yn cyfodi oddiar oleuo y deall —argyhoeddi y gydwybod—gwresogi y serchiadau ac iachau y galon. Ond, yn rhy aml oddiar awydd i enill gwenau a chymeradwyaeth y cynulleidfaoedd, ymostynga pregethwyr i ddyweyd pethau sydd yn ddiraddiol hollol i'r Weinidogaeth. Yr iaith isel—cydmariaethau cyffredin—chwedlau amheus—ac ystymiau anweddus ; pethau sydd yn rhwym o iselhau y weinidogaeth a chrefydd yn ngolwg pob dyn o chwaeth a barn. Ai tybed nad yw safon y weinidogaeth wedi gostwng yn ein gwlad ? Nid ydym yn dyweyd ei fod, ond y mae rhyw bethau yn peri i ni ofni. Mae pob peth arall yn myned yn mlaen, yn ymgodi ; a ydyw y pwlpud, oracl y genedl yn disgyn ? Ni a obeithiwn bethau gwell, er fod y gogwyddiad a welir i aberthu pob peth er mwyn cynyrchu rhyw fath o gyffroad ar y pryd yn peri i ni betruso. Amcan mawr crefydd ydyw addysgu dyn—dyrchafu dyn—gwella dyn—"creu dyn o newydd yn Nghrist Iesu ;" ac at hyny y dylai y weinidogaeth gyfeirio. Mae pob is ddyben yn anheilwng o weision yr "hwn a dywalltodd ei enaid i farwolaeth" er mwyn cadw pechadur. Nid enill clod na chymeradwyaeth dynion, ond ateb cydwybod dda, a rhyngu bodd Duw a ddylai ein cymhell yn y cwbl. "Na wneler dim trwy gynen neu wag ogoniant."

Mae llawer iawn wedi ei wneyd gyda chrefydd yn y byd trwy "gynen a gwag ogoniant." Mae Eglwysi wedi eu ffurfio—Capeli wedi eu codi—dyledion wedi eu talu—cynulleidfaoedd wedi eu casglu—"trwy gynen a gwag ogoniant." Yr oedd yn nyddiau Paul rai yn "pregethu Crist o genfigen;" ond tystiai ef yn groyw drosto ei hun a'i frodyr, "Canys y mae cariad Crist yn ein cymhell ni;" a theimlai os ymwerthai i ryngu bodd dynion, na byddai yn was i Grist. A pha hyd bynag y mae y pregethwr yn ymostwng i wneyd dim cyffredin neu isel, er ennill gwên, a rhyngu bodd dynion, y mae Mab Duw yn plygu o'r nefoedd gan waeddi, "Nid yw deilwng i honof fi." Ac oddiwrth hyn ni all crefydd gyhoeddus Cymru ddyweyd "glân ydwyf."

Yr ydym yn cydnabod fod brychau a diffygion yn nghrefydd gymdeithasol Cymru, ond brychau ar wyneb yr haul ydynt; crefydd Cymru yn y diwedd sydd wedi gosod anrhydedd arni. Y mae genym ein mynyddoedd tywysogaidd a ymgodant hyd y nefoedd, y mae genym ein hafonydd gloywon, dyfadwy, y mae genym ein llynoedd llonydd yn nghesailiau y mynyddoedd, y rhai sydd fel drychau yn adlewyrchu goleuni yr haul. Y mae genym ein glynoedd dyfnion, ein cymoedd cuddiedig, lle y gwelir golygfeydd rhamantus. Y mae genym ein dyffrynoedd cyfoethog—a'u broydd breision sydd yn ychwanegu at brydferthwch ein bryniau ysgythrog; ond *crefydd Cymru sydd wedi gosod anrhydedd arni.*

Mae yn ein mynyddoedd cuddiedig, o gerig, a haiarn, a glo, a phlwm, a chopr, ac arian, ac aur; fel na feiddia neb a wyr am ei hadnoddau mewnol hi alw Cymru dlawd arni. Mae genym gynyrchion awenyddol ein Beirdd, y rhai a ganasant yn orchestol dan anfanteision dirfawr mewn gwlad orchfygedig; a darllenir eu cyfansoddiadau tra Cymru, Cymro, a Chymraeg. Mae genym ein sefydliadau Cenedlaethol, dros y rhai y mae teimlad angerddol yn mhob gwladgarwr diffuant; ac y mae yr ymdrech a wneir y dyddiau hyn i'w puro a'u gwella yn haeddu y gefnogaeth wresocaf; *ond crefydd Cymru sydd*

[redacted]



*ədi gosod anrhydedd arni.* Amserol, a therfynol, ydyw ıb enwogrwydd arall ; ond dyma anrhydedd anfarwol. weliɪ effeithiau crefydd Cymru ar filoedd pan na bydd Cymru wy. Siglir ei mynyddoedd cribog—atelir rhediad ei hafond gloywon—sychir ei llynoedd dysglaer—cydymdodda ei ymoedd a'i dyffrynoedd—treulir allan ei holl wythienau—sgir cynyrchion ei Beirdd a'i hanesyddion—a llyncir yr hen th i fynu gan ddull ysbrydol tragywyddoldeb ; ond bydd efydd Cymru yn ei gwerth y pryd hwnw ; a miloedd trwy dylanwad hi wedi eu gwneyd " yn deilwng i sefyll ger bron ab y dyn."

11

# PREGETHAU.

## PREGETH I.

### DYLANWAD GWEINIDOGAETH Y GROES.

1 CORINTHIAID I. 18.

"Canys yr ymadrodd am y groes, i'r rhai colledig, ynfydrwydd yw; eithr i ni y rhai cadwedig, nerth Duw ydyw."

Wrth y groes yn briodol y golygir y pren ar ba un yr hoelid y rhai a ddedfrydid i'w rhoddi i farwolaeth yn mysg y Rhufeiniaid. Wrth y groes yn drawsenwol y deallir yr aberth a roddwyd gan Grist ar y groes. Gelwir ef felly am mai ar y groes y terfynodd ei ddyoddefaint, ac y perffeithiwyd ei aberth. Wrth yr "Ymadrodd am y groes," y meddylir y Weinidogaeth Efengylaidd, enaid a bywyd yr hon yw croes Crist. Ni olygir wrth hyn fod yn rhaid i bob pregeth cyn y byddo yn Efengylaidd gynwys enw Crist yn y testyn; ond ei bod yn gwneyd y gwirioneddau cysylltiedig â'r groes yn bwynt ei chenadwri. Mae y weinidogaeth yma yn gadael effeithiau gwahanol ar ei gwrandawyr—"i'r colledig ynfydrwydd yw"—ffolineb yn ngolwg yr anghrediniol ydoedd y fath weinidogaeth syml a diaddurn, "i'r Iuddewon yn dramgwydd, ac i'r Groegwyr yn ffolineb." "Eithr i ni y rhai cadwedig nerth Duw ydyw." Gan y crediniol y mae yn cael ei theimlo "yn eglurhad yr Ysbryd a *nerth;*" yn "Grist *gallu* Duw;" "mewn *nerth* ac mewn sicrwydd mawr;" "*nerth* Duw ydyw."

[redacted]



Mae nerth yn perthyn i'r "ymadrodd am y groes," fel gweinidogaeth. Mae cyfaddasder yn y gwirionedd yma ei hun i gynyrchu effeithiau grymus ar y meddwl.

Y mae croes Crist yn cael ei gosod allan yn y Beibl yn ei pherthynas â'r weinidogaeth mewn dau olygiad; fel yr eglurhad cywiraf ar holl athrawiaethau a dyledswyddau yr efengyl, ac fel y cymhelliad cryfaf iddynt. *Croes Crist ydyw yr esboniad egluraf arnynt.* Nid oes modd deall amcan a chysylltiadau athrawiaethau yr efengyl, na chydnabod priodoldeb dyledswyddau crefydd, heb edrych arnynt o Galfaria. Dyma y drych sydd yn adlewyrchu gogoniant arnynt—dyma yr haul yn nghyfundrefn yr efengyl, sydd yn taflu goleu ar, a gwres i'r athrawiaethau sydd fel cynifer o blanedau yn troi o'i gylch. Y mae un awdwr yn sylwi, pe cyfansoddasai "Gorph o Dduwinyddiaeth," y dechreuasai gydag Iawn Crist, fel sylfaen yr adeiladaeth neu ganolbwynt y gyfundraeth, ac oddiyno dynu llinell i bob athrawiaeth, egwyddor, dyledswydd, ac ordinhad. Croes Crist sydd yn esbonio pob gwirionedd, yn goleuo pob athrawiaeth, yn llewyrchu ar bob dyledswydd, ac yn gwresogi pob ordinhad. Yma y mae "bywyd ac anllygredigaeth wedi eu dwyn i oleuni"—"yr hyn oedd guddiedig er yr oesau a chenedlaethau" wedi ei ddadlenu—"mawr amryw ddoethineb Duw" wedi ei hysbysu—a'r "holl bethau yn y nefoedd ac ar y ddaear yn Nghrist Iesu wedi eu crynhoi." Ond nid yr *eglurhad* y mae croes Crist yn roddi arnynt, ond y *cymhelliadau* iddynt, gaiff fod dan ein sylw yn bresenol.

DYLANWAD GWEINIDOGAETH Y GROES.

I. SYLWADAU EGLURHAOL YN ARWEINIOL I'R MATER.

1. Wrth sefydlu dylanwad neillduol Gweinidogaeth y Groes, dylid sylwi Nad ydyw Gweinidogaeth y Groes fel trefniant o foddion yn ddigonol i gynyrchu argyhoeddiad, yn annibynol ar ddylanwadau Dwyfol. Y mae aberth Crist, yn ei berthynas â Duw, fel trefniant yn berffaith—"Yr hwn a osododd Duw yn Iawn," ac atebodd yr amcan yn gyflawn, ac y mae yn sail

gadarn i "gymodi y byd âg ef ei hun," Ond y weinid
am dano, moddion moesol ydyw, ond ei fod y moddi
addasaf i gyrhaedd yr amcan, eithr nid yn ddigonol
yrchu dychweliad heb ddylanwadau Dwyfol. Er preg
gwirioneddau mwyaf efengylaidd, yn yr ysbryd mwyaf
ylaidd, heb ddylanwadau Dwyfol ni ddychwelir un ena
fod genym "Grist wedi ei groeshoelio" i'w bregethu
cael ysbryd Crist i fendithio cyn y bydd y weinidoga
dano yn fendithiol.

2. Wrth ddywedyd mai yn y groes y mae nerth yr
Nid yw hyny yn tybied fod dyledswyddau i gael eu ca
o'r weinidogaeth Y mae yn perthyn i grefydd ddyled
au lluosog a phwysig, ac nis gellir gwneyd cyfiawnder
engyl wrth "attal dim o'r pethau buddiol." Y mae
o waith y weinidogaeth "i rybuddio pob dyn, a dys
dyn, fel y cyflwyno bob dyn yn berffaith yn Nghrist
Dylai pob gwirionedd athrawiaethol fod o duedd ym
Byddai Paul yn disgyn i lawr oddirhwng mynyddoedd
iad tragywyddol, dros ddyffrynoedd breision bywyd ac
Crist, i ddolydd prydferth buchedd dduwiol; ac nid o
man mor anogaethol i rinwedd ag angau Crist. Os pre
cariad tragywyddol ac Iawn anfeidrol, rhaid eu cysyl
ymarferol, "fel na choller pwy bynag a gredo." Os
ethir "etholedigaeth yn ol rhagwybodaeth Duw Dad,
eiddiad trwy yr Ysbryd Glân," rhaid eu dwyn i gys
â "ffydd i'r gwirionedd." Y mae pob gwirionedd a
iaethol i gael ei ddefnyddio yn gymhelliad i ddyledswyd
arferol.

3. Wrth sefydlu Dylanwad Gweinidogaeth y Groes
ydym yn golygu nad oes cymhelliadau i rinwedd heblaw
groes. Mae cyfres o rinweddau saint y cynoesau wedi
nodi ar dudalenau yr Ysgrythyrau, a'r cwbl er ein hadd
Gyda eu holl ragoriaethau, y mae bloedd ysbrydoliaeth
"Meddyliwch am eich blaenoriaid, y rhai a draethasant
air Duw, ffydd y rhai dilynwch"—diniweidrwydd Abel,

[redacted]



dod Noah, ffydd Abraham, taerineb Jacob, purdeb Joseph, llareidd-dra Moses, gwroldeb Elias, ffyddlondeb Dafydd, amynedd Job, gonestrwydd Ioan Fedyddiwr, sêl Pedr, llafur Paul, serchawgrwydd Ioan, ac oddiyno heibio i Gristionogion duwiolfrydig y canrifoedd diweddaf, a gwrandewch, " O herwydd paham, gan fod cymaint cwmwl o dystion wedi eu gosod o'n hamgylch, gan roddi heibio bob pwys, a'r pechod sydd barod i'n hamgylchu, drwy amynedd rhedwn yr yrfa a osodwyd o'n blaen." Ond y mae yn methu sefyll ar hyny ; rhag y gall fod rhyw ddiffyg ynddynt oll, cyfeiria ein sylw at siampl berffaith, "gan edrych ar Iesu." Neu gallwn daflu ein golygon yn mlaen at y dyfodol, pan osodir i fyny yr orsedd farnol, ac y sefydla cyfiawnder dynged y byd, ïe, tu draw i'r farn, a gadael i'r meddwl rolio ar hyd flaenion fflamau gwyrddleision y " tân anniffoddadwy," ac oddiyno dynu cymhelliadau i losgi ein cariad at bechod, a gwresogi ein cariad at Dduw. Ond y mae cymhelliadau cryfach yn nês gartref sef yn angau Crist. Crybwylla yr hen Gurnal, mewn cyfeiriad at hyn yma, am sefyllfa Israel pan heb ôf yn eu mysg, a phob un yn gorfod myned i waered at y Philistiaid i " flaen-llymu ei swch, ei fwyell, ei gwlltwr, a'i gaib ; " ond na ddaw byth adeg ar y Cristion y bydd eisiau iddo ef fyned yn ol at yr hen seintiau, nac yn mlaen at y farn a'i chanlyniadau, oblegid y mae digon o gyfle iddo awchio ei arfau rhyfel a'i offer gwaith yn angau Crist.

4. Wrth sefydlu Dylanwad Gweinidogaeth y Groes, Nid ydym yn golygu nad oes goruchwyliaethau ereill wedi eu bwriadu i effeithio dychweliad pechaduriaid. Mae Rhagluniaeth a'i holl amgylchiadau at law Duw i ateb ei amcan yn nychweliad eneidiau. Mae pob peth a wna yn wahanol ddolenau yn y gadwyn i gyrhaedd pechadur. Mae gwasgfeuon a chyfyngderau rhagluniaethol, cystuddiau teuluaidd a phersonol, a marwolaeth cyfeillion a pherthynasau, wedi eu bwriadu ac wedi ateb y dyben i hyny : " Troi ddyn i ddinystr, a dywedi, Dychwelwch feibion dynion." Mae cyhoeddiad bygyth-

ion a melldithion y Beibl wedi ateb dyben i ddeffroi pechaduriaid. Y mae y bygythion yn foddion dychweliad cyhyd ag y byddo anogaethau i ddychweliad yn gysylltiedig â hwy. Maent wedi bod yn effeithiol i ddeffroi cysgadrwydd, a difrifoli meddyliau gwrandawyr difraw, Ond yn Nghalfaria y mae y pechadur yn cael awel bywyd ac anadl einioes, ac yn "myned trwodd o farwolaeth i fywyd;" oblegid tra byddo gwasgfeuon a chystuddiau yn tori y brigau ac yn ysgythru y ceinciau, bydd Gweinidogaeth y Groes â'i bwyell ar "wreiddyn y prenau;" tra y byddo goruchwyliaethau rhagluniaethol yn parotoi ar gyfer cynhauaf y byd, bydd y groes wedi "bwrw y cryman i mewn i fedi;" tra y byddo y bygythion a'r barnau yn casglu nerth i daro pechadur, bydd y groes wedi ei gael i law, ac wedi rhoddi ei fywyd iddo yn ei threfn ei hunan. Yma y mae "mawr nerth" yr efengyl.

II. Fod Dylanwad y Weinidogaeth yn Nghroes Crist.

Cyn dwyn yn mlaen ffeithiau i gadarnhau y gosodiad, cawn gyfeirio at y wedd y mae y Beibl yn roddi ar y pwnc. Wrth gymhell pob dyledswydd, y mae yn hol ei nerth o *groes Crist*. Pan yn argymhell *haelioni crefyddol*, geilw eu sylw at siampl ddigyffelyb: "Yr hwn, ac efe yn gyfoethog, a ddaeth er ein mwyn ni yn dlawd, fel y cyfoethogid ni drwy ei dlodi ef." Pan yn anog i *ostyngeiddrwydd*, cyfeiria ein meddwl at "yr Hwn, ac efe yn ffurf Duw, ni thybiodd yn drais fod yn ogyfuwch â Duw, eithr Efe a'i dibrisiodd ei hun, gan gymeryd arno agwedd gwas." Pan yn anog i *burdeb a santeiddrwydd*, geilw ein sylw at "Grist ein Pasg ni, yr hwn a aberthwyd drosom ni"—"Er gwerth y'ch prynwyd, na fyddwch weision dynion." Pan yn cymhell *goddefgarwch ac amynedd*, dengys i ni "yr Hwn, pan ddifenwyd ni, ddifenwodd drachefn; pan ddyoddefodd ni fygythiodd"—"Ystyriwch yr Hwn a oddefodd gyfryw ddywedyd yn ei erbyn gan bechaduriaid, fel na flinoch ac nad ymollyngoch yn eich eneidiau." Mae holl osgo y gwirionedd yn cyd-ddangos fod y cymhelliad cryfaf i bob dyledswydd yn cyfodi oddiwrth Groes Crist. Ond cymerwn olwg ar Ddylanwad Gweinidogaeth y Groes—

[redacted]



1. *Yn yr oes Apostolaidd.* Oes y llwyddiant mawr oedd yr oes hono. Yr oedd y gweithwyr yn deall eu gwaith, ac yn awyddus i'w gyflawni. Ar ddydd y Pentecost; dacw dyrfa fawr wedi dyfod yn nghyd o wahanol genedlaethau i'r ŵyl neillduol. Chwarddant ar y dechreu am ben yr addolwyr, gwawdiant ddisgyniad y tafodau gwahanedig megys o dân, a haerant mai meddwon oeddynt y bobl oedd dan deimladau gwir grefyddol yn addoli Duw. Safodd Pedr, y pregethwr dewr, gwrol, a grymus i fyny wedi ei "wisgo â nerth o'r uchelder." Disgynai ei weinidogaeth yn gawodydd tanllyd ar ben y gynulleidfa, nes y swynid meddyliau y lluaws gan y dylanwadau—pob llygad yn craffu arno—pob clust yn hoeliedig ganddo—pob meddwl yn rhwym wrth ei feddwl—pob calon yn deml gysegredig i'w destyn—y dyrfa yn hongian wrth ei wefusau—y genadwri yn disgyn fel "gwlithwlaw ar îrwellt, neu gawodydd ar laswellt," nes y torwyd ar draws cadwyn hyawdledd y pregethwr gan fonllefau y miloedd oeddynt wedi eu dwysbigo yn eu calonau, "*Ha, wyr frodyr, beth a wnawn ni?*" Beth gynhyrfodd y fath ymofyniad pryderus mewn cynifer o filoedd o'r fath gymeriadau? Dim ond adroddiad syml a diaddurn o hanes marwolaeth ac adgyfodiad Crist. Enaid y weinidogaeth argyhoeddiadol hono ydoedd, "Yr Hwn a gymerasoch chwi, a thrwy ddwylaw anwir a groeshoeliasoch ac a laddasoch—Hwn a gyfododd Duw—Am hyny, wedi ei ddyrchafu drwy ddeheulaw Dyw, ac wedi iddo dderbyn gan y Tad yr addewid o'r Ysbryd Glân, efe a dywalltodd y peth yma yr ydych chwi yr awr hon yn ei weled ac yn ei glywed—Hwythau, wedi clywed hyn, a ddwysbigwyd yn eu calon." Gweinidogaeth y Groes rwygodd yr hen galonau creigaidd. Trwy ddylanwad y weinidogaeth yma, ffurfiwyd eglwysi yn Corinth, eisteddle llygredigaeth ac aflendid—yn Antiochia, yr hon oedd enwog am ei gwychder a'i marsiandiaeth—yn Ephesus, lle yr oedd teml orwych Diana—yn Athen, cartrefle dysgeidiaeth—ac yn Rhufain, prif-ddinas y byd eilunaddolgar. Yr oedd pob dydd newydd yn cyfrif ychwanegiad

at rifedi y Cristionogion ; ac er lluddias i'r apostolion gan “ farwolaeth i barhau,” yr oedd yr efengyl yn llwyddo ; ac yn ngwyneb erledigaethau yr oedd natur yn brawychu o'u blaen, yr oedd Cristiynogaeth yn “ dal ei ffordd, ac yn ychwanegu cryfder ”—yn myned allan yn gorchfygu ac i orchfygu. Croes Crist oedd testyn y frwydr, a'r Ymadrodd am y Groes oedd arfau y rhyfel ; a thrwy ei dylanwad ymwrthodwyd â'r defodau eilun-addolgar—dymchwelwyd yr allorau—gadawyd y duwiau mewn unigedd i dosturio y naill wrth y llall mewn mudanrwydd—dystawyd llais celwyddog yr oraclau—diffoddwyd hudlewynau twyllodrus coeg-athroniaeth—a syrthiodd Satan fel mellten o'r nef.

2. *Yn y llwyddiant a ddilynodd yr ymdrechiadau cenadol, cadarnheir yr un gosodiad.* Mae cynlluniau wedi eu tynu gan Gristionogion yn awr er ys ugeiniau o flynyddau i efengyleiddio y byd, ac y mae graddau helaeth o lwyddiant wedi bod ar eu llafur ; ond diamheu pe deallasai y cenadon eu gwaith yn well, y buasai y llwyddiant yn fwy ; oblegid y mae yn ffaith mai yn y lleoedd hyny, a chyda y *weinidogaeth* hono sydd yn rhoi mwyaf o arbenigrwydd i'r “*ymadrodd am* y groes,” y mae y llwyddiant mwyaf wedi bod. Camsyniad mawr, ond camsyniad cyffredin dysgawdwyr cyntaf pob gwlad ydyw arwain meddyliau eu gwrandawyr at wirioneddau moesol a chyffredinol, gan dybied fod y bobl, yn eu sefyllfa anwaraidd, yn anghymhwys i dderbyn y “gwirionedd fel y mae yn yr Iesu.” Y mae Dr. Brainard, Apostol yr Indiaid Americanaidd, wedi gadael ar ei ol draethawd gorchestol i hysbysu y byd mai trwy bregethu Crist croeshoeliedig y galluogwyd ef i gyfodi eglwysi Cristionogol yn yr anghyfanedd-leoedd lle y bu yn preswylio. Rhoddir canmoliaeth anarferol i John Williams, Apostol Ynysoedd Môr y deau fel dyn cymhwys i waith, a llwyddianus yn ei lafur. Adroddir mai ei destyn cyntaf yn mhob man ydoedd, “ Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd Efe ei unig-anedig fab ; fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywydd-

[redacted]



ol." Yn wir, gan fod *ganddo* weinidogaeth apostol, ac *ynddo* ysbryd apostol, nid rhyfedd fod *iddo* lwyddiant apostol, ac *arno* enw apostol. Dyma arfau gwaith Dr. Carey, yn India, Dr. Morrison yn China, a Moffat yn mysg barbariaid Affrica. Y Groes wareiddia y byd; hon oleua yr Hindw anwybodus, ystwytha y Chinead anhyblyg, wareiddia yr Affricaniad gwyllt, gyfarwydda yr Indiad crwydredig, ac a wresoga fynwes y Greenlandiad crynedig â chariad Crist.

3. *Yn ngoruchafiaeth yr efengyl yn ein gwlad ein hunain, ceir profion o ddylanwad yr un weinidogaeth.* Nid rhaid myned yn ol i ddyddiau yr Apostolion, nac at orchestion y Diwygwyr ar y cyfandir, a Whitfield a'i gydoeswyr yn Lloegr, a'r cenadon yn y byd Paganaidd, er cael golwg ar nerth a dylanwad Gweinidogaeth y Groes; ond edrycher ar ei heffeithiau rhyfeddol yn ein gwlad ein hunain. Nid oes un genedl dan haul yn fwy hoff o'u harferion cenedlaethol na'r Cymry, ac eto nid oes yr un genedl wedi gadael ei harferion annuwiol yn llwyrach; ac y mae y cyfnewidiad i gael ei briodoli yn hollol i ddylanwad y weinidogaeth. Pa mor ddyledus bynag ydyw cenedloedd ereill i bethau ereill, mae y Cymry yn ddyledus i'r pwlpud—dyma oracl yr oes; a hwyrach nad yw y pwlpud wedi cael ei gadw mor bur yn mysg un genedl. Mae y "gwirionedd fel y mae yn yr Iesu," ond gydag ychydig eithr-[illegible] cael ei bregethu yn mhwlpudau ein gwlad; a dyma [illegible] wareiddiodd y genedl Yr oedd ein hynafiaid "yn gorwedd mewn drygioni," "tywyllwch yn gorchuddio y ddaear, a'r fagddu y bobloedd." Buasai coel grefydd ein tadau yn chwerthin am ben moes-wersi y byd, a'u campau a'u chwareuon yn herio addysgiadau sychion athronwyr; ond dacw yr hen Buritaniaid a'r Anghydffurfwyr yn myned allan, a'r groes ar faner eu gweinidogaeth, ac wele eu *nerth* yn taro y pitiau, y twmpathau, a'r chwareuon annuwiol yn gydwastad a'r llawr—wele eu *goleu* yn gyru yr ysbrydion i'r cysgod, y drychiolaethau o'r golwg, adar y nos i ffoi, a gwawr dydd efengyl i dywynu— ac wele ei *gwres* yn toddi calonau celyd mil-

oedd o feibion gwynion Gwalia. Ac er i ddirywiad ymdaenu tua diwedd y ddwyfed ganrif ar bymtheg, pan y dechreuwyd amheu gwirioneddau syml yr efengyl, dygwyd cwestiynau a ymrysonau i mewn nad oeddynt fuddiol i ddim ond i ddychwelyd y gwrandawyr, gyrwyd Crist i'r cysgod yn y weinidogaeth, collwyd y dylanwadau i raddau, ac ymdaenodd gwywdra dros ardd yr Arglwydd yn ein gwlad. Ond yn gynar yn y ddeunawfed ganrif dacw gedyrn y weinidogaeth yn ymddangos, y rhai oeddynt yn deall ac yn teimlo bywyd yr efengyl. Goleuasant fel lampau yn nhywyllwch ein gwlad—dysgleiriasant fel sêr yn ffurfafen y weinidogaeth—arweiniasant eu gwrandawyr yn eu cyfer i Galfaria—codasant eu safle yn ymyl croes Crist—pregethasant athrawiaethau pwysig yr efengyl—cydweithiodd llaw yr Arglwydd—teimlodd y byd awdurdod Duw gyda'u gweinidogaeth—a miloedd a droisant i'r ffydd. Ac y mae y weinidogaeth yma heb ei choll i'n gwlad: tywyna yr haul yn ei ddysgleirdeb—mae Iesu Grist yn cael "ei godi a'i ddyrchafu, a bydd cyn hir yn uchel iawn." A byth na thywyno haul ar y diwrnod yr ymlidir *Crist* a'i groes i'r cysgod yn mhwlpudau Cymru! Os bydd y pregethwr yn hyawdl, cysegred ei hyawdledd i ddyrchafu Crist; os bydd yn ddysgedig, cysegred ei ddysgeidiaeth i dd[illegible] Crist. Beth bynag o "ysgrifen ei[illegible] ef" [illegible] Hebraeg, y Roeg, a'r Lladin, hoelier [illegible] ef; oblegid os tynir Crist o'r efengyl, [illegible] er y weinidogaeth o Galfaria, hi gyll ei hadd[illegible] y [illegible] o hanes marwolaeth Crist, hi gyll ei mawr gryfder; andfader hi o'r ymadrodd am y groes, ac fe dorir cydynau ei gwallt, a chynygiwn fod pob capel i gael ei godi, a phob pregethwr i sefyll i fyny ar lethr mynydd Calfaria yn ngolwg y groes; oblegid dyma y fan i doddi calon pechadur. "Na ato Duw, gan hyny, i mi ymffrostio ond yn nghroes ein Harglwydd Iesu Grist, drwy yr hwn y croeshoeliwyd y byd i mi, a minau i'r byd.

III. Paham y mae y fath ddylanwad yn Ngweinidogaeth

[redacted]



Y GROES! *Am mai yma y mae mwyaf o gariad yn cael ei amlygu.*

1. *Y mae dyn yn greadur i ddylanwadu arno.* Y mae yn ddeiliad cymhelliadau ac anogaethau. Gweinidogaeth y ffrewyll, y fflangell, a'r wialen yn unig effeithia ar yr anifail; ond y mae dyn yn greadur uwch, ac felly i ddylanwadu arno gan foddion rhagorach, sef cymhelliadau, anogaethau, bygythion, ac addewidion. Mae yn fôd i siarad âg ef: "A ni, gan hyny, yn gwybod ofn yr Arglwydd, ydym yn perswadio dynion."

2. *Mai cariad ddylanwada gryfaf ar ddyn.* Mae dylanwad gan ofn, cyfoeth, awdurdod, &c.; ond y dylanwad a enellir drwy gariad a hynawsedd sydd gryfaf a grymusaf. Pan oedd Syria yn rhyfela âg Israel, tarawodd yr Arglwydd hwy â dallineb. Arweiniodd Eliseus hwy i ganol Samaria; a'r brenin, yn lle eu cymeryd yn garcharorion, a roddes iddynt fara a dwfr, ac a'u gollyngodd ymaith; ac wedi derbyn y fath garedigrwydd, breninoedd Syria "ni chwanegasant ddyfod mwyach i wlad Israel." Cariad sydd yn gorchfygu—mae yn "gryf fel angau."

3. *Mai cyfundraeth o gariad yw yr efengyl.* Mae yn wir fod iddi agweddau ereill, ond gellir edrych arnynt fel cynifer o linellau cariad. Mae ei holl athrawiaethau a'i dyledswyddau yn crogi ar gariad fel ar "hoel mewn lle sicr." "Duw *cariad*" yw ei hawdwr—"*cariad* yw cyflawnder y gyfraith"—"ffydd yn gweithio drwy *gariad*" yw ei ffydd—"gobaith ni chywilyddia, am fod *cariad* Duw wedi ei dywallt ar led yn y galon"—"*cariad* ydyw rhwymyn perffeithrwydd." Mae fel drych yn crynhoi holl belydrau Cristionogaeth i gyd-ddysgleirio mewn cariad.

4. *Mai prif amlygiad yr efengyl o gariad Duw ydyw angau y groes.* Yma y mae "Duw yn *canmol* ei gariad"—"y mae cariad *uwchlaw gwybodaeth*"—"*yn hyn* y mae cariad." Gwelwyd gallu Duw mewn creadigaeth, ei ddoethineb mewn Rhagluniaeth, a'i gyfiawnder mewn barnedigaethau tymhorol,

ond "yn hyn yr eglurwyd *cariad* Duw." Nerth ei *fraich* a welir yn mhob man arall, ond yma y gwelir nerth ei *galon*: "Yn hyn yr *eglurwyd* cariad Duw." Gwelwyd gwawr cariad yn Eden, tremiad cariad ar Sinai, llewyrchiad cariad yn yr aberthau, dysgleirdeb cariad yn Bethlehem; ond ar Galfaria yr *eglurwyd*, yr *esboniwyd*, y *dadleuwyd* cariad Duw! Dyma *orchest* cariad! Dyma gariad uwchlaw gwybodaeth! Dyma gariad ar ei *oreu!* Yma yr esboniwyd calon Duw! Yma y tywalltwyd costrelau cariad—y rhwygwyd y creigiau ac y rhedodd ffrydiau cariad—y datglowyd trysorau cariad—y rhwygodd y cymylau, ac y burstiodd cyflawnder cariad, ac y llifodd yn afonydd at deulu y ddaear; *a hyn* yw y rheswm sydd i'w roddi am y dylanwad nerthol sydd ynddi i orchfygu cyndynrwydd calon pechadur. Tybier fod rhyw foneddwr a chardotyn mewn ymrafael â'u gilydd, a bod y boneddwr wedi cael ar ei feddwl i ymheddychu â'r gŵr tlawd—pa beth a wnai? pa lwybr a gymerai? Ai ei fygwth, ei erlid, ei ddirwy-liwio, a chodi gwarant i'w gosbi, oddieithr iddo ymddwyn yn foesgar tuag ato, a siarad yn barchus am dano? *O nagê*, oblegid ni wnelai hyny ond ychwanegu gelyniaeth y gŵr tlawd; ond os mynai ladd ei elyniaeth, gwell fyddai iddo ei anrhegu â rhoddion, ei lwytho â chymwynasau, a'i feichio â charedigrwydd a daioni, nes argyhoeddi y gŵr tlawd ei fod yn ei wir garu, ni byddai eisieu dim yn ychwaneg; oblegid unwaith y credai y gŵr tlawd ei fod yn ei wir garu, byddai raid i'w elyniaeth ddarfod yn y man, canys nid allwn ni ddal gelyniaeth at neb, a chredu ar yr un pryd ei fod ef yn ein gwir garu. Ar yr egwyddor hon y mae Duw yn gweithredu tuag at fyd o elynion. Mae Duw, y Boneddwr mwyaf yn yr ymherodraeth, wedi meddwl er tragywyddoldeb am wneud cyfeillion iddo ei hun o'i elynion yn ngwlad y ddaear. Pa beth a wna? pa lwybr a gymera? Ai eu bygwth a'u herlid, a danfon i swyddfa cyfiawnder i ymofyn gwarant i'w dal, a'u "taflu i'r tywyllwch eithaf?" O nagê, ond y mae yn eu hanrhegu â'i roddion—yn eu "llwytho beunydd â daioni"—

[redacted]



redi danfon ei Fab i'r byd i farw drostynt—ac yn agor ei fynwes yn Nghalfaria, ac yn gwaeddi, "Nid oes lidiawgrwydd ynof," ac oddiar safle y groes yn cymhell cymod i'w elynion: "Cymoder chwi â Duw."

Nid oes genyf gan hyny ond eich cyfeirio i Galfaria. Dyma yr unig fan i enaid gael gorphwysfa. Dywedir fod yr hybarch Jones, Llangan, yn pregethu unwaith yn nghlywedigaeth Arglwyddes Huntington; ac yn rhyw le tua chanol y bregeth aeth yn dywyll ar y pregethwr; deallodd y bendefiges hyny a gwaeddodd o'i heisteddle, "*Look to Calvary Jones!*" ac felly fu: edrychodd y pregethwr i Galfaria, a daeth goleu yn fuan.

*Hen wrandawyr penllwyd!—hen wrthgilwyr crwydredig!—hen Phariseaid deddfol!* cydedrychwch i Galfaria. Yma daw yr hunangyfiawn i waeddi "ac ym ceir ynddo Ef heb fy nghyfiawnder fy hun"—yma daw yr afradlon i lefain, "Myfi a bechais, beth a wnaf i ti O! geidwad dyn;" ac yma daw yr anufudd i ofyn ar ddarfod am dano, "Arglwydd, beth a fyni di i mi ei wneuthur."

> "Edrych yn y drych hwn dro,
> Gyr galon graig i wylo."

Gristion egwan! yn dy ofnau, dan dy feichiau, er dy amheuon, tro dy olwg tua'r bryn lle daeth it nerth wrth raid cyn hyn. Tafl dy feichiau i lawr yn y fan yma—aros wrth y groes nes dy "newid i'r unrhyw ddelw o ogoniant i ogoniant, megis gan Ysbryd yr Arglwydd."

# PREGETH II.

## GOGONEDDU DUW.

1 Corinthiaid x. 31.

**"Pa un bynag gan hyny ai bwyta a'i yfed, ai beth bynag a wneloch, gwnewch bob peth er gogoniant i Dduw."**

Mae yr Apostol yn y testyn yn gosod i lawr reol gyffredinol i derfynu y dadleuon neillduol oedd yn ffynu yn Eglwys Corinth, ac amryw o'r Eglwysi cyntefig, ynghylch y pethau a aberthwyd i eilunod. Mae yr Apostol yn caniatau nad oedd y pethau a aberthwyd i eilunod ynddynt eu hunain yn ddim gwaeth, " nad oes dim yn aflan o hono ei hun "—" *pob peth* yn wir sydd lân "—beth bynag a werthir yn y gigfa bwytewch ; " hyny ydyw, fod pob ymborth ynddo ei hun yn ddiwahaniaeth yn gyfreithlawn dan yr Efengyl—ond eto fod yn ddyledswydd arbenig ar ddynion dan ryw amgylchiadau ymddifadu eu hunain o'r pethau cyfreithlawn, os bydd yr arferiad o honynt yn fagl i eraill. Mae yr hunanymwadiad yma yn cael ei amddiffyn gan yr Apostol yma—" Pob peth sydd gyfreithlawn i mi, ond nid yw pob peth yn llesau ; pob peth sydd gyfreithlawn i mi, ond nid yw pob peth yn adeiladu." " Byddwch ddiachos tramgwydd i'r Iuddewon ac i'r Cenedloedd hefyd, ac i Eglwys Dduw ; megis yr wyf finau yn rhyngu bodd i bawb yn mhob peth ; heb geisio fy llesâd fy hun, ond lles llaweroedd." Yr egwyddor ydyw, y dylai dyn roddi i fyny y pethau y mae ganddo yn ei berthynas â Duw hawl ynddynt os bydd yr ymlyniad wrthynt yn dramgwydd i gydwybodau eraill. Ac yn y testyn y mae yn gosod i lawr egwyddor ëang, gyffredinol, ddiogel i'r holl bleidiau gyfarfod arni, " Pa

[redacted]



a bynag gan hyny ai bwyta ai yfed, ai beth bynag a wnel-h, gwnewch bob peth er gogoniant i Dduw." Er i'r eg-yddor gael ei rhoddi i lawr mewn cyfeiriad at arferiad neill-iol, eto y mae o gymhwysiad cyffredinol, wedi ei bwriadu holl amgylchiadau Eglwys Dduw yn holl oesau y byd; Pa un bynag ai bwyta ai yfed, ai beth bynag wneloch." in bod i amcanu yn mhob peth yr ymaflom ynddo i'w wneyd yn y ffordd oreu i ddiogelu anrhydedd a gogoniant uw.

Y gosodiad ydyw—MAI GOGONIANT DUW YDYW YR EGWYDD-R FAWR SYDD I REOLI EIN HOLL WEITHREDIADAU.

I. SYLWADAU CYFFREDINOL AR BRIODOLDEB YR EGWYDDOR. *Gwnewch bob peth er gogoniant i Dduw."*

1. *Mai ei ogoniant ei hun ydyw yr amcan mawr sydd gan Dduw yn mhob peth a wna.* Mae gan yr anfeidrol ei wynt yn mhob peth. "Yr Arglwydd a wnaeth bob peth er fwyn ei hun." Dyma gyfeirnod ei holl weithredoedd. Dar-enir hyny yn eglur yn y greadigaeth;—"Y nefoedd sydd yn atgan gogoniant Duw, a'r ffurfafen sydd yn mynegi gwaith ddwylaw ef;"—"Canys ei anweledig bethau ef er creadig-ath y byd, wrth eu hystyried yn y pethau a wnaed a welir amlwg, sef, ei dragywyddol allu ef a'i Dduwdod." Mae y iodoliaethau hyny sydd yn anweledig yn natur Duw i'w weled yn eglur yn ei weithredoedd, a'r cwbl yn arddangos ei agywyddol allu ef a'i Dduwdod. Y mae gogoniant, gallu, ethineb, a daioni yn cyd-ddysgleirio yn y greadigaeth; "Y ae efe yn ddoeth o galon, a galluog o nerth;" "daionus yw Arglwydd i bawb, ei drugaredd sydd ar ei holl weithred-dd." Ac y mae yn galw sylw neillduol atynt, "Dyrchef-h eich llygaid ac edrychwch; pwy a greodd y rhai hyn?" wy? Pwy? "Y pethau hyn oll a wnaeth fy llaw, a thrwof y mae hyn oll." Y mae pob gronyn o'r greadigaeth, o'r wodyn bach hyd at yr haul mawr, yn cyd-dystio i ogoniant uw; ac nid yn unig y maent yn gwneyd hyny, ond y maent edi eu bwriadu i hyny, a dywed y crewr am bob planed—a

byd—a bod—"I'm gogoniant y creais ef, y lluniais ef, ac y gwnaethum ef."

Mae yn goruwchreoli holl amgylchiadau Rhagluniaeth i'r un amcan. Er yr ymddengys ar brydiau yn dywyll a chymylog ar y ddaear, a themtir ni i ofyn, "Oni wna barnydd yr holl ddaear farn?" "Onid oes Duw a farn ar y ddaear?" Oes y mae; ond—y mae efe yn atal wyneb ei orseddfainc—y "mae efe yn taenu ei gwmwl drosti hi." Ond fe oruwchreola yr holl amgylchiadau "er mynegi ei ogoniant ef yn mysg cenedloedd; a gwneyd "ei foliant ef yn ogoneddus." "Diau cynddaredd dyn a'th foliana di, a gweddill cynddaredd a waherddi." Mae golwg gan Dduw ar ddyrchafu ei ogoniant wrth ddarostwng ei elynion; oblegid dywed yn eglur wrth Pharaoh, "I hyn yma y'th gyfodais, fel y dangoswn fy ngallu ynot; ac y datgenid fy enw trwy yr holl ddaear." Mae ei sêl dros ei ogoniant i'w ganfod yn holl ordeiniadau y grefydd Iuddewig; ac yn rhoddiad y gyfraith mewn dull mawreddig ar Sinai. Mynai y blaenffrwyth o bob peth iddo *ei hun* yn Aberth, er cydnabod ei hawl a'i benogaeth; a *gwaharddai* yn bendant bob arlun i'w addoli, ac fel sêl ar y cwbl dywed, "Yr Arglwydd dy Dduw sydd Dduw eiddugus." Amddiffyniad i'w ogoniant ydyw ei gyfraith. Ei ogoniant ei hun ydyw yr amcan eithaf gan Dduw yn holl drefn iachawdwriaeth. "Er mawl gogoniant ei ras ef." Mae yr holl drefn wedi ei chyfaddasu yn y fath fodd fel y mae i ddwyn y gogoniant yn gyfan i Dduw, "fel y byddem ni er mawl i'w ogoniant ef." Yn y cwbl a wnaeth ac a wna yr anfeidrol, y mae ei ogoniant ei hun mewn golwg ganddo; a'i benderfyniad diwyro ydyw, "Fy ngogoniant ni roddaf i arall, nâ'm mawl i ddelwau cerfiedig."

Yn awr, os ydyw hon yn egwyddor digon goruchel i fod yn amcan i holl weithrediadau Duw, yn sicr ynte y mae yn ddigon teilwng i fod yn nôd ein holl weithrediadau ninau—"gwnewch bob peth er gogoniant i Dduw."

2. *Mai gogoniant Duw oedd y prif amcan yngolwg yr*

[redacted]



*wydd Iesu Grist yn y cwbl a wnaeth yn ei sefyllfa ddar-gol.* Dyma yr amcan oedd ganddo wrth gychwyn— ele yr wyf fi yn dyfod yn rhol y llyfr yr ysgrifenwyd am f, Da genyf wneuthur dy ewyllys di, o fy Nuw, a'th gyf-sydd o fewn fy nghalon." "Fy mwyd I yw gwnaethur ys yr hwn a'm hanfonodd I, a gorphen ei waith ef." i oedd neges ei fywyd, "gweithio gwaith yr hwn a'i han-d," a "bod ynghylch y pethau a berthynent i'w dad." oedd cyfeirnod ei ddysgeidiaeth a'i weinidogaeth. wyrched felly eich goleuni ger bron dynion, fel y gwelont gweithredoedd da, ac y gogoneddont eich Tad yr hwn yn y nefoedd." "Yn hyn y gogoneddir fy Nhad, ar n o honoch ffrwyth lawer." Yr amcan mawr yr ym-i ato oedd gogoniant Duw. Yr oedd eiddigedd ei enaid aidd yn llosgi dros enw ei Dad. Aeth i'r deml un diwr-a gwelodd dŷ ei Dad wedi ei droi yn dŷ marchnad; yr liaid a'r adar yn cael eu gwerthu; a'r arian yn cael eu d ar y byrddau. Teimlodd ei feddwl pur dros anrhydedd Dad— plethodd fflangell o fân reffynau—gyrodd allan yr liaid carniog, yr ychain corniog, a'r da pluog—dymchwel-yrddau y masnachwyr nes drysu eu masnachaeth; ac nid aflywodraethus oedd yn ei gyffroi, ond "Sêl dy dŷ di ysodd I." Yn ei ingoedd diweddaf cadwodd yr un nôd olwg; pan oedd ei ddynoliaeth ar lethu dan bwysau y lefaint, eto dywedai, "O Dad, gogonedda dy enw,"— 'ad, daeth yr awr, gogonedda dy Fab fel y gogoneddo ib dithau;" a chyn gadael y byd y mae yn dyweyd, a'th ogoneddais di ar y ddaear." Aberth mawr cysegr-ir allor gogoniant Duw ydoedd yr Arglwydd Iesu Grist. niant i Dduw oedd anthem ei enedigaeth—tystiolaeth ogoniant Duw oedd ei weinidogaeth—egluro gogon-Duw yr oedd ei wyrthiau—anrhydedd i ogoniant Duw ei fywyd—iawn i ogoniant Duw oedd ei farwolaeth goneddu Duw oedd amcan mawr yr oll a wnaeth yn llfa ddarostyngol. Yn awr, os oedd yr egwyddor hon

yn ddigon goruchel i reoli bywyd, gweinidogaeth, gwyrthiau, ac angau Iesu Grist, yn sicr ynte y mae yn ddigon goruchel i fod yn egwyddor lywodraethol ein holl weithrediadau ninnau. "Gwnewch bob peth er gogoniant i Dduw."

3. *Mai gogoniant Duw ydyw yr unig egwyddor deilwng o ddyn, diberygl i gymdeithas.* Gogoneddu Duw ydyw amcan penaf dyn. Tafod y greadigaeth i roddi y gogoniant i Dduw ydyw. Telyn yw y greadigaeth—dyn yw y telynwr; a gogoniant i Dduw ydyw yr anthem a chwareua. Dyma yr unig egwyddor y mae gweithredu oddiarni yn gydweddol ag urddas dyn; ac y mae cymdeithas mewn perygl pa bryd bynag yr encilir oddiwrthi. Os gadewir yr egwyddor hon, pa un arall a fabwysiedir yn ei lle? Tybier fod yr egwyddor hon yn cael ei gadael, pa egwyddor arall a godir i fynu i fod yn nôd ein gweithrediadau? oblegid y mae yn rhaid sefydlu ar ryw un. Mae yn rhaid i ddyn gael rhyw bwynt i gyfeirio ato. Ond os gadewir hon, nid oes ond un arall i'w gosod i fynu—HUNANOLRWYDD—*Hunan-elw—Hunan-enw—Hunanfoddhad.* I bob dyn wneyd ei hunan yn gyfeirnod ei holl weithrediadau—"byw, symud, a bod," iddo ei hun—canoli y cwbl ynddo ei hun—troi pob ffrwd i wasanaethu ei hunan, a darostwng pob peth yn îs-wasanaethgar i'w hunanolrwydd. Pob un ym mhob man i ofalu yn unig am dano ei hun, ei fantais—ei elw—ei glod—ei ddifyrwch a'i fwyniant ei hun. Pob un i weithio allan i'w heithafion y ddiareb ddamniol—"Pawb drosto ei hun,"—ac yna, "Trecha treisied, a'r gwanaf gwaedded." Beth fyddai y canlyniad? Byddai y ddaear yn uffern; oblegid nid oes yr un egwyddor fwy dieflig yn llochesu yn mynwesau cythreuliad. Nid oes yno yr un cythraul nac enaid damnedig yn gofalu am ogoniant Duw; ond pob un wedi ymlenwi â chasineb a dygasedd at bawb.

*Hunanolrwydd*—Dyma yr egwyddor greodd wrthryfel yn y nefoedd: pan yr ymaflodd Duw yn arweinydd y fyddin wrthnysig, ac y taflwyd ef a'i angylion dros gaerau y ddinas sanctaidd, ac y clowyd hwy yngliell dywyllaf y carchar tragywydd-

[redacted]



"i farn y dydd mawr," gan roddi ynfydrwydd yn erbyn yr ngylion.

*Hunanolrwydd*—Dyma yr egwyddor gynyrchwyd gan archlyn dynoliaeth yn mynwesau ein rhieni cyntaf yn Eden, pan sibrydodd yn eu clustiau, "byddwch megis duwiau," a weithiodd fel lefain trwy eu calonau, fel yr ymunasant mewn yngrair â thywysog y fagddu fawr, i gyfodi mewn gwrthryel yn erbyn eu cyfiawn lywydd; fel yr agorwyd y ffordd i frydlifoedd trueni daear ac uffern gydredeg i randiroedd dynoliaeth.

*Hunanolrwydd*—Dyma yr egwyddor amlygwyd yn ysbryd Cain ddialgar, pan y gofynodd yr Arglwydd iddo, "Mae Abel y frawd?" Rhoddodd gorffoliad i'r egwyddor yn yr atebiad nffyddol, "Ai ceidwad fy mrawd ydwyf fi?" Efe oedd y cyntaf i'w phroffesu; ond y mae y Cainiaid yn lluosog iawn yn y byd.

*Hunanolrwydd*—Dyma yr egwyddor sydd yn cenhedlu caethiwed—yn esgor ar orthrwm—yn meithrin creulondeb—yn cefnogi twyll—yn cyfiawnhau gorthrymder—yn esgusodi anghyfiawnder—ac yn noddi cynllwynion dichellgar uffern.

*Hunanolrwydd*—Dan ddylanwad yr egwyddor yma y sathrodd ymerawdwyr gormesol a brenhinoedd beilchion dan draed iawnderau cenedloedd diniwed—yr arweiniodd cadfridogion uchel-geisiol eu byddinoedd gwaedlyd i'r maes i wneyd gwragedd yn weddwon a phlant yn ymddifaid; ac yr ymddyrchafodd caethfeistri creulawn goruwch eu cyd-ddynion, i'w gwerthu fel anifeiliaid, ac y rhwygir cnawd y fenyw brydweddol dan fflangell gylymog yr adyn dideimlad.

*Hunanolrwydd*—Dan lywodraeth yr egwyddor ddieflig yma y mae y gweithredoedd ffieiddiaf, ysgeleraf, creulonaf, a duaf wedi eu cyflawni a groniclwyd erioed ar dudalenau hanesyddiaeth. Y mae plyg-llyfr dynoliaeth wedi ei ysgrifenu yn llawn, a'r egwyddor felldigedig yma wedi britho pob tudalen â'r geiriau duon, "Galar, a gruddfan, a gwae!" Y mae yn cynyg codi dyn i orsedd Duw, a dyrchafu y creadur i eisteddle y

Creawdwr. Ond gosodwch ogoniant Duw yn nôd, a darostynger pob teimlad a thueddiad arall yn îs-wasanaethgar ei gyrhaedd, a bydd dyn yn *actio* yn deilwng o'i urddas, a chymdeithas yn berffaith ddiogel. Gogoniant Duw yn haul y greundrefn, a'r holl egwyddorion sydd yn dal cysylltiad â daioni, diogelwch, dedwyddwch, a dyrchafiad cymdeithas fel cynifer o blanedau yn troi o'i gylch, a hapus fydd y canlyniad. Sicrheir gorseddau y ddaear trwy gyfiawnder—llywodraetha tywysogion mewn tangnefedd—gweinyddir uniondeb yn llysoedd barn—ffurfir cyfreithiau anmhleidiol yn y Senedd—diogelir heddwch parhaol rhwng gwledydd y byd—ymlidir twyll a hocedd o holl gylchoedd masnachaeth—hynodir pob dosparth gan onestrwydd yn eu dyledswyddau—llenwir Eglwysi Crist â hunanymwadiad—daw goddef a maddeu yn wersi ymarferol crefydd—ceisia dynion "nid yr eiddynt eu hunain ond yr eiddo Crist Iesu"—a bydd pawb yn gweithio allan gyfarwyddyd syml deddfwr Cristionogaeth—"Pwy bynag a fyno fod yn fwyaf yn eich plith, bydded was i bawb." Ond unwaith y gadewir yr egwyddor yma, a phob un i ddilyn yr egwyddor a ymddengys iddo ef oreu, yr ydym mewn perygl o gael ein tynu i'r corsydd gan bob hudlewyn a ymrithia o flaen ein llygaid. Dyma yr unig egwyddor deilwng o ddyn, a diberygl i gymdeithas.

4. *Mai wrth amcanu at ogoneddu Duw y diogelir y fantais fwyaf i ni ein hunain.* Mae yn hollol naturiol i ddyn amcanu at ei les ei hun. Nid oes yr un creadur a all ymgodi mor uchel fel ag i allu dymuno gogoniant Duw yn ei ddinystr ei hun. Mae cospau a gwobrau—bygythion ac addewidion—nefoedd ac uffern, wedi eu bwriadu gan Dduw i ddylanwadu ar ddyn. Mae caru ei ddaioni, a dymuno ei les ei hun yn ddynol. Ac nid oes dyn ar y ddaear nac angel yn y nefoedd all wasanaethu Duw yn annibynol hollol ar bob ystyriaeth o'r daioni personol a all hyny ddwyn iddynt hwy. Mae Duw am foddio holl deimladau rhinweddol y natur ddynol ac i gyfarfod â'r dymuniad yna sydd yn naturiol mewn dyn, y cysylltodd ei

[redacted]



ogoniant ei hun a'n lles ninau â'u gilydd, ac o ofalu am y mwyaf y ceir y lleiaf. Wrth amcanu at ogoneddu Duw y y mae ein lles ni ein hunain yn canlyn yn naturiol. Ac y mae ein lles ni yn cael ei gyrhaedd yn fwy effeithiol trwy wneyd gogoniant Duw, yn nôd, na phe gosodasid ein lles ni yn amcan. Mae yn rheol sefydlog mai wrth amcanu at ddaioni cyffredinol y derbynir mwyaf o fudd personol. Y mae yr unigol a'r lluaws wedi eu cysylltu mor agos â'u gilydd fel mai i'r graddau yr amcanwn ni at wneyd eraill yn ddedwydd y cyrhaeddwn ddedwyddwch ein hunain. Y dyn sydd yn amcanu at wneyd eraill yn hapus yw yr hapusaf ei hunan, a'r dyn sydd yn ymhyfrydu yn annedwyddwch eraill ydyw yr annedwyddaf ei hunan. Mae yr egwyddor yma yn cael ei gosod allan yn eglur gan yr Arglwydd trwy y Proffwyd Jeremiah wrth gyfarch y gaethglud, "Ceisiwch hefyd heddwch y ddinas yr hon y'ch caethgludais iddi, a gweddiwch ar yr Arglwydd drosti hi ; canys yn ei heddwch hi y bydd heddwch i chwithau." Ac y mae amcanu at lesâd eraill yn cael ei ddangos gan yr Apostol yr un ag amcanu at ogoneddu Duw. Ei hunan sydd yngolwg Satan yn y cwbl a wna, mae yn amcanu at boeni ac annedwyddu pawb arall, ac efe ei hunan yn y diwedd ydyw yr adyn truenusaf yn llywodraeth Duw. Y mae yr angylion yn ysbrydion gwasanaethgar yn ymhyfrydu yn naioni a dedwyddwch dynion, ac yn mwynhau perffaith ddedwyddwch eu hunain. Ac y mae yr anfeidrol yn gwasgar ei fendithion—yn gwlawio ar y cyfiawn a'r anghyfiawn—yn ymhyfrydu yn naioni ei greaduriaid, ac ar yr un pryd yn fôr o ddedwyddwch ynddo ei hun. Felly yr un modd trwy weithredu ar yr un egwyddor y profwn ninau y fantais fwyaf. Mae y wraig wrth olchi y dillad yn golchi ei dwylaw ;—wrth lesau eraill y cawn ni fwyaf o les ein hunain.

Ah ! y mae y nod yma yn cael ei golli yn fynych yn ein gweithrediadau. Yr ymofynion mwyaf cyffredin ydyw ; Beth sydd boblogaidd ? Beth sydd yn fwyaf cymeradwy gan y lluaws ? Beth sydd gyfleus ? Beth sydd enillfawr ? a gadewir

i ogoniant Duw syrthio yn yr heol. Y cwbl sydd a wnelom ni ydyw gofalu am ogoniant Duw a gadael rhyngddo ef a'r canlyniadau. Dywedai brenhin wrth ei brif weinidog, "Gofalwch chwi am holl amgylchiadau fy nheyrnas, mi ofalaf finnau am eich cyflog a'ch cynaliaeth chwithau." Mae Duw yn dyweyd yr un peth wrth bob un o honom ninau: "Gofala di am fy ngogoniant I, a gâd y canlyniadau I mi." Os oes ffwrn dân ar lwybr gogoneddu Duw, paid a phetruso ei rodio, gâd rhyngddo ef a meistroli y fflamau. Os oes ffau llewod ar lwybr dyledswydd dos ar hyd-ddo yn eofn, Duw sydd i anfon ei angylion i gau eu safnau, "Eithr na ddyoddefed neb o honoch fel llofrudd neu leidr, neu ddrwg-weithredwr, neu fel un yn ymyraeth â materion rhai eraill, ond os fel Cristion na fydded gywilydd ganddo, eithr gogonedded Dduw yn hyn o ran." Glynwch wrth y peth sydd iawn—sefwch wrth ogoniant Duw pe siglai colofnau y greadigaeth—pe syrthiai y ffurfafen i'r ddaear—pe diffoddai lanternau y nefoedd—pe machludai yr haul ganol dydd—a phed ymollyngai y cread i un benbleth; ac yna gellwch ganu—" Nid ofnwn pe symudai *y ddaear*, a phe treiglid y mynyddoedd i ganol y môr." Mae gogoniant Duw a'n lles ninau yn anwahanol gysylltiedig â'u gilydd, ac o ofalu am y blaenaf yr ydym yn sicr o'r olaf—" gwnewch pob peth er gogoniant i Dduw."

II. Cymwyswn yr egwyddor at ein gwahanol ymarferiadau. *"Pa un bynag gan hyny a'i bwyta a'i yfed, gwnewch bob peth er gogoniant i Dduw."*

1. *Pob peth yn ein harferiadau personol—"bwyta ac yfed."* Arferiadau mwyaf cyffredin bywyd. Mae rhyw egwyddor gyffelyb yn cael ei dwyn dan sylw gan y Proffwyd Zecharia. "Pan oeddych yn ymprydio, ac yn galaru y pummed a'r seithfed mis y deng mlynedd a thriugain hyny, ai i mi yr ymprydiasoch chwi ympryd? i mi? A phan fwytasoch, a phan yfasoch, onid oeddych yn bwyta i chwi eich hunain, ac yn yfed i chwi eich hunain?" Bwyta ac yfed iddynt eu hunain, ac nid er gogoniant i Dduw. Mae yn bosibl fod llawer yn byw i

[redacted]



wyta, ac nid bwyta i fyw ; yn gwneyd bwyta yn amcan bodolaeth, a bywyd yn gyfrwng i'w gyrhaedd : fel pe byddent wedi eu danfon i'r byd o bwrpas i fwyta—" yn ddiofn yn eu pesgi eu hunain ;" " yn bwyta hyd lythineb ;" " duw y rhai yw eu bol ;" yn " foliau gorddiog ;" " yn cael byd da helaethwych beunydd." Dylid bwyta er gogoniant i Dduw—ei gymeryd a diolch i Dduw am dano—" arfer y byd hwn megis heb ei gamarfer."

"Yfed er gogoniant i Dduw." Yfed i dori syched ac nid er porthi blys a chwant. Mae meddwdod yn uniongyrchol yn dianrhydeddu Duw—yn darostwng y dyn y darostyngodd Duw bob peth dan ei draed ef ; yn gaethwas i'w flys. Nis gall fod Duw yn derbyn gogoniant oddiwrth y diota a'r cyfeddach sydd yn llygru cymdeithas. Ac y mae yn gwestiwn teilwng o ystyriaeth pob dyn ; a ellir yn yr agwedd bresenol ar gymdeithas gyda golwg ar ei harferion meddwol, a ellir defnyddio diodydd meddwol fel diodydd cyffredin, a gogoneddu duw trwy hyny ? Gelli di, fy nghyfaill, ddyweyd mewn byrbwylldra, a diystyrwch, " Mi fynaf fy ngwydriad pan welai'n dda beth bynag fyddo y canlyniad." Ymbwylla fy nghyfaill, cyn myned yn mhellach, ac edrych beth ydyw y canlyniad. Cyn cyfodi y cwpan yna at dy enau, gwel pa beth a all gynyrchu. Edrych trwy y gwydriad yna pan ymgynhyrfo yn iawn, a chyfrif y galanastra dychrynllyd a gynyrcha. Gwel yn tremio drwyddo ofidiau a helbulon gweddw a phump o blant amddifaid wedi eu gwneyd yn ddarlun o drueni trwy waith y tad meddw yn yfed hwna. Edrych ar gymdeithas yn ochain dan bwysau y beichiau sydd yn llethu ei hysgwyddau i gynal ynfydion y gwallgofdŷ—cleifion y meddygdŷ—a throseddwyr y carchardŷ, a ddygwyd i'r sefyllfaoedd truenus hyny trwy yfed hwna. Edrych ar y troseddwr ar y dienyddle, yn adyn gwrthodedig gan gymdeithas—yn cael ei wthio yn anmharod i wyddfod ei Farnwr—a gwrando arno yn tystio gyda'i anadl ddiweddaf mai yfed hwna a'i dygodd ef i'r diwedd truenus yna. Edrych ar y gwr ieuanc gobeithiol fu unwaith

yn aelod defnyddiol yn Eglwys Ddnw, yn wrthddrych serch frawdoliaeth—ac yn ddymuniant llygaid tad a mam, ond y awr wedi ei ysgymuno o gymdeithas y rhinweddol—yn ddi wch gwehilion dynoliaeth o gylch pentanau y tafarnau— galon wedi caledu—ei gydwybod wedi serio—nes y mae mewn sefyllfa agos yn ddiobaith am adferiad, a hyn oll wedi dechreu trwy yfed hwna. Edrych ar y gweinidog fu unwaith yn ddi iol a phoblogaidd—swynai dyrfaoedd i'w wrando—adfywiai Sion â'i eiriau—ond yn awr wedi ei gladdu yn medd y meddwyn; "gwerthfawr feibion Sion cystal ag aur pur yn cael eu cyfrif fel ystenau pridd, gwaith dwylaw y crochenydd; y cysegr yn cael eu taflu yn mhen pob heol;" a hyn oll oblegid yfed hwna! Gosod yr holl ystyriaethau yna ynghyd o flaen dy feddwl, a gofyn yn onest i'th gydwybod yn ei munydau tyneraf, a elli di gymeryd cynwysiad y gwydriad yna a gogoneddu Duw trwy hyny. "Bwyta ac yfed er gogoniant Ddnw."

2. *Pob peth yn ein galwedigaethau bydol.* Mae rhai galwedigaethau a masnachau y mae yn anmhosibl gogoneddu Duw ynddynt. Mae eu bodolaeth yn sylfaenedig ar ddianrhydeddu enw Duw—diystyru deddf Duw—a dinystr cyffredinol dynoliaeth; y mae yn anmhosibl gogoneddu Duw ynddynt. Dylai pawb sydd am fyw er gogoniant i Duw ymrhyddhau ddioed a dyfod allan o honynt. Ac yn wir, y mae holl masnachaeth ein gwlad fel hen gorff pwdr, "y pen oll glwyfus, a'r holl galon yn llesg." Mae rhyw hylif afiach rhedeg drwyddo. Megir lluaws o'n gwŷr ieuainc i fynu twyll, hoced, celwydd, a chribddeiliaeth. Mae y lluaws wedi cyduno i ymlid crefydd o'r masnachdai, ac i'w gartref ddyddiau ffeiriau a marchnadoedd, ac wrth bryn gwerthu—"Drwg, drwg, medd y prynwr; ond pan el neilldu efe a ymffrostia," a "Da, da, heb ei ail" medd gwerthwr, a'r gwirionedd wedi syrthio yn yr heol, ac uniondeb ni chaiff ddyfod i mewn rhyngddynt. Mae gogoniant Duw yn hollol o'r golwg ganddynt. Nid rhyw beth i'w wneyd

[redacted]



ılysurol ydyw gogoneddu Duw, ond y mae i'w gydwau â
l amgylchiadau bywyd, a holl ddyledswyddau cymdeithas.
ıe yn dysgu y crefftwr i fod yn onest yn ei orchwyl—y
snachwr i fod yn eirwir—y meistr i fod yn gyfiawn a char-
g—a'r gwasanaethwyr i lafurio "nid â llygad-wasanaeth
boddlonwyr dynion ond fel rhai yn gwneyd gwasanaeth i'r
glwydd." Gellir gogoneddu Duw gyda holl ddyledswydd-
bywyd. Nid oes yr un alwedigaeth onest, gyfreithlawn,
mor isel bynag y byddo, nas gellir gogoneddu Duw ynddi.
wedai yr hybarch John Newton, "Pe buasai dau angel yn
I eu hanfon i'r ddaear; un i lywodraethu teyrnas, a'r llall
ıgubo yr heolydd, y buasai yr un a anfonasid i ysgubo yr
ılydd yn gogoneddu Duw gyda'r gwasanaeth distadl hwnw
gystal a'r un a lywodraethai deyrnas." Nis gellir gogon-
lu Duw heb egwyddor i hyny gyda'r gwasanaeth uchaf,
d gydag egwyddor gywir gellir ei ogoneddu gyda'r gwasan-
th iselaf. Yr oedd y llances fechan ddygwyd gyda'r gaeth-
ad o wlad Israel yn gogoneddu Duw gyda'r gwasanaeth
ıtadlaf yn fwy na Naaman oedd yn dywysog y llu. Yr oedd
seph yn gogoneddu Duw yn llawn cymaint yn nhŷ Putiphar
yn llys Pharaoh—yn nghell y carchar yn gystal ag yn yr
gerbyd. Gall y bachgen ieuengaf yn y tŷ—y forwyn isel-
yn y teulu—y prentis lleiaf yn y siop—neu y gweithiwr
wyaf disylw yn y gwaith, ogoneddu Duw yn gystal a'r rhai
ld yn cyflawni y gorchwylion mwyaf anrhydeddus.
Gall y gweithiwr tlawd yn y llaid ogoneddu Duw yn gystal
ohrif-weinidog y goron. Gall y forwyn sydd yn gwneyd
gwasanaeth iselaf yn y ty, ogoneddu Duw yn ei chylch: yn
stal a Victoria sydd yn eistedd ar orsedd Prydain. Gall
lyn sydd yn cadw y drws, ogoneddu Duw yn ei ran yn gys-
l a'r gweinidog sydd yn sefyll rhwng y porth a'r allor. Ie,
y dywedodd yr enwog Thomas Binney, "Gall y bachgen
ıch a welir ar hyd ystrydoedd y trefydd, a'i *box* ar ei ys-
wydd, a'i *brush* yn ei law: ac yn cynyg ei wasanaeth i lan-
ıu esgidiau, ond iddo wneyd hyny yn ystyriol o'i gyfrifoldeb

i'w Farnwr, gall ogoneddu Duw yn gystal a'r archangel sydd yn cael ei ddanfon ar neges o ymyl gorsedd yr anfeidrol.' "Gwnewch bob peth er gogoniant i Dduw."

3. *Pob peth yn ein dyledswyddau cymdeithasol.* Dyma yr egwyddor sydd i'n llywodraethu fel cydaelodau o'r gymdeithas ddynol. "Am hyny pa bethau bynag oll a ewyllysioch eu gwneuthur o ddynion i chwi, felly gwnewch chwithau iddynt hwy." Fel gwladwriaeth dyma yr unig reol ddiogel i'n parhad. Mae y byd yn cael ei aflonyddu gan "ryfeloedd a sôn am ryfeloedd" yn y dyddiau hyn. Mae heddwch y byd wedi ei derfysgu, a'r teimlad da ddylai fodoli rhwng gwledydd y ddaear wedi ei anmharu, a gallwn ofyn gyda'r Apostol Iago, "O ba le y mae rhyfeloedd ac ymladdau yn eich plith? onid oddiwrth hyn, sef eich melus chwantau?" Balchder ac uchelfrydedd sydd wrth wraidd yr holl ryfeloedd sydd yn anrheithio y byd, ac yn mwydo y ddaear â gwaed dynol. Er cymaint fawrygir ar Wellington a'i wrhydri ar faes Waterloo; eto y mae y mwg a'r tarth gasglwyd i ffurfafen Ewrop yn y dyddiau hyny heb ei wasgaru eto. Dacw Napoleon Bonaparte tua diwedd y ganrif ddiweddaf yn gwneyd ei ymddangosiad yn Ffrainc yn llawn gormes, a thraha, ac uchelfrydedd, fel holl benaduriaid a thywysogion y dyddiau hyny. Mynai ddarostwng Ewrop yn droedfainc i'w draed; chwareuai â choronau mân frenhinoedd y Cyfandir fel â chynifer o deganau plant, a gwnai eu teyrnwiail a'u gorseddau yn friwsion rhwng ei fysedd. Unodd holl alluoedd Ewrop yn un helfa gyffredinol, er mwyn ei ddarostwng—cadwyd holl wledydd y Cyfandir fel crochan berwedig am dair-blynedd-ar-hugain—cyfarfuwyd yn yr ymladdfa derfynol ar faes Waterloo. Yr oedd yr ymornest mor galed fel y dymunai Wellington gan Dduw ar i'r nos neu Blucher ddyfod. Ond pa fodd bynag, cariodd Lloegr y dydd, rhoddodd y gwrthryfelwr i fynu, ac ysgymunwyd ef i ynys anghysbell i dreulio mewn unigedd a phrudd-der weddill ei oes. Dychwelodd Wellington adref—croesawyd ef gyda banllefau cymeradwyol, y rhai a rwygent

[redacted]



ir awyr; a dywedai yn fuddugol, "ni a'i gorchfygasom ef!" Do, mae yn wir, ond pa faint aberthwyd cyn ei orchfygu? Clowyd olwynion masnach—ataliwyd cynydd gwareiddiad—cadwynwyd gweithrediadau celfyddyd—llanwyd awyrgylch y deyrnas â chymylau; maent yn crogi uwch ein penau hyd heddyw—gadawyd o ddyled wladol yn ychwanegol ar goron Lloegr dros fil o filiynau i fod yn faich arosol ar Brydain ddyddiau y ddaear—gwnaed miloedd o wragedd yn weddwon a degau o filoedd o blant yn ymddifaid—a gwthiwyd wyth cant a deugain o filoedd o eneidiau fel yr oeddynt i wyddfod en Barnwr! Bydd cofion rhyfeloedd yn warth, a chofgolofnau rhyfelwyr yn waradwydd; a maes Waterloo yn felldith ac yn rheg tra y byddo tafod mewn genau ac iaith ar dafod. Gallesid arbed hyn oll pe buasai balchder, a thraha, a gormes, a chreulondeb, a dialgarwch, a hunanolrwydd yn cilio o'r ffordd, i roddi lle i egwyddor fendigedig y testyn; "gwnewch bob peth er gogoniant i Dduw." Edrychwch ar y rhyfel y bu ein gwlad ynddi a Rwssia; gychynwyd ac a ddygwyd yn mlaen na wyr pleidiau eu hunain yn iawn i ba beth, ac mewn ystod dwy flynedd gwariwyd rhwng y pleidiau oll ddau cant a haner o filiynau o bunau, a chollwyd pum can mil o fywydau! I ba beth y bu y golled fawr hon? Ai ni allesid atal y rhyfel trychinebus hwn? Gallesid; oni buasai y syniadau gwallgof sydd gan ddynion am anrhydedd eu gwlad, a phe rhoddasid y cwbl i fynu er mwyn gogoniant Duw. Bu cynrychiolwyr y gwahanol deyrnasoedd yn cyfarfod yn Vienna i gyflafareddu er mwyn sefydlu heddwch ar y *four points*; ond gallasent daflu y pwyntiau oll dros y bwrdd a chytuno ar un *point*—"gwnewch bob peth er gogoniant i Duw;" buasai felly heddwch diogel, anrhydeddus, a pharhaol yn cael ei sicrhau i holl Ewrop. Yr un sylw ellir wneyd ar y rhyfel trychinebus sydd yn anrheithio yr America yn y dyddiau hyn. Un o'r rhyfeloedd mwyaf cigyddlyd a ddygwyd ymlaen erioed mewn gwlad wareiddiedig. Paratoir dynion i'r frwydr, a hyrddir hwy i dragywyddoldeb wrth y degau o filoedd! Mae

dynoliaeth yn ochain oblegid yr olygfa, a chrefydd wedi troi o'r neilldu i wylo. Hunanolrwydd sydd wrth wraidd y cwbl. Ysbryd y testyn i ddisgyn a ddychwelai y cleddyf i'w wain; ac a ollyngai yn rhydd filiynau meibion duon Ham.

Gweithier yr un egwyddor i gylchoedd is cymdeithas, a bydd yn angau i athrod ac enllib—trenga cenfigen a malais—derfydd twyll a hoced—gwywa trais a gorthrwm—difodir balchder ac uchelgais—cleddir dichell a brâd—ac anghofir am byth yr hen ddadl gynhenus, "Pwy o honom ni sydd ben, a phwy sydd fwyaf?" Cydwauer gogoniant Duw â holl ddyledswyddau cymdeithas, ac yna bydd crefydd i'w gweled nid yn unig yn nefosiwn yr addoliad, yn nheimladau y Sabboth, ac o fewn terfynau cysegredig tŷ gweddi: ond yn rhan o ddyledswyddau bywyd cyffredin. Daw crefydd i gael edrych arni nid fel meddyginiaeth i'w chymeryd yn achlysurol, ond fel bara beunyddiol i feithrin yr enaid. Nid yn *rhyw* ddyledswydd; ond yn rhywbeth sydd a wnelo â *phob* dyledswydd, Nid yn dreth i gael ei thalu yn achlysurol, *ond fel* teyrnged wastadol i'r hwn sydd yn wrthddrych ein haddoliad, ac yn ddyben ein bodoliaeth. "Gwnewch bob peth er gogoniant i Dduw."

4. *Pob peth yn ein cyflawniadau crefyddol.* Cyflawni pob dyledswydd grefyddol dan lywodraeth yr un egwyddor. Mae llawer o gnawd a balchder yn ein gwasanaeth crefyddol. Cynghorai yr Arglwydd Iesu Grist ei ddysgyblion yn y cyflawniad o ddwy ddyledswydd arbenig, "cyfrannu a gweddio;" i ochel eu cyflawni er mwyn cael eu gweled a'u moliannu gan ddynion, ond i gadw eu golwg ar ogoniant Duw. Mae yn gofyn i ryw rai sydd yn pentyrru eu cyflawniadau crefyddol, "Pwy a geisiodd hyn ar eich llaw?" "Na chwanegwch ddwyn offrwm ofer, arogldarth sydd ffiaidd genyf, ni allaf oddef y newyddloerau na'r Sabbathau, cyhoeddi cymanfa anwiredd ydyw, sef yr uchelwyl gyfarfod; eich lleuadau newydd a'ch gwyliau gosodedig a gasaodd fy enaid, y maent yn faich arnaf, blinais yn eu dwyn hwy." Paham a ydyw y

[redacted]



;wasanaeth ynddo ei hun ddim yn iawn? O ydyw; gosod-
idau Duw ydynt. Efe a'u hordeiniodd; ond y maent yn
laidd yn ei olwg oblegid nad oeddynt yn cael eu cyflawni er
i ogoniant ef. "Ai i mi y gwnaethoch?" Gallwn wneyd
'awer gyda chrefydd, a'i wneyd yn drefnus a chymeradwy i
lwg dynion, heb wneyd dim i Dduw. Mae yr Arglwydd yn
ofyn i'r gweddïwr doniol, sydd yn trefnu ei neges yn fedrus,
c yn gweddïo yn ddylanwadol, "Ai i mi y gwnaethoch?"
Iae yn gofyn i'r cantorion sydd yn canu yn gerddgar ac yn
oniarus, yn difyru y gynulleidfa â'u pereiddiwch, "Ai i mi y
wnaethoch?" Mae yn gofyn i'r pregethwr sydd yn ym-
ısymu yn gywrain, yn traddodi yn hyawdl nes syuu y gynull-
dfa â'i ymadfertheedd, "Ai i mi y gwnaethoch?"

Frodyr anwyl! Pa faint sydd i Dduw yn ein cyflawniad-
u crefyddol? Nid yw ein gweddiau yn ogoniant i Dduw os
ad oes ynddynt "dywallt y galon." Nid yw canu yn fawl i
Dduw os nad ydyw yn "byncio trwy ras yn ein calonau."
Nid oes dim addoli yn ein cynulliadau heb ein bod yn gwneyd
'pob peth er gogoniant i Dduw." Ah! bobl anwyl, y mae
erygl ofnadwy i ni ymwneyd â gwaith Duw heb roddi y go-
;oniant iddo. Mae yr anfeidrol yn eiddigeddus dros ei ogon-
ınt. "Yr Arglwydd dy Dduw sydd Dduw eiddigus." Nid
es dim yn effeithio cymaint ar yr anfeidrol a chynyg cymeryd
gogoniant oddiarno. Dacw Herod ar ddydd nodedig yn
reithio gyda chymaint o hyawdledd nes cynhyrfu y bobl i
allgofrwydd ac i waeddi, "lleferydd Duw ac nid dyn ydyw."
r oedd angel yno yn edrych yn myw ei lygaid i gael gweled
at yr oedd y creadur yn derbyn y mawl, ac fe ddeallodd yn
rioldeb ei lygaid ei fod yn derbyn y clod; fe welodd y cre-
lur yn rhyfygu i orsedd y Creawdwr, "tarawodd angel yr
Arglwydd ef am na roisai y gogoniant i Dduw, a chan bryf-
ld yn ei ysu efe a drengodd." Gallem feddwl mai prif sail y
tri llanc" i gredu y buasai eu Duw yn cyfryngu oedd fod y
renin wedi ei herio: "A pha Dduw yw efe a'ch gwared
hwi o'm dwylaw I?" Dyma sail dadleuaeth Moses dros y

genedl wrthnysig eilwaith ac eilwaith, "Felly yr Aiphti glyw, ac a ddywed o eisiau gallu o'r Arglwydd eu hwynt i'r tir a dyngodd efe, am hyny y lladdodd efe hw Ar y tant yma y tarawodd Josua pan y gorfu i dair m wyr ffoi o flaen trigolion *Ai*, o herwydd fod Achan gwersyll yn rhwystr iddynt euill y ddinas. Dacw Josu rhwygo ei ddillad, ac efe a henuriaid Israel yn dodi llw eu penau, yn arwydd o'r gostyngeiddrwydd a'r galar dw "A dywedodd Josua, Ah! ah! O Arglwydd Ior, i ba y dygaist y bobl yma dros yr Iorddonen, i'n rhoddi ni yn yr Amoriaid i'n dyfetha? O na buasem foddlon, ac na asem tu hwnt i'r Iorddonen! O Arglwydd, beth a ddy af, pan dry Israel ei wàr o flaen ei elynion. Canys y Ca caid a holl drigolion y wlad a glywant, ac a'n hamgylc ac a dorant ymaith ein henw oddiar y ddaear; *a pha b wnei i'th enw mawr?*" Gwyddai Josua mai y teimlad eraf ynghalon Duw yw cyffwrdd â'i enw mawr-

Wrandawyr anwyl; *Rhoddwch ogoniant i'r Arglw eich Duw.* Ca Duw ei ogoniant oddiwrth bob cythraul uffern, ond nid oes yno neb yn ei roddi. Y gogoniant; dy y deyrnged y mae Duw yn ddisgwyl oddiwrthym oll. Dy yr ardreth i gydnabod ei hawl. "Rhoddwch ogoniant Arglwydd eich Duw."

*Dyma waith y nefoedd.* Un gwaith, un iaith, "Nid i O Arglwydd, ond i'th enw dy hun dod ogoniant." "*Idd* yr hwn a'n carodd ni." Dysgwn ar y ddaear waith ac i y nefoedd.

[redacted]

# PREGETH III.

## EWYLLYS-GREFYDD.

COLOSSIAID ii. 23.

Yr hyn bethau sydd ganddynt rith doethineb mewn ewyllys-ydd a gostyngeiddrwydd, a bod heb arbed y corph, nid mewn ddigoni'r cnawd."

refydd yn ystyr ëangaf y gair, ydyw unrhyw gyfundraeth oliadol sydd yn cydnabod gwrthddrych i ymwneyd âg ef. nae gau-grefyddau gan hyny yn gystal a'r wir grefydd. wir y cyfundraethau Paganaidd, Mahometanaidd, a Phab-l yn grefyddau yn gystal a Christionogaeth. Defnyddir air crefydd yn gyffredin yn gyfystyr a'r gair duwioldeb; bosibl, a siarad yn fanol, fod rhyw arliw o wahaniaeth ngddynt; fod duwioldeb yn golygu yr egwyddor yn y n, a chrefydd yn golygu yr ymarferiadau oddiallan; ond gyffredinol, y mae y ddau air yn cael eu harfer yn gyf-g, i arwyddo gwir grefydd yn yr oll o honi yn fewnol ac nol. Beth yw crefydd? sydd ofyniad nas gellir yn hawdd ldi atebiad boddhaol iddo. Mae mwy ni a hyderwn yn ianol arni, nag sydd yn gallu dyweyd mewn cynifer o u beth ydyw; onide yn wir y mae nifer y rhai sydd yn eddu yn ychydig iawn. Mae dwy adnod erbyn eu dwyn u gilydd sydd yn cynwys atebiad cyflawnach i'r cwestiwn, gallwn ni ar hyn o bryd feddwl am dano. "A hyn ywyd tragywyddol, iddynt dy adnabod di yr unig wir w a'r hwn a anfonaist ti, Iesu Grist." Dyna grefydd r egwyddor yn dumewnol. "Eithr y ddoethineb sydd uchod, yn gyntaf pur ydyw, wedi hyny heddychol, bon-

eddigaidd, hawdd ei thrin, llawn trugaredd a ffrwythau d diduedd, a diragrith." Dyna grefydd yn ei ffrwythau yn allan ol. Crefydd gan hyny ydyw, adnabyddiaeth o Dduw y Nghrist yn y galon, yn cynyrchu y rhinweddau Cristionog yna yn y fuchedd.

Ond y mae yr ysgrythyrau yn rhoddi i ni wedd gyfundrefn ol ar grefydd; yn ei harddangos nid yn unig yn egwyddor y y galon yn bersonol; ond hefyd yn gyfundraeth o wirionedd au ac ynddi egwyddorion i'w credu—dyledswyddau i'w c lawni—ac ordinhadau i'w hymarfer; ac y mae yr ysgrythyr yn ddatguddiad cyflawn o bob peth angenrheidiol i'w deall credu er iachawdwriaeth. Dangosir yn eglur ynddynt ddyn beth sydd dda, a pha beth a gais yr Arglwydd ganddo Mae y cwbl hanfodol i fywyd a duwioldeb yma yn eglur dealladwy. Yn awr, cydffurfiad ein hewyllys ni ag ewyll ddatguddiedig Duw sydd yn cyfansoddi crefydd. Gwneyd ewyllys Duw ydyw elfen fawr duwioldeb. Dyma sydd yn dwyn i'r berthynas agosaf â'r Arglwydd Iesu Grist. Pan mynegwyd iddo unwaith fod ei fam a'i frodyr yn *sefyll allan* yn ceisio ymddiddan âg ef, dywedodd, "Pwy yw *fy* mam I a phwy yw fy mrodyr?" Nid oedd ar y Gwaredwr gywilydd o'i fam a'i frodyr. Ni bu mab tynerach o'i fam erioed; g alodd am dani pan yn ei boenau mwyaf, a chyflwynodd hi garedig i ofal y dysgybl yr hwn a garai. Ond ar yr un pr mynai argraffu ar eu meddyliau, fod perthynas nes na'r b thynas naturiol; "canys pwy bynag a wna ewyllys fy Nh yr hwn sydd yn y nefoedd, efe yw fy mrawd I, a'm chwa a'm mam." Perthynasau agosaf yr Arglwydd Iesu Grist y y rhai a wnant ei ewyllys ef. Uwch braint ydyw gwneyd ewyllys na bod yn frawd naturiol iddo. Dyma ddelir al fel cymhwysder hanfodol i fyned i'r nefoedd. "Nid pob ar sydd yn dywedyd wrthyf Arglwydd, Arglwydd, a dda mewn i deyrnas nefoedd; ond yr hwn sydd yn gwneuth ewyllys fy Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd." Nid gwed fer, frysiog wrth farw, â a ni i'r nefoedd, ond gwneyd ewyll

[redacted]



ıw wrth fyw. Mae myned i'r nefoedd yn ymddibynu nid ddyweyd geiriau melus yn angau, ond ar wneyd ewyllys ıw mewn bywyd. Ewyllys ddatguddiedig Duw, dyma ein eol ni, a gellir dyweyd am dani fel y dywedodd Mair am Iesu wrth y gweinwyr yn y briodas yn Cana yn Galilea, beth bynag a ddywedo efe wrthych, gwnewch." Ond y ıe llawer o ddynion yn fwy awyddus i wybod ewyllys ddirledig Duw nag am wneyd ei ewyllys ddatguddiedig.- Ond r hyn a ddatguddiwyd y mae a fynom ni; a chydffurfiad n hewyllys ni â hwy sydd yn cyfansoddi crefydd. Ond yn derbyn crefydd ddatguddiedig y Beibl, y mae tueddiad ɾf yn mhob oes i ystumio crefydd yn ol eu hewyllys eu hun; ı lle derbyn crefydd y Beibl y peth ydyw, mynant ffurfio ɔfydd at eu hewyllys eu hunain, yr hyn yn briodol a ddynir yn "EWYLLYS-GREFYDD." Gwneyd crefydd iddynt eu ınain y peth y dymunant ei bod, yn lle derbyn crefydd ewylls ddatguddiedig Duw. Yr oedd tueddfryd cryf yn yr Iuddwon i ddwyn gweddillion yr hen grefydd i mewn i'r grefydd ɔwydd; cadwent ddyddiau penodol—ymgadwent oddiwrth ydydd neillduol—ymlynent wrth olchiadau a defodau awdol—cyflawnent weithredoedd gorhaeddianol—a chodent ɔwn crefydd ewyllys ddynol creadur llygredig i orsedd ewys ddwyfol y meddwl anfeidrol. Ac y mae yr un camgymiad yn ffynu mewn cyfundraethau a elwir yn grefyddol eto. ɔsodent yn aml fwy o bwys ar seremoniau ewyllys dyn, nag wirioneddau ewyllys Duw. Nid oes dim diwygio i fod ar ristionogaeth; mae yn gyfundraeth berffaith; ac y mae ɔlldith yn gyhoeddedig uwch ben y neb a ychwanego ati, yn stal a'r neb dyno oddiwrthi. Ac yn wir, y mae yn anmhosl ymgodi uwchlaw iddi. Ni welwyd yr un Cristion erioed ell na'i grefydd. Gwelwyd Pagan gwell na'i grefydd, elwyd Pabydd gwell na'i grefydd; ond ni welwyd yr un istion erioed hanner cystal a'i grefydd. Dynol yw eu crefldau hwy, ac y mae yn bosibl ymgodi uwchlaw yr hyn sydd lynol; Dwyfol yw ein crefydd ni, a chanlyniad y mae yn an-

mhosibl byth ymgodi uwchlaw iddi. Y cwbl gan hyny ofynir mewn crefydd ydyw plygu ein hewyllysiau ni i ewyl ddatguddiedig Duw; ac ymofyn yn wastad, "Pa beth a ddwed yr Arglwydd." Mae iawn syniad am grefydd yn bwysig; oblegid o bob camsyniad, camsyniad mewn cref yw y pwysicaf; ac argyhoeddi rhai o'r camgymeriadau yw ein hamcan presenol. "EWYLLYS-GREFYDD:" neu y grefydd a ewyllysia llawer gael.

I. CREFYDD MEWN ATHRAWIAETH HEB FOESOLDEB MEWN BUCHEDD. Credo iach heb fywyd sanctaidd. Mae credo iach yn bwysig iawn. Mae y Beibl yn mhob man yn cysylltu pwysigrwydd â'r hyn a gredir. Mae llythyrau Paul at Timotheus a Titus yn llawn crybwylliadau i'r perwyl. Mae "llefaru y pethau a weddai i athrawiaeth iachus"—a "phroffwydo yn ol cysondeb y ffydd," yn cael lle mawr yn ei sylw. Dysg hwy i ochel "athrawiaethau amryw a dyeithr"—i ochel rhag "athrawiaethau cythreulig"—i ymgadw oddiwrth ydynion y mae eu "hymadrodd yn ysu fel cancr"—i ofalu rhag cael "eu cylch-arwain gan bob awel dysgeidiaeth, fel plant yn bwhwman." Ond cymhella hwy i "lynu wrth ddarllen"—i "fyfyrio yn y pethau hyn, ac yn y pethau hyn aros"—"wylio arnat dy hun, ac ar yr athrawiaeth"—i gadw "ffurf yr ymadroddion iachus"—i "ddal yn lew y gair ffyddlon"—a sicrha mai "da yw bod y galon wedi ei chryfhau â gras." Un o gymhwysderau neillduol diaconiaid ydyw, "yn dal dirgelwch y ffydd mewn cydwybod bur." Mae yn anhawdd meddwl am fflangell drymach ar eglwys na chael diacon gwamal, ac anwybodus. Mae yslacrwydd a diofalwch yn nghylch pa beth a gredir, yn beryglus iawn. Mae y rhyddfrydigrwydd hwnw fedr gyd-ddwyn a phob athrawiaeth, yn sicr o arwain i ganlyniadau niweidiol. Dynion o argyhoeddiadau egwein yw y rhai nad ydynt yn teimlo sêl angerddol dros wirioneddau gwahaniaethol Cristionogaeth. Ac er y dylem wneyd ein goreu i fagu teimladau da rhwng Cristionogion o wahanol enwadau, eto y mae y brawdgarwch gar

[redacted]



aul celu gwirioneddau mawrion yr efengyl yn rhy ddrud i'w ynu. Trindod o bersonau—arfaeth Duw—etholedigaeth âs—llygriad llwyr dynoliaeth trwy y cwymp yn Eden—awdoliaeth, marwolaeth, ac adgyfodiad Crist—cyfiawnhad wy ffydd yn ei waed Ef—yr angenrheidrwydd am ddylanwadau neillduol yr Ysbryd Glân i gyfnewid calon pechadur—pharhad sicr y saint hyd y diwedd. Dyma wirioneddau wyd yr efengyl. Dyma enaid y pwlpud. Dyma asgwrn fn y weinidogaeth, a gobeithio na wawria byth o'r diwrnod i yr ymlidir yr hen wirioneddau bendigedig yna i'r cysgod i mhwlpudau Cymru. Ond tra yr ydym yn proffesu yr ymaiad cryfaf wrth gredo iachus, yr ydym yn llawn mor selog os fywyd sanctaidd. Mae "grâs Duw wedi ymddangos," l yn unig i "ddwyn iachawdwriaeth i bob dyn;" ond hefyd 'w dysgu i wadu annwioldeb a chwantau bydol, a byw yn br, yn gyfiawn, ac yn dduwiol yn y byd sydd yr awrhon." ae pob athrawiaeth ysgrythyrol o duedd foesol sanctaidd, r athrawiaeth iachaf ydyw hono gynyrcha y moesoldeb pur-. Ond y mae crefydd rhyw ddynion i gyd yn y gredo. adleuant yn wresog dros iachusrwydd barn; ac ar yr un yd ymroddant i "gyflawni pob pechod yn un chwant." Un th ydyw crefydd mewn pen, peth arall ydyw crefydd mewn lon. Un peth ydyw crefydd mewn credo, peth arall ydyw efydd mewn bywyd. Mae gan lawer gredo iach a bywyd an, pen goleu a chalon dywyll. Mae eu credo yn ysgrythond y mae eu bywyd yn annuwiol; cystal credo ag Abram yn y nef, ond y mae eu calonau cyn-ddrwg a Pharaoh yn ern. Clywir ambell i hen wrthgiliwr yn eithafion dirywiad cysuro ei hun; "Mae y cyfamod yn *sound*—mae'r afael yfaf fry." Y cyfamod yn *sound* yn wir! beth sydd a fyno â'r cyfamod? Onid yw holl delerau trefn Duw dan ei draed ? Dyma ydyw "troi grâs ein Duw ni i drythyllwch"—archogaeth i ryfyg ar gefn gwirioneddau mwyaf cysegredig efengyl—sugno gwenwyn marwol o athrawiaeth bywyd gywyddol. Beth sydd a fyno twr o ddynion halogedig â

siarad am etholedigaeth grâs, uwchben eu cwpanau medd-
yn y dafarn? "Ond wrth yr annuwiol y dywedodd Du
beth sydd i ti a fynegech ar fy neddfau, neu a gymerech
fy nghyfamod yn dy enau, gan dy fod yn casâu addysg ac y
taflu fy ngeiriau o'th ol." Antinomiaeth benrhydd, sydd yn
gwneyd dynion yn selog ryfeddol dros gredo iach; ond yn a-
genlns hollol o fywyd duwiol.

II. CREFYDD MEWN SEREMONIAU HEB YSBRYDOLRWYDD MEWN CALON. Cyfundraeth ysbrydol yw crefydd; ac yn y galon y mae ei heisteddle. "Wele, ceraist wirionedd oddimewn, a pheri i mi wybod doethineb yn y dirgel;" a'r "hwn sydd yn y dirgel sydd Iuddew, ac enwaediad y galon sydd yn yr ys-bryd, nid yn y llythyren." Ond y mae ffurfiau yn angenrheid-iol i wasanaethu â'r grefydd ysbrydol. Mae fod pethau mawr-ion Duw yn cael eu gosod allan trwy arwyddion gweledig i'n synwyrau corfforol yn gynorthwy mawr i wendid ein hangf-redion. Ond yr oll o ffurf sydd yn angenrheidiol ydyw cy-maint ag sydd yn wasanaethol i feithriniad ac arddangosiad ysbryd crefydd. Cymaint o ddillad sydd yn eisiau yw yr hyn a wasanaetha er cynesrwydd a harddwch i'r corff; ac nid oes eisiau o ffurf, ond a wasanaetha i ysbryd crefydd. Ac nid yw lluosogi ffurfiau oddiallan yn ddim ond prawf fod ysbryd cref-ydd wedi ei golli oddimewn; ac y mae yn ffaith a brofir gan hanes yr Eglwys o'r dechreuad, mai i'r graddau y darfu mewn crefydd ysbrydol yr ychwanegir addurniadau allanol. Mae golygiadau hollol gamsyniol gan luaws mawr ar wir can ffurfiad eglwys; tybiant hi yn rhywbeth tebyg i gl-claf, neu gymdeithas gyfeillgar i gynal a threfnu amgylchiad arianol crefydd yn y gymydogaeth. Edrychir ar yr Eglw fel cwmni yn cynal rhyw fasnachaeth grefyddol mewn ar a bernir pwysigrwydd pob aelod yn ol ei allu a'i gyfoeth wneyd rhyw beth tuag at hyny. Teimlir yn llawer mwy ll en ar ddychweliad dyn cyfoethog na dyn tlawd, am y g wneyd mwy i gynal yr achos. Edrychir ar ddychweliad d ion yn fwy fel moddion cynaliad crefydd, nac yr edrych

[redacted]



iad crefydd fel moddion i achub eneidiau. Gwneir cyn-
:h crefydd yn amcan, ac nid yn foddion ; ac achub en-
a yn foddion ac nid yn amcan. Darostyngir y mwyaf yn
on *i* gyraedd y lleiaf. Ond y mae hyny yn gamsyniad
g, oblegid nid yw yr holl allanolion yn ddim ond moddion
·haedd dybenion uwch ; codi capelau—cynal gweinidog-
·ffurfio eglwysi a chymhell cyfrann ; i gyd yn is-wasan-
ol i'r amcan mawr ;—achub eneidiau. "Nid o herwydd
od yn ceisio rhodd ; eithr yr ydwyf yn ceisio ffrwyth yn
au erbyn eich cyfrif chwi." Corfforiaeth ysbrydol ydyw
ys Dduw ; cymundeb o ddynion ail-enedig, wedi ymroddi
w ac i'w gilydd ; ac oddiar deimlad o ddylanwad cariad
yn uno i gynal i fynu foddion crefyddol, er cryfhau y
adau da hyny ar eu meddyliau eu hunain, ac i gadw drws
d i dderbyn ac ymgeleddu eraill o gyffelyb deimladau ;
d yw yr holl foddion allanol yn ddim ond ysgaffaldiau
nrheidiol yn unig nes adeiladu a pherffeithio y deml ys-
ol. Ond O ! cyn lleied sydd yn synio felly am grefydd.
a'r allanol a'r defodol yr erys lluaws mawr. Nid yw
r yn dyfod ond i'r cyntedd nesaf allan ; ârosant yn unig
g amgylchiadau crefydd. Daw rhai i'r cyntedd nesaf i
, i drin ymarferiadau a dyledswyddau crefydd ; ond ych-
iawn ddaw i'r cysegr sancteiddiolaf at bethau profiadol
brydol crefydd. Mae y cwmni yn myned yn llai pa agos-
neseir at fywyd a hanfod, ac enaid crefydd. Mewn cy-
l eglwysig pan y byddo amgylchiadau crefydd ger bron,
ligon i siarad, un yn cynyg a'r llall yn cefnogi ; rhodder
fater dyledswyddol neu ymarferol i lawr, ceir amryw yn
l ; ond nid cynifer a chydag amgylchiadau allanol yr
: ond gwasger yn mlaen at brofiad personol o ddylanwad
dd ar y galon ; hwyrfrydig iawn ydyw pawb i ddyweyd
Beth mae hyny yn ei ddangos ; ond fod crefydd y rhan
f yn y cynteddau ; ac mai ychydig sydd yn ymwthio yn
n i'r cysegr sancteiddiolaf i fwynhau cymundeb dirgelaidd
thau ysbrydol.

III. Crefydd mewn mwynhad, heb ymroddiad mewn gwaith. Cael holl bleser crefydd heb ddim o'i llafur yw e yllys lluaws mawr. Mae mwynhad mewn crefydd. " ffyrdd hi sydd ffyrdd hyfrydwch." Y pleserau uchaf y g meddwl dyn eu cyrhaedd ydyw y rhai sydd yn cyfodi o wrth grefydd. Mae ei llawenydd yn fwy nag eiddo yr nuwiolion pan "amlhaodd eu hŷd a'u gwin hwynt;" " llawenydd na ddwg neb oddiarnynt;" "yn llawenydd rhaethadwy a gogoneddus;"—ac yn cyfodi ei berchenog maint uwchlaw holl amgylchiadau y byd nes ei alluogi i " foleddu mewn gorthrymderau." Ond " ewyllys grefy llawer yw cael ei holl orfoledd heb gymeryd dim o'i gwai cael holl wleddoedd crefydd heb lafur crefydd. "Enai diog a ddeisyf, ond ni chaiff ddim." Carai y diog gael l elw, ac enill, a llwyddiant y dyn diwyd, ond eu cael yn ar ddeisyf. Mae cyfoeth, llwyddiant, a dyrchafiad yn d tasiwn iddo; ond nis gall feddwl am godi yn foreu, gweit yn galed, difuddio ei gorff o gwsg, a'i enaid o hyfrydwch eu cyrhaedd. Mwynhau llafur y diwyd, ac ymdroi *yn segu* dod y diog yw ei ewyllys. Ond nis gellir cael hyny. M yn groes i bob deddf mewn natur. Un masnachdy ma ydyw y byd yma, yn llawn o'r nwyddau gwerthfawrocaf, phob peth ynddo wedi ei farcio, a'i bris arno; ac os my cael y nwydd, rhaid rhoddi y pris sydd arno am dano. M deddf gan Dduw i roddi "hâd i'r hauwyr a bara i'r bwytaw ac y mae wedi sicrhau trwy gyfamod "na phalla pryd ha medi;" ond y mae yn rhaid i'r amaethwr achlesu, llafurio hau cyn y caiff mewn llawenydd gasglu ysgubau yn adeg c hauaf. Mae deddf gan Dduw i gynal bywyd a pharhau ie yd; ond y mae yn rhaid ymarfer ag angenrheidiau byw mewn bwyta, ac yfed, a gwisgo. Ac y mae y ddeddf yr mewn crefydd; mae cael gafael arni—cynyddu ynddi—a d byn cysur oddiwrthi yn gysylltiedig ag ymarferiad diw cyson, a chydwybodol a'i hordinhadau. "Enaid y *diwy* wneir yn fras"—"Llaw y *diwyd* a gyfoethoga." "Byddw

[redacted]



*ddiwyd* i wneuthur eich galwedigaeth, a'ch etholedigaeth yn sicr ;" oblegid hyny rydd i chwi fwynhad crefydd yn y byd yma ; "ac felly yn helaeth y trefnir i chwi fynediad i mewn i dragywyddol deyrnas ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist." Nid oes dim sydd o wir werth i'w gael ond trwy ymdrech ; a'r pethau goreu trwy y rhwystrau mwyaf. Nid oes yr un olygfa yn fwy ysblenydd nag a geir ar ben y Wyddfa, yn enwedig os eir yno yn ddigon boreu i weled yr haul yn codi. Yno yr ydych wedi ymgodi uwchlaw yr holl fryniau cylchynol—maent yn ymddangos yn y dyfnder yn mhell odditanodd, gwelir ceunentydd dyfnion, agorfau llydain, llynoedd mawrion, afonydd trystiog, rhaiadrau cwympadwy, a gwlad eang am ugeiniau o filldiroedd yn ganfyddadwy i'r llygaid noeth. Gwelir cymylau yn gorphwys ar benau y bryniau a'r niwl yn amgylchu copa pigfain y mynydd tywysogaidd ; a chyn pen ychydig fynudau daw awel gref, iachusol heibio a chwal y niwl, ac ail ddychwela yr olygfa fawreddog ; ac os digwyddir bod yno yn ddigon boreu ar ddiwrnod clir i weled yr "haul yn dyfod allan o'i ystafell fel cawr yn rhedeg gyrfa ;" y mae yr olygfa yn annarluniadwy ; o'r braidd na wna ddyn heb awen ynddo yn fardd yn y fan. Ardderchog yn wir yw yr olygfa. Ond ni cheir mo honi wrth droed y Wyddfa, rhaid trwy chwys a lludded yn nyfnder y tywyllwch ddringo am oriau nes cyrhaedd ei phig-dwr cyn y mwynheir swynion yr olygfa. Felly hefyd y mae mwynhad uchaf crefydd i'w cael trwy ymdrech. Mae ganddi ei Phisgah a'i Nebo,—oddiar y rhai y gwelir "y tir pell a'r brenhin yn ei degwch, y daw i'r golwg "gyrau y wlad dda odiaeth"—lle y mae awelon balmaidd iachusol addewidion Duw yn chwythu—a "Haul cyfiawnder yn codi a meddyginiaeth yn ei esgyll"—nes y mae y Cristion mewn perlewygon o orfoledd yn dywedyd weithiau, "Gad i mi fyned drosodd, i weled y wlad dda sydd tu hwnt i'r Iorddonen, y mynydd da hwnw, a Libanus." Ond cyn y ceir y mwynhad yna rhaid i'r Cristion "ymwadu ag ef ei hun, codi ei groes beunydd, a chanlyn Crist." "Ymdrechu am fyned i

mewn trwy y porth cyfyng." "Treisio teyrnas nefoedd"—a "thrwy lwyrfryd calon i lynu wrth yr Arglwydd." Ceir ei mwynhad hi yn ei gwaith, ei chysuron yn ei llafur, ei gwleddoedd yn ei dyledswyddau, a'i gwobrau yn ei chroesau. Llafur crefydd sydd yn rhoddi mwynhad crefydd. Ac wrth y bobl sydd yn cwyno nad ydynt yn cael cysur gyda chrefydd; yr unig gynghor sydd genym i'w roddi ydyw, gwnewch fwy drosti, ac yna yn sicr cewch fwy ganddi. Mae pawb yn cael llôg o'r Ariandy wrth yr un *rate*, yn ol y swm sydd ganddo i mewn. Nid gwiw i'r dyn nad oes ganddo ond can' punt yn y *Bank* [illegible] o eisiau cael llôg mil o bunnau. Os ydyw am gael mwy o lôg allan, rhaid iddo roddi mwy o gorff i mewn. Mae yn cael llôg yn ol y corff. Mae pawb yn cael cysur crefydd yn llôg allan, yn ol y llafur y maent yn ei roddi i mewn yn gorff. "Yr hwn sydd yn hau yn brin a fêd hefyd yn brin; a'r hwn sydd yn hau yn helaeth a fêd hefyd yn helaeth." "O na wrandawsit ar fy ngorchymynion; yna y buasai dy heddwch fel yr afon, a'th gyfiawnder fel tónau y mor." *Ond* "ewyllys-grefydd" llawer ydyw cael cymaint byth ag a *ellir ganddi* a gwneyd cán lleied byth ag a ellir drosti.

IV. Crefydd mewn amgylchiadau heb wirionedd mewn egwyddor. Yn sicr y mae gan amgylchiadau ddylanwad cryf arnom; ac yr ydym heb yn wybod i ni mewn perygl oddiwrthynt. Mae genym brofion fod amgylchiadau wedi effeithio yn anffafriol hyd yn nod ar ddynion da. Yr oedd Agur yn gweddio am gael ei gadw rhag dylanwad amgylchiadau "Dau beth yr ydwyf yn eu gofyn genyt, na omedd hwynt mi cyn fy marw." Tyn yn mhell oddiwrthyf wagedd a chelwydd; na ddyro i mi na thlodi na chyfoeth, portha fi a'm digonedd o fara; rhag i mi ymlenwi a'th wadu di, a dywedyd Pwy yw yr Arglwydd? a rhag i mi fyned yn dlawd a lladrata a chymeryd enw fy Nuw yn ofer." Yr oedd ofn yr amgylchiadau arno, a gweddiai am ei gadw mewn sefyllfa ddibrofedigaeth i'w grefydd. Ond fel y dywedai y diweddar Barch. D Stephens, Glantaf yn briodol iawn; "gweddi crefyddwr bach

[redacted]



wan oedd gweddi Agur. Buasai yn chwith gan Paul feddwl weddio gweddi fach fel yna, nid oedd ofn cyfoeth na thlodi gno ef—medrai ymostwng, a medrai ymhelaethu, medrai fod mewn prinder, a medrai fod mewn llawnder." Yr oedd crefydd Paul uwchlaw dylanwad amgylchiadau. Ond nid Paul yw bob Cristion. Mae dynion da yn cael eu hysigo gan amgylchiadau. Ond y mae crefydd rhai dynion i gyd yn yr amgylchiadau. Cyfrwyddiant yw eu harweinydd. Cyfleustra sydd yn eu rheoli. Mae crefydd ganddynt at eu hewyllys hwy i'w gwisgo neu i'w diosg—i'w dangos neu ei phlygu, yn hollol yn ol yr amgylchiadau Os gwelant y gall ateb rhyw wasanaeth, gwisgant hi; ond os barnant yn well ei gadael gartref foreu y ffair neu y farchnad, neu ddiwrnod yr etholiad, neu y *vestri*, plygant hi, a gosodant hi o'r neilldu. Nid crefydd sydd yn eu rheoli hwy, ond hwy sydd yn rheoli crefydd. Onid oes cannoedd o broffeswyr, dyna eu nodwedd? Maent yn grefyddol yn y cyhoedd heb ddim yn y dirgel—yn ddefosiynol gartref yn ngolwg eu hadnabyddion ond yn gwbl ymollyngar yn mysg dyeithriaid—yn ymostyngol fel Ahab mewn gwasgfeuon, ond yn angofio Duw pan symudir y wialen. Ffurfir hwy i ddelw yr amgylchiadau. Mae Ioan wedi eu darlunio, "Oddiwrthym ni yr aethant hwy allan, eithr nid oeddynt hwy o honom ni, canys pe buasent o honom ni hwy a arosasant gyda ni; eithr hyn a fu fel yr eglurid nad oeddynt hwy o honom ni." Ond y mae gan filoedd grefydd sefydlog, egwyddorol, uwchlaw dylanwad holl amgylchiadau y byd. Cafwyd engraifft nodedig o hyny yn Daniel. Mae yn estron mewn tir dyeithr—mae llygaid cynfigen wedi ei farcio; mae cyfraith wedi ei llunio o bwrpas i'w ddal; nid oes gweddio i fod ar na Duw na dyn am ddeng niwrnod ar hugain ond ar y brenhin. Dyma hi yn y gyfyng ar Daniel onid yw? Na nid oes dim petrusder yn ei feddwl. Gwyddom pa fodd y gwnaethai ambell un. Dechreuasai siarad ag ef ei hun "Wel nid yw y gyfraith yn dyweyd fod yn rhaid gweddio ar y brenhin, ond nad oes dim gweddio ar neb arall; ni lygraf fy

nghydwybod trwy weddio ar y brenhin ; ac nid yw fy nghrefydd mor wan na allaf fyw fis heb weddio ; ysgoaf y gyfraith a chadwaf fy nghrefydd." Ond nid oedd dim triciau fel yna yn nghrefydd Daniel, ond fel gwr gonest, unplyg "aeth i'w dŷ, a'i ffenestri yn agored yn ei ystafell tua Jerusalem ; tair gwaith yn y dydd y gostyngai efe ar ei liniau, ac y gweddiai, ac y cyffesai efe o flaen ei Dduw, *megis y gwnai efe cyn hyny.* Ac os mynwch esboniad paham y gwnaeth felly, "O HERWYDD PUREDD A GAED YNDDO." Yr oedd crefydd yn egwyddor sefydlog uwchlaw dylanwad holl amgylchiadau y byd. Mae y llong-hwyliau yn dibynu ar y gwynt, ac yn cael ei gyru yn ol ac yn mlaen ganddo ; ond y mae yr agerdd-long a'i nerth oddifewn, a gweithia yn mlaen yn erbyn y gwynt a'r llanw. Mae crefydd yr amgylchiadau yn cael ei chylcharwain gan bob awel dysgeidiaeth. Ond y mae crefydd egwyddorol yn "dal ei ffordd ac yn ychwanegu cryfder." Llanwer ein Heglwysi â dynion y byddo eu crefydd yn dystiolaeth sefydlog dros wirionedd yn y byd.

Pwnc cyntaf crefydd ydyw plygu cyndynrwydd *ewyllys* pechadur. "Ceisio ei hunan" daflodd ddyn i *lawr; "ymwadu* ag ef ei hun" ddaw a dyn i fynu. Ceisio ei ewyllys ei hun oedd cam cyntaf ei ddinystr—rhoddi ei ewyllys ei hun i fynu i ewyllys Duw ydyw cam cyntaf ei adferiad. Bydd yn ddigon hawdd trin pechadur, pan y ceir ganddo ofyn—"Arglwydd, beth a fyni di i mi wneuthur?" Derfydd crefydd ewyllys dyn, yn nghrefydd ewyllys Duw.

[redacted]

# PREGETH IV.

## CYMERIAD DANIEL.

DANIEL i. 8.

"A Daniel a roddes ei fryd, nad ymhalogai efe trwy ran o fwyd y brenhin, na thrwy y gwin a yfai efe: am hyny efe a ddymunodd ar y pen-ystafellydd, na byddai raid iddo ymhalogi."

Mae Daniel yn un o gymeriadau uchaf y Beibl. Cysylltir ei enw ddwywaith gan y proffwyd Ezeciel gyda'r ddau batriarch enwog Noah a Job. "Pe byddai yn ei chanol y tri wŷr hyn Noah, Daniel a Job, hwynthwy yn eu cyfiawnder a achubent eu henaid eu hun *yn unig*." Mae yn anrhydedd uchel i gymeriad Daniel ei gyplysu, ac efe yn fyw, ac wedi bod y pryd yma bedair blynedd ar ddeg yn y caethiwed, a'r ddau batriarch duwiol oeddynt wedi meirw er's talm.

Ychydig iawn yw yr hanes sydd genym o'i ddyddiau boreuol. Mae yn ymddangos ei fod o achyddiaeth uchel, os nad o'r hâd brenhinol. Dywed Josephus ei fod o deulu Zedekiah, yr olaf o frenhinoedd Judah cyn distrywio Jerusalem gan Nebuzaradan. Dygir ei enw dan sylw ynglŷn â thri eraill a ddewiswyd i'w haddysgu yn iaith a llenoriaeth Caldea, fel y byddai iddynt wasanaethu yn y llys. Yr oeddynt i gael eu cynal ar draul y llywodraeth am dair blynedd; a dognodd y brenhin iddynt "ran feunyddiol o'i fwyd ac o'r gwin a yfai efe." Gwelodd Daniel a'i gyfeillion eu bod yn awr yn dyfod i gyffyrddiad â phrofedigaethau newyddion, ac ymarfogasant i'w herbyn. "A Daniel a roddes ei fryd nad ymhalogai efe." Y mae Daniel yn un o'r cymeriadau cymhwysaf a allasem gael i'w ddal allan fel testyn i bregethu oddiwrtho i bobl ieuainc, ac i'w cyfeirio ato fel esiampl i'w efelychu.

I. YR ANFANTEISION DAN BA RAI YR AMLYGODD DANIEL GYMERIAD.

1. *Yr oedd ei oedran yn anfantais iddo.* Nid ydym sicr o'i oedran. Mae amrywiaeth golygiadau ar hyny; cytunir ei fod yn rhywle o ddeuddeg i ddeunaw oed. Yr ran mwyaf manteisiol i ddysgu iaith Caldea, ond yr ran mwyaf anfanteisiol i gyfarfod arferion llygredig y Tymor peryglus ydyw yr un rhwng bachgendod a dyn Gweddiai Abram o'r Cennant unwaith, "Cofia Arglwydd bobl ifanc yma o'r deunaw i'r dwy ar hugain, *adeg wan ddyn ti wyddost'.* Yr oedd yr hen Abram yn llygad ei le adeg wan ydyw. Dibrofiad o'r byd, ac eto yn llawn bywiogrwydd; yn agored i fyned yn uchelfryd a dideiml yn galed a rhyfygus, os na bydd gofal mawr. Oedran aeth yn llongddrylliad ar lawer ynddo wrth greigiau an iaeth, balchder, ac afradlonedd. Yr oedd Daniel dan yr fantais yna.

2. *Yr oedd sefyllfa alltudiedig yn anfantais iddo.* M cynorthwyon allanol yn fanteisiol i amddiffyniad *cymeria* llygaid rhieni, sylw cydnabyddion, a barn y *cyhoedd.* N gwyddom i ba eithafoedd yr ymollyngemped ymddifadid ni attalfeydd allanol hyn. Anfantais y gwr ieuanc oddicart yw fod y rhwymau hyn yn colli eu dylanwad ar ei fedd Gorchest fawr ydyw medru ymddwyn yn iawn pan na byd neb ond Duw yn gweled; ac yn enwedig pan fyddo dyn wedi ymddwyn mor ddirmygus nes gosod dyn mewn profed aeth i ddibrisio ei hun Ond gwnaeth Daniel hyny yn Babi bell—yn gaethwas alltudiedig cadwodd ei goron.

3. *Yr oedd llygredigaeth y llys yn anfantais iddo.* oedd llys Babilon yn llygredig iawn; rhoddid y rhyddid aethaf i deimladau iselaf y natur ddynol—ac yr oedd yno peth i foddio gwyniau a nwydau ieuenctyd. Mae y rhyfyg ddangosodd Belsassar wrth gymeryd llestri cysegredig t Dduw i yfed o honynt yn y wledd; a'r glddest oedd myned yn mlaen ar y pryd yn dangos fod pechodau y cna

[redacted]



yn cael y rhyddid mwyaf di-wahardd. Mae llygredigaeth dwfn o gylch dynion a hir gynefino ag ef yn tueddu i bylu eu syniadau am foesoldeb. Pan ddaeth y gwr ieuanc gyntaf i'r dref a gweled y "ddinas wedi ymroi i eilunod;" "a'r wlad yn llawn o gamwedd yn erbyn Sanct yr Israel"—masnachdai yn agored ar ddydd Duw; menywaid digymeriad yn rhodio yr heolydd yn ben-uchel; ac ysgubion dynoliaeth yn gwylio eu cyfle i wneyd drygioni; yr oedd "ei ysbryd yn cynhyrfu ynddo; ond wedi cynefino â'r golygfeydd y mae eu hysgelerder yn llai brawychus—gall yn raddol ddyfod i chwerthin yn yr olwg arnynt, ac o'r diwedd gyd redeg i'r unrhyw ormod rhysedd. Y cam arweiniol i ymollyngiad ydyw syniad moesol isel; ac y mae cynefino â golygfeydd llygredig yn tueddu i feithrin syniadau isel am foesoldeb. Cadwer yn fyw yn wastad ynom y teimlad effro hwnw, "Gwelais y troseddwr a gresynais."

4. *Yr oedd cydffurfiad y lluaws a'r arferion llygredig yn brofedigaeth.* Nid ymddengys fod ond pedwar yn anghydffurfio, yr oedd y lluaws yn rhoi ffordd, yn ystwytho eu cydwybodau at ewyllys y brenhin. Ac y mae dylanwad cryf gan y lluaws ar ddyn; yn enwedig ar ddyn ieuanc. Nid yw yn dewis bod yn *odd.* Mae eraill yn cyrchu i dafarnau—yn mynychu dawns gynulliadau a chwareudai; yn ymddifyru yn yr ystafell-gerdd; ac yn treulio eu Sabbothau mewn difyrwch—paham y byddaf finau yn wahanol? Ond "na ddilyn luaws i wneuthur drwg." Beiddiodd Daniel fyned yn erbyn y lluaws. Safodd yn anghydffurfiwr pan yr oedd y lluaws yn cydffurfio—a dyna sydd yn profi bywyd. Gall pysgodyn marw fyned gyda'r llif, ond rhaid cael pysgodyn byw i fyned yn erbyn y llif. Gweithiodd Daniel gymeriad rhinweddol dan yr amgylchiadau mwyaf anffafriol; ac nid oes yr un sefyllfa pa mor anfanteisiol bynag y byddo nas gellir byw yn dduwiol ynddi. Nid oes dim raid i chwi aberthu gwirionedd yn y masnachdy mwyaf hocedus: nid oes raid halogi y Sabboth yn yr alwedigaeth iselaf; nid oes raid i chwi lygru eich cydwybodau yn y teuluoedd mwyaf annuwiol.

Mae genym esiamplau o rai wedi byw yn dduwiol d
amgylchiadau mwyaf anfanteisiol. Cadwodd Joseph ei g
iad yn nhŷ Putiphar ; Obediah yn nheulu Ahab ; a l
yn llys Babilon. Ac ni lychwinodd y llances o wlad Is
"henw da" yn nheulu Naaman ; Esther yn llys Aha
nac Abigail er ei "hieuo yn anghymarus" â'r Nabal
hwnw. Cafodd Daniel yr amgylchiadau mwyaf anfa
weithio allan ei gymeriad.

II. Y LLINELLAU NODEDIG A EGLURWYD YN NGHY
DANIEL.

1. *Deall da.* Yr oedd Daniel yn nodedig mewn
gwybodaeth. "Rhoddes Duw iddo wybodaeth a d
mhob dysg a doethineb ; a hyfforddiodd ef yn mhob
igaeth a breuddwydion." "Yn mhob doethineb a dea
ofynai y brenhin, cafwyd ef yn ddeg gwell na'r holl
iaid a'r astronomyddion oedd o fewn ei holl frenhinia
Gwelodd y brenhin Darius ef yn "rhagori ar y rhag
a'r tywysogion, o herwydd bod ysbryd rhagorol ynddo,
oedd yn ddiarhebol mewn doethineb fel y dywedai y pr
mewn gwawd wrth falch dywysog Tyrus, "Wele di yn d
ach na Daniel, ni chuddir dim dirgelwch rhagot ti ;"
mae ei holl hanes yn profi fod ynddo "oleuni, a deall, a
ineb fel doethineb y duwiau i ddeongli breuddwydion
luro damegion ; a datod cylymau." Ac o bob peth y
ddrych mwyaf dirmygus welodd Solomon oedd, "gwr
heb ddeall ganddo." Corff lluniaidd, gwisg drwsiadus,
iad hoyw, gwyneb hardd, barf fawr, "ond heb ddeall ga
cystal fyddai dyn pren ag yntau. "Mewn gwybodaetl
wch wŷr ;" a gwybodaeth sydd yn gwneyd dyn. Chw
am bob gwybodaeth naturiol a moesol. Goreu pa
fyddoch yn wybod am natur a'i deddfau ; am ddefnydd
odoliaethau ; am wladlywiaeth a'i hegwyddorion ; am
ar isod a'r nefoedd uchod ; am y cenhedlaethau a fu o'
a'u holl dreigliadau ; ond yn enwedig "gwybod y
sydd ynglŷn wrth iachawdwriaeth"—"gwybod yr ysg

[redacted]



an"—"gwybod ofn yr Arglwydd;" oblegid "deall da" yn y pethau hyn "a ddyry ras." Ond cyn gwybod y mae yn rhaid darllen llawer, a darllen yn fanwl, a myfyrio yn galed, ar destynau sylweddol. Darllenwch bethau rydd waith i'r meddwl—ëanga eich syniadau; yn lle rhyw bapyrach isel, a mân gyhoeddiadau masw, nad ydynt dda i ddim ond i grebychu eneidiau. Darllenwch Dr Owen ar Berson Crist; Charnock ar Fod a Phriodoliaethau Duw; Dr. Williams ar Benarglwyddiaeth a llywodraeth ddwyfol; Jonathan Edwards ar Ryddid yr ewyllys a'r serchiadau; Gurnal ar y Cristion mewn cyflawn arfogaeth; a gweithiau Baxter, a Fuller, a Dodridge, a Henry, a Dr. Lewis, a Charles;—llyfrau rydd fwyd i'ch eneidiau. Dysgwch ddatod cylymau dyrus, a myned i mewn i guddfeydd dyfnion bethau Duw. Ymaflwch mewn testynau a bair i'ch ymenyddion chwysu. Ni ddaw eich dylanwad byth i gael ei deimlo yn bwysau yn y byd heb fod ynoch fel yn Daniel "ysbryd rhagorol, a gwybodaeth, a deall."

2. *Purdeb manwl.* "A roddes ei fryd nad ymhalogai." Mae yn debyg fod ar fwrdd y brenhin bethau nas gallasai yn gydwybodol fel Iuddew gyfranogi o honynt. Yr oedd yn rhaid iddo halogi ei gydwybod neu ymatal, ond rhoddodd ei fryd nad ymhalogai. Ymataliodd, ond gwnaeth hyny dan lywodraeth barn bwyllog; a dymunodd ar y pen ystafellydd na themtid ef â'r brofedigaeth. Dewisodd fywioliaeth isel gyffredin—ffa i'w bwyta a dwfr i'w yfed; a bendithiodd Duw hyny iddo fel yr oedd ei wedd yn decach nag eiddo y rhai oedd yn bwyta bwyd y brenhin, ac yn yfed ei win. Yr oedd ganddo lywodraeth hollol ar ei flysiau. Yr oedd yn rhy bur i yfed *gwin*, i yfed gwin yn y *dirgel*, i yfed gwin er ei gael am *ddim*, i yfed gwin ar *fwrdd y brenhin*, i yfed gwin er fod y *lluaws* yn gwneyd, i yfed gwin er fod perygl *digio* y brenhin drwy wrthod; eto "rhoddes ei fryd nad ymhalogai." Gallasai llawer ddadleu nad oedd ond peth bychan, ond yn ngolwg Daniel yr oedd yn beth mawr; a gorchest i ddyn ieuanc yw

bod yn fanwl mewn pethau bychain a gyfrifir yn ddibwys
y lluaws. Ond un o'r pethau mwyaf dinystriol i gydwy-
bur ydyw edrych yn ysgafn ar gellweir â phrofedigaeth.
Bobl ieuainc! dilynwch gamrau Daniel yn hyn. Gwnâ
ddiofryd yn erbyn y cwpan meddwol. Dyma y graig
ystr, yn erbyn yr hon y mae miloedd o'n hieuenctyd
gwneyd llongddrylliad am eu ffydd. "Na fydd yn
rhai sydd yn meddwi ar win." "Nac edrych ar y gwin
fyddo coch, pan ymddangoso ei liw yn y cwpan, pan y
hyrfo yn iawn; yn y diwedd efe a frath fel y sarff, ac a
fel y neidr." Mae llawer o honoch yn byw mewn lle
dygir y ddiod feddwol i'r bwrdd; gwnewch fel y gwnâ
Daniel. Mynwch gadw cydwybod bur oddiwrth arferion
edig eich oes.

3 *Penderfyniad disigl.* Gwnaeth benderfyniad a
ato. "Rhoddodd ei fryd nad ymhalogai,* ac ni sigl
Ond yr oedd yn ddoeth er ei fod yn benderfynol. Cynygi
i'r pen ystafellydd wneyd deng niwrnod o brawf; *ond pe*
chydsyniasai y pen-ystafellydd i'r prawf, safasai *Daniel at*
benderfyniad. Nid "corsen yn ysgwyd gan *wynt" ydoedd*
ond hen dderwen gadarn nas gallasai holl gorwyntoedd
Babilon ei siglo. Gwnaed prawf llymach o lawer arno
hyn. Pasiwyd cyfraith a seliwyd hi gan y brenhin Da
"nad oedd gweddio i fod ar na Duw na dyn am ddeng
nod ar hugain ond ar y brenin;" a'r unig amcan oedd
Daniel. Attegid y gyfraith â bygythiad o ffau y llewod;
ni chymerodd Daniel ddim arno wybod am y gyfraith;
odd ei arfer fel o'r blaen, "aeth i'w dŷ, a'i ffenestri yn
tua Jerusalem,—a gweddiodd dair gwaith yn y dydd,
gwnai efe cyn hyny;"—ni roddodd efe i fyny y weddi
dydd;—nid aeth i'r drafferth i gau ei ffenestri; ond gwnâ
yn hollol fel y gwnai efe cyn hyny. Mae pawb wnaeth
hol yn y byd yn meddu ysbryd cyffelyb. Ni ddaw byth dd
daioni o'r dyn ieuanc gwamal, cyfnewidiol, meddal, gwl
aidd yna a gymer ei gylch-arwain gan y gallu cryfaf ar y

[redacted]



hwr dauddyblyg ei feddwl sydd anwastad yn ei holl ffyrdd." "Ansafadwy oeddit fel dwfr, ni ragori di." Dinystr canidd yw na allan ddyweyd *Na*, ac wedi ei ddyweyd sefyll "Fy mab, os pechaduriaid a'th ddeuant, na chytuna." e yn werth darllen hanes y dynion fu yn *Heroes* ar dir ydd. Dyna y dynion sydd wedi ysgwyd y byd—a cherfio henwau yn annileadwy ar galon cymdeithas. "Ffydd y i dilynwch." "Y rhai trwy ffydd a oresgynasant deyrnasd."

I. *Parch i Dduw.* Dyma oedd wrth wraidd y cwbl. Yma edd sylfaen ei gymeriad wedi ei rhoddi i lawr, "o herwydd edd a gaed ynddo;"—ffyddlawn oedd efe, fel na chaed do nac amryfusedd na bai." Dygwyd ef i adnabyddiaeth duw yn ei wlad, magwyd parch ynddo i Dduw ei au, hwyrach ar aelwyd ei rieni trwy addysgiadau mam wiol, ac er ei gymeryd o'i wlad yn ieuanc ni chollodd argraffiadau hyny oddiar ei feddwl. Saif Daniel yn barth blaenaf duwiolion y Beibl; rhestrir ef gyda Noah, niel a Job, fel y "tri chedyrn cyntaf" mewn crefydd. Yr d mor dduwiol na allasai ei elynion weled un gwall ynddo ei ffyddlondeb i'w Dduw. Mae yn un o gymeriadau perhiaf y Beibl. Nid oes un *ond* yn gwmwl ar ei hanes; y mae yn sefyll ger ein bronnau "ddyn Duw;" "perffaith yfiawn heb ddiffygio mewn dim." Nid ydym yn dyweyd oedd diffygion ynddo; ond gwelodd ysbryd Duw yn dda dio y cwbl yn ei hanes, a'i osod allan fel un o'r engreifftiau ffeithiaf o grefydd gyflawn. Ac yn sylfaen i'r cwbl, ac yn ar y cwbl yr oedd parch i Dduw yn ei galon. Dyma fod crefydd. Gellir meddu deall da,—purdeb manwl, a nderfyniad disigl hebddi; ond "dechreuad doethineb yw yr Arglwydd." Dyma yn unig geidw y gwr ieuanc yn ogel dan bob amgylchiad, "Deddf ei Dduw yn ei galon a'i rau ni lithrant." Dyma alluogodd Joseph i wrthsefyll fedigaethau tanllyd yr Aipht;—"Pa fodd y gwnaf y mawr wg hwn a phecha yn erbyn Duw?" Dyma gadwodd y

bachgen Abiah rhag ymhalogi o hono â phechodau ty ei boam ei dad; "O herwydd cael ynddo ef beth daioni tuag at Arglwydd Dduw Israel." Dyma gadawodd Obadiah rhag llychwino ei wisgoedd yn nheulu Ahab, oedd ei fod yn "ofni yr Arglwydd o'i febyd." A dyma gadawodd Daniel rhag ymollwng gyda llygredigaethau llys Babilon, oedd ei lawn calon i'w Dduw. Fy nghyfeillion ieuainc! Gellwch gasglu cyfoeth yn bentyrau; gellwch drysori gwybodaeth nes cael eich cyfrif yn oraclau; gellwch ddringo i fynu i binaclau uchaf cymdeithas; ond ni thycia hyn oll heb barch i Dduw yn y galon. "A thithau Solomon fy mab, adnebydd Dduw dy dad, a gwasanaetha ef â chalon berffaith," oblegid "dechreuad doethineb yw ofn yr Arglwydd." Dyma elfenau cymeriad anfarwol.

III. Yr anrhydedd y dyrchafodd cymeriad Daniel ef iddo.

1. *Dyrchafiad yn y llys*, Ymgododd i fod yn brif weinidog y brenhin Yr oedd yno chwech ugain o dywysogion; tri rhaglaw ar y tywysogion, a Daniel yn benaf o'r *tri*. *Cododd* ei grefydd ef o fod yn gaethwas i ymyl yr *orsedd*. "*A weli* di wr diesgeulus yn ei orchwyl? efe a saif ger bron brenhinoedd, ac nid ger bron rhai isel radd." A oes rhyw rai yn dyweyd fod crefydd yn anfantais i ddyrchafiad yn y byd yma? Y gwir yw nid oes dim mor fanteisiol. Mae dynion ieuainc sobr, gonest, crefyddol yn sicr o enill ymddiried eu huwchradd. Mae aspri mewn pobl ieuainc am fyned i fynu, a mawr lwydd i chwi. Hoffwn eich gweled oll "a goleuni Duw ar eich pen a llewyrch rhagluniaeth ar eich pebyll;" ond os mynwch hyny dilynwch ol traed Daniel. "Dyrchafa di hi, a hi a'th ddyrchafa di, hi a'th ddwg di i anrhydeddu os cofleidi hi." Gwir hyny i ddyn yn y byd yma. Duwioldeb ydyw sylfaen cymeriad urddasol mewn cymdeithas; ac i anrhydedd tragywyddol nid oes dim arall yn dyrchafu dyn.

2 *Cymeradwyaeth Duw.* Dyma y peth penaf, "rhyngu bodd Duw" a "bod yn gymeradwy ganddo ef." Y dim

[redacted]



e eu cymeradwyaeth yn bwysig ydyw, Duw a chydwybod. ddylai neb ddirmygu cymeradwyaeth dynion. Mae bod gymeradwy ganddynt yn help mawr i wneyd daioni iddynt. ae "gair da" pawb, fel yr oedd i Demetrius i'w ddymuno gellir ar dir gwirionedd ei gyrhaedd, ac y mae bod yn gymeradwy gan y saint" yn werthfawr iawn. Ond Duw a ydwybod yw y ddau ag y mae eu cymeradwyaeth yn anaethol bwysig i bob dyn. Y fantais i'w boddloni yw fod y lau yr un ochr. Wrth enill cymeradwyaeth Duw y diogelir ddwch cydwybod. Y gwirionedd oddi allan yn cyfiawnhau, galon oddifewn heb gondemnio. Yr oedd gwahaniaeth wr rhwng sefyllfa Darius a Daniel. Y naill yn y palas nhinol, a'r llall yn ffau y llewod. Ond yr oedd gwahanth mwy yn sefyllfa eu meddyliau oddi mewn, nag oedd yn hamgylchiadau oddi allan. Cysgodd Daniel yn dawel wng y llewod, ond methodd y brenhin a chysgu yn ei balas. oedd cydwybod euog yn gwneyd gwely man blu Darius yn led i orwedd arno; a chydwybod dawel Daniel yn rhoddi rphwysfa iddo yn ngwaelod y ffau.—Cydwybod euog yw y dymaith fwyaf annedwydd; a chymeradwyaeth Duw dry y rn a'r ffau yn nefoedd i ddyn.

Wyr ieuainc,—mynwch gymeriad y bydd yn werth gan luw ei ganmol. Mor felus fydd ei glywed yn dyweyd, "Da, s da; a ffyddlon."

3. *Enwogrwydd yn y byd.* Ni welwyd yn werth cadw wau y bechgyn gydfurfiodd, ond y mae enwau Daniel, adrach, Mesech, ac Abednego yn fyw ac yn enwog wedi igliad miloedd o genhedlaethau. "Coffadwriaeth y cyfiawn dd fendigedig; ond enw y drygionus a bydra." Mae cymiad Daniel yn anfarwol. Mae awydd cryf ar ddynion am w yn y dyfodol, a throsglwyddo eu henwau i'r oesau a ddel. r uchelgais yma a weithiai Napoleon Bonaparte yn mlaen; ogoniant, gogoniant, gogoniant oedd ei arwyddair. Wedi ychwelyd i Paris ar ol rhyfel Marango dywedai,—"Wel! chydig ddigwyddiadau fel hyn eto, ac yna yn sicr disgynwn i

oesau dyfodol ; ond beth yw hyn ? gorchfygais mae mewn llai na dwy flynedd Cairo, Paris, a Milan ; ond wn farw y foru, llai na haner tu dalen a fyddai y cw lwynid i fy holl orchestion wedi treigliad deg o gai Cael cyfrol i drosglwyddo'r ei enw i oesau dyfodol oed elgais, er i'r gyfrol hono gael ei hysgrifenu â gwa Ewrop. Ond derfydd coffadwriaeth Napoleon B Ni bydd cymaint a haner tu dalen i groniclio ei orch dwy lythyren i gofnodi ei enw, oblegid "enw y dri bydra." Ond y mae Daniel wedi cyfodi iddo ei hun a ol-fodola y greadigaeth. "Y cyfiawn a fydd by coffadwriaeth." Duwioldeb yn unig fy anwyl gyfeillio a wna eich cymeriad yn enwog ac anfarwol. Maluri ofnau rhyfelwyr dewr ; ymollynga y pontydd croge yn gofadeiliau o fedrusrwydd celfyddydwyr cywrain : adeiladau gorwych Llundain a Liverpool sydd yn gof o ddiwydrwydd eu marsiandwyr pendefigaidd ; ac yn gweddillion gyda dyfroedd y Thames a'r Mersey i'r gwna, metha creigiau a mynyddau Arfon a Meirion a eu gwadnau ; clywir trwst cleciadau colofnau y dda nghoelcerth y dydd diweddaf, â "y nefoedd a ebio thwrf, todda y defnyddiau gan wir wres, a phlygir y g aeth fel llyfr." Ond pan y gwysir holl feibion Adda i'r diweddaf dywed y Barnwr cyfiawn wrth Daniel, a p rodiant lwybrau ei ffydd ef, "Gorphwysi a sefi yn yn niwedd y dyddiau :" "dos i mewn i lawenydd glwydd."'

*Bobl ieuainc.* Rhoddwch y flaenoriaeth i'r pethau gwnewch eich goreu mewn ffordd onest o'r byd yma, yn gyntaf ceisiwch deyrnas Duw a'i gyfiawnder ef ; bethau hyn a roddir i chwi yn ychwaneg."

[redacted]

# PREGETH V.

## MARW I'R DDEDDF.

GALATIAID ii. 19.

"Canys yr wyf fi trwy y ddeddf, wedi marw i'r ddeddf; fel y byddwn byw i Dduw."

Mae yr Apostol Pedr yn dyweyd fod rhyw bethau yn ysgrifeniadau ei anwyl frawd Paul, yn "anhawdd eu deall;" ac mae pawb a'u darllenodd yn ystyriol o angenrheidrwydd yn gorfod teimlo hyny. Mae yr anhawsder i'w ddeall yn cyfodi, —nid oddiar unrhyw aneglurder yn ei ddull ef o ymadroddi; ond oddiar fawredd a dyfnderoedd y pynciau a drinir ganddo. Mae ambell i ysgrifenydd, ac ambell i bregethwr yn anhawdd i ddeall am ei fod yn "tywyllu cyngor ag ymadroddion heb wybodaeth." Nis gellir gweled gwaelod y pydew, nid am ei fod yn ddwfn, ond am fod y dwfr yn llwyd a chymysgedig. Ond am ysgrifeniadau Paul y mae yr anhawsder yn cyfodi oddiar fawredd y pynciau a drinir ganddo. Er fod y dwfr yn fthaf gloyw, nis gellir gweled y gwaelod oblegid dyfnder y pydew. Gall mai ei lythyrau at y Rhufeiniaid a'r Galatiaid yw y rhai anhawddaf i'w deall o'i holl ysgrifeniadau; a bod y mynych gyfeiriadau at wahanol ddeddfau yn mysg y pethau anhawddaf yn y llythyrau hyny. At hyny y cyfeiria y testyn, "Canys yr wyf fi trwy y ddeddf, wedi marw i'r ddeddf; fel y byddwn byw i Dduw."

### Y DDEDDF.

Yr ydym yn fynych iawn yn cyfarfod â'r gair deddf yn llythyrau Paul. Nid yr un peth a olygir wrtho yn mhob man. Mae arglwyddiaeth pechod ar galon yr annuwiol yn cael ei

alw yn "ddeddf pechod a marwolaeth." Mae gweddillion llygredd yn nghalon y Cristion, yn cael ei alw yn "ddeddf yr aelodau." Mae awdurdod yr efengyl yn rhyddhau yr enaid crediniol, yn cael ei galw yn "ddeddf ysbryd y bywyd yn Nghrist Iesu." Mae llywodraeth gras ar galon y dyn duwiol yn myned dan yr enw "deddf y meddwl." Fel yna y mae i'r gair deddf ystyr ëang, i ddynodi unrhyw beth sydd yn cario llywodraeth a meistrolaeth ar ddyn. Dichon fod yr Apostol yma yn golygu wrth y ddeddf—Iuddewaeth yn ei chyfanswm. Nid y ddeddf foesol na'r ddeddf seremoniol ar wahan; oblegid yr oedd y fath ddosbarthiad yn anadnabyddus yn mysg yr Iuddewon; ond y gyfundraeth grefyddol oedd iddynt hwy yn "athraw at Grist;" ac a elwir yn gyffredin yn ddeddf Moses. Yn y gyfundraeth hono yr oedd y "deng air" y rhan bwysicaf; ac yn yr ystyr *benaf*, dyna a feddylir wrth y "*ddeddf*" yn y testyn. Gelwir hon yn ddeddf foesol am ei bod yn rheoli moesau ac ymddygiadau creaduriaid rhesymol; ac yn cynwys ynddi holl egwyddorion rhwymedigaeth foesol. Mae yn cyfodi oddiar berthynas dyn a Duw; ac felly yn *ddeddf ei natur*, i barhau tra y byddo Duw yn Dduw, a dyn yn *ddyn*—y naill yn ofynwr a'r llall yn ddyledwr; o ganlyniad bydd yn dilyn dyn i bob man, a saif yn anghyfnewidiol byth yn ei gofynion. Nis gall ymguddio oddiwrth ei hysbryd na ffoi o'i gwydd. Gan ei bod yn ddeddf ei natur, nid oedd angen cyhoeddiad o honi i ddyn yn ei greadigaeth, yr oedd ei holl elfenau ynddo, a'i holl ofynion yn cael ufudd-dod ganddo. Yn yr ystyr yma yr oedd wedi ei greu gan Dduw, "ar ei lun a'i ddelw ei hun; mewn gwybodaeth, cyfiawnder, a gwir sancteiddrwydd"—hyny yw, ei ddelw foesol, oblegid arddrych o hono yw ei ddeddf. Rhoddwyd hi yn gyhoeddus ar Sinai dan ddeg o benau, wedi ei hysgrifenu â bys Duw ar ddwy llech faen. Rhaid mai yr un ddeddf oedd hon a deddf natur dyn, a'i bod yn adnabyddus yn flaenorol gan mai "oblegid troseddau y rhoddwyd hi yn ychwaneg" sef y troseddau gyflawnwyd yn ngwyneb yr amlygiadau blaenorol o honi. Eglurodd Iesu

[redacted]



Grist ei hegwyddorion gyda manylrwydd yn ei bregeth odidog ar y mynydd; a rhoddodd esboniad perffeithiach ar natur a therfynau rhwymedigaeth foesol, na dim gafwyd cyn hyny nac wedi hyny. Nid i Sinai y mae myned i gael esboniad ar y gyfraith, ond at Grist i'r mynydd. Corffolodd ei hegwyddor ar ol hyny i "ddau orchymyn mawr"—"ceri yr Arglwydd dy Dduw a'th holl galon, a'th gymydog fel ti dy hun;" a llyma y ddwy golofn ar y rhai y mae y "gyfraith a'r proffwydi" yn sefyll.—Crynhôdd Paul gynwysiad y ddeddf i un gair "cyflawnder y gyfraith yw cariad." Ac nis gellir dyweyd am dani yn well nag y dywedodd; "felly gan hyny y mae y ddeddf yn sanctaidd, a'r gorchymyn yn sanctaidd, yn gyfiawn, ac yn dda.

"MARW I'R DDEDDF."

Defnyddir y gair marw gan yr apostol Paul yn ei gysylltiad â gwahanol bethau, "marw i bechod;" "meirw i'r peth yn hatelid" ac yma, "marw i'r ddeddf." Marw i unrhyw beth sydd ymadrodd cryf yn golygu fod y peth hwnw wedi colli ei ddylanwad ar y gwrthddrych. Wrth farw y mae pob perthynas yn cael ei thori, a phob cyfeillach yn darfod â'r hen ddull o fyw. Ond yn mha ystyr y mae y dyn duwiol yn marw i'r ddeddf? Mae yn sicr mai nid yn *mhob* ystyr; ac nid yn *yr un* ystyr ac y mae yn marw i'r byd, ac yn marw i bechod.

*Nid yw ei berthynas a'r ddeddf yn cael ei thori.* Mae y ddeddf yn dal perthynas â dyn fel creadur; ac er y collir y pechadur yn y sant, eto bydd y dyn yn aros; ac ynddo ef yr ymafla y ddeddf. Yn hyn y mae gwahaniaeth rhwng y ddeddf a'r efengyl. Mae y ddeddf yn dal perthynas â bodolaeth dyn,—a'r efengyl yn dal perthynas â phrawf dyn. Derfydd ein perthynas â'r efengyl fel deiliaid prawf; ond ni dderfydd byth ein perthynas â'r ddeddf. Mae yn gofyn pob dyn ar y ddaear, pob angel yn y nefoedd, a phob cythraul yn uffern. Erys ein perthynas â'r ddeddf byth. Nid terfyn bodolaeth dyn ydyw marw yn naturiol; ond cyfnewidiad ar ffurf bodolaeth. Newid dull o fyw. Diosg un ffurf, a gwisgo

ffurf wahanol. Felly hefyd y mae *ffurf* perthynas y Cri â'r ddeddf yn newid, ond nid ei berthynys; "Canys ni glwyddiaetha pechod arnoch chwi, oblegid nid ydych dan y ddeddf, eithr dan ras." Saif efengyl rhyngddyn ddeddf; ac y mae pob ufudd-dod i'r ddeddf yn cyfodi o egwyddorion a genhedlir trwy yr efengyl. Nid ein perth â'r ddeddf sydd yn cael ei thori wrth farw iddi.

*Nid marw i'r ystyriaeth o hawliau y ddeddf i ofyn, a ei nabyddiaeth o uniondeb ei gofynion.* Mae y duwiol yn nabod hawliau goruchel y ddeddf; "Myfi a wn fod y dd yn ysbrydol; ond myfi sydd gnawdol, wedi fy ngwerthu bechod." "Yr wyf yn cydsynio â'r ddeddf mai da yw." fynai newid sill o honi i gadw ei fywyd. Ac nid yn unig nebydd ei hawliau, ond addefa ei thegwch, a chymeradw ddelw a argraffa. Gweithio yr enaid i gadw y ddeddf y yr efengyl;—y cymeriad cymeradwy gan y naill a ffurf llall. Pan y mae y ddeddf yn dangos y ddelw, mae yr ef yl yn newid i'r unrhyw. "Deddf ei Dduw sydd yn ei ga a'i gamrau ni lithrant;" a'i weddi wastadol ydyw, "*Una* nghalon i gadw dy ddeddfau." Ond yn mha ystyr ynte mae yn marw i'r ddeddf?

*Mae yn marw i ddisgwyl bywyd ar dir deddf; a chyfia had trwy weithredoedd y ddeddf.* Dwy ffordd fu erio gymeradwyo dyn gyda Duw. Ffordd ufudd-dod persono ffordd ufudd-dod Crist. Mae yr angylion santaidd yn Duw ar dir ufudd-dod personol. Pa berthynas bynag all rhwng cyfryngdod Crist â diogelwch yr angylion, nid e eisiau aberth drostynt, oblegid, ni phechasant; nac ufudd- yn eu lle, oblegid nid anufuddhasant. Maent yn gallu edi yn wyneb Duw fel plant diniwed yn ngwyneb eu Tad. G ant nesau ato i'w addoli heb waed nac aberth. Bu Add cymdeithasu â Duw yn nhrefn yr angel glân; heb wybod gywilydd, na theimlo euogrwydd;— ond ar dir ufudd-dod sonol yn cyfarfod â Duw; ond ni bu neb o'i hiliogaeth ar ei ol, mae miloedd wedi ceisio, ond nid oes neb erioed

llwyddo. Cynygion am ddyfod i fynu "trwy weithredoedd y ddeddf" ydyw aberthau, penydiau, pererindodau, a dyoddefiadau coelgrefyddau y byd. Ac y mae rhyw weddillion deddfoldeb yn nghalon dyn,—pan y teimlir pwysau euogrwydd, mae yn myned i ymofyn yn uniongyrchol pa beth a all efe wneyd i foddloni Duw. "Pa beth da a wnaf fel yr etifeddwyf fywyd tragywyddol?" Pa beth sydd ganddo i brynu y nefoedd; oblegid y mae balchder pechadur mor fawr, byddai yn well ganddo ei phrynu, nac ymostwng i'w derbyn yn rhad o law Duw. Rhifa ei elusenau, pwysa ar ei rinweddau, sibryda iddo ei hun nad yw wedi bod yn euog o bechodau mawr; ac nad yw yn waeth na'i gymydogion. Ond y mae y dyn sydd yn "*marw i'r ddeddf*" wedi ei gweled yn myned yn golli bywyd arno byth ar dir gweithredoedd da. Mae banciau tywod ei rinweddau yn ymollwng dan ei draed. Mae wedi "cael ynddo ei hun farn angau." Mae yn gweled ei hun yn golledig yn mhob man, yn ei oreu yn gystal ag yn ei waethaf, yn ei weddiau a'i elusenau yn gystal ag yn ei lwon a'i gableddau. Mae angau yn tremio yn ei wyneb o'i holl ymddygiadau. Mae sancteiddrwydd Duw yn tanbeidio ar ddrygedd ei galon—cyfiawnder Duw yn dysgleirio ar lygredd ei feddwl, gwirionedd Duw yn cyfleu ei "holl anwireddau ger ei fron, ei ddirgel bechodau yn ngoleuni ei wyneb;"—nes y mae yn gweled pob gobaith wedi ei golli, pob llewyrch wedi diffodd, pob goleu wedi eilio, ac yntau ar suddo i ddyfnderoedd euogrwydd a thrueni; ac wrth farw i'r ddeddf yn gwaeddi, "Arglwydd, cadw ni, darfu am danom." "Darfu am danom o'n rhan ni."

MARW I'R DDEDDF, TRWY Y DDEDDF.

Mae y ddeddf yma yn cael ei gosod allan fel moddion i ladd dyn i bob gobaith am fywyd trwyddi. Marw iddi, trwyddi.

*Trwy y goleu y mae y ddeddf yn ei roddi ar ogoniant cymeriad Duw.* Mae tuedd yn mhob pechadur i roddi golwg

ffafriol iddo ei hun ar nodwedd Duw. Edrycha yn unig ar ochr drugarog a maddengar i gymeriad yr anfeidrol; a c mer achlysur oddiar ei hwyrfrydigrwydd i dywallt ei lic farnu ei fod yn cymeradwyo ei ymddygiadau. "Eisteddai dywedaist yn erbyn dy frawd, rhoddaist enllib i fab dy fa hyn a wnaethost a mi a dewais; tybiaist dithau fy mod gwbl fel ti dy hun; ond mi a'th argyhoeddaf ac a'i trefna flaen dy lygaid." Mae yr annuwiol yn tynu llun Duw yn rh beth tebyg iddo ei hun; ac edrycha ar y llinellau mw goddefol yn ei gymeriad. Ond y mae y ddeddf yn dan cymeriad Duw mewn goleu tra gwahanol, Yn raddol y d blygodd Duw ei gymeriad i'r byd; a phob datguddiad y wanegol yn dangos mwy o hono. Dechreuodd ddatguddio hun yn ngweithredoedd ei ddwylaw. Yr oedd wrth greu l dydd yn dangos mwy o hono ei hun; a rhyw linell new yn ei gymeriad yn dyfod i'r golwg. Mae doethineb, gall daioni yr anfeidrol i'w darllen yn eglur yn y pethau a wna Rhoddodd Duw gymaint o'i ddelw ar y cwbl a wnaeth ag allasent ddal o hono. Rhaid cael papur da i argraffu yn lur. Ysgrifenodd Duw ei enw mor eglur ar ddalenau y m yr haul, yr wybren, a'r daran, ag y gallasent ddal yr argra o hono. Ond ar ei ddeddf ysgrifenodd yn helaethach ac eglurach nag ar ddim o'r blaen, am ei bod yn gyfaddasacl ddal adargraff o hono; oblegid dyma gopi o'i gyfiawnde adlewyrchiad o'i sancteiddrwydd—ac adsain o'i wirione Mae cymaint o Dduw wedi ei arddangos yn y ddeddf, fe bydd ei arswyd drwyddi hi ar gythreuliaid a damnedig byth. Yn y ddeddf y darllenir "Ni ddieuoga efe yr anwi "Ydwyt lanach dy lygaid nag y gelli edrych ar anwired "Duw sydd farnydd cyfiawn, a Duw sydd ddigllawn beuny wrth yr annuwiol." "Sanct, Sanct, Sanct yw Arglwydd lluoedd." Yr oedd y lle mor ofnadwy pan ddisgynodd yr feidrol ar Sinai a "thanllyd gyfraith ei ddeheulaw," nes y wedodd Moses "yr ydwyf yn ofni, ac yn crynu." Ac y m yr olwg fawreddog roddir yn y ddeddf ar ogoniant cymeri

[redacted]



Duw yn lladd pechadur i bob gobaith am gymeradwyaeth trwy ei ufudd-dod personol iddi. Mae yr enaid deffroedig dan wasgfa yn gofyn "Pa fodd y cyfiawnheir dyn gyda Duw?" Duw cyfiawn, a dyn euog. Duw sanctaidd, a dyn aflan. Mae goleu y ddeddf ar gymeriad Duw yn lladd dyn i bob gobaith y daw i fynu â'i gofynion.

*Trwy yr adlewyrchiad a deifl y ddeddf ar gyflwr truenus dyn.* "Trwy y ddeddf y mae adnabod pechod." "Canys nid adnabuaswn drachwant, oni b'ai ddywedyd o'r ddeddf na thrachwanta." Nid yw pechaduriaid yn credu fod eu cyflwr cynddrwg ag y mae y weinidogaeth yn eu darlunio. Tybiant yn ddirgelaidd mai ystryw y pregethwyr i'w dychrynu yw y cwbl. Ond pan aeth y ddeddf i mewn a'i llusern yn ei llaw i chwilio celloedd dirgelaf y galon, neidiai chwantau allan o'u llochesau, ymgynhyrfai pechod gyda ffyrnigrwydd gorwyllt, ac "ymddangosai trwy y gorchymyn yn dra phechadurus. Y drych sydd yn dangos brychau y wyneb—goleuni sydd yn dangos budreddi yr ystafell—purdeb a sancteiddrwydd deddf, pan y tywyna i mewn i'r galon, a bair i'r pechadur ddywedyd "Y mae yn ffiaidd genyf fi fy hun, ac yr ydwyf yn edifarhau mewn llwch a lludw." "Gwae fi, canys darfu am danaf." "Eithr yr oeddwn i gynt yn fyw heb y ddeddf." Nid heb wybodaeth o gymeriad y ddeddf; ond heb adnabyddiaeth o ysbrydolrwydd a manylrwydd ei gofynion: "ond pan ddaeth y gorchymyn yr adfywiodd pechod, a minau a fu'm farw." Pan ddaeth goleuni ysbrydol deddf i mewn i'r galon, ymddangosodd pechod iddo y peth na welodd ef erioed o'r blaen. Neidiodd hen lewod allan o'u llochesau na wybu eu bod yno. Yr oedd boneddwr a'i was wrth deithio gwlad anghysbell, yn gorfod cysgu mewn bwthyn bychan. Ryw bryd ganol nos teimlai y boneddwr ryw beth oer ar ei gnawd; galwodd ar ei was i oleuo canwyll er gweled beth ydoedd; ac erbyn ei goleuo gwelai neidr fawr yn disgyn oddiar ei gnawd dros erchwyn y gwely; syrthiodd i lewyg gan faint ei ddychryn wedi gweled beth oedd yno. Yr oedd yn y perygl o'r blaen, ac

yn cysgu ynddo; ond yn y goleu wedi ei weled, llesmeiriodd. Felly pan y tywyna goleuni tanbaid deddf i'r galon, gwel y pechadur fod yno ddrygau a phechodau yn llechu, na feddyliodd y gallasai fod yn euog o honynt: "a minau a fum farw."

*Trwy yr eglurder y dengys y ddeddf fanylrwydd ei gofynion.* Mae y ddeddf yn gofyn perffaith ufudd-dod. Nis gall oddef nac esgusodi y diffyg lleiaf. "Pwy bynag a gadwo y gyfraith i gyd oll, ac a ballo mewn un pwnc, y mae efe yn euog o'r cwbl." Un ydyw egwyddor yr holl gyfraith, ac y mae troseddu un gorchymyn yn myned yn erbyn egwyddor pob gorchymyn. Ac y mae dyn pe cadwai hwynt oll, ond un, mor bell o ddyfod i fyny ar dir deddf, a phe heb gadw un gorchymyn. Perffaith ufudd-dod yw ei hamod hi. Mae yn gofyn pob meddwl—pob syniad—pob ystum—pob dychymyg—pob gair—pob gweithred; o eiddo pob dyn, yn mhob man, bob amser, dan bob amgylchiad; a chyhoedda yn groch, "Melldigedig yw pob un, a'r nid yw yn aros yn *yr holl bethau*, a ysgrifenwyd yn llyfr y ddeddf i'w gwneuthur *hwynt.*" Dacw ddyn yn myned at y ddeddf i ofyn bywyd *tragywyddol;* cura y drws, dywed ei neges "A gaf fi fy mywyd yma?" "Cei," ebe y ddeddf, tyred yn mlaen." "Beth yw y telerau?" ebe yntau. "Gwrando," ebe y ddeddf, "mi ddywedaf i ti y telerau. Rhaid i mi gael genyt ti natur mor lân, a hono anwyd yn Methlehem; rhaid i mi gael genyt ti fywyd mor sanctaidd a bywyd y person bendigedig hwnw a gerddodd lygad yn llygad â mi, o'i gryd i'w groes—o'r preseb i'r pren—o Fethlehem Judah i ben Calfaria." "Wel, mi wnaf fy ngoreu," ebe yntau. "Dy oreu yn wir," ebe y ddeddf, "nid dy oreu a'm boddlona i; ond perffeithrwydd. Nid fy mhwnc i ydyw beth alli di roddi, ond beth raid i mi gael. Aros! Aros! ai nid pechadur wyt ti?" Mae chwant arno wadu yr enw, ond gwyr na feiddia gynyg; y mae llygaid cyfraith yn rhy graff. "Yr wyf yn dy ofyn am y troseddau a gyflawnaist. Mae genyf *fil* yn dy erbyn am "y pechodau a wnaeth-

[redacted]



pwyd o'r blaen." "Cynifer ag sydd o weithredoedd y ddeddf, dan felldith y maent." Rhaid gwastadhau yr hen gyfrif cyn dechreu trafodaeth newydd. "Ie," meddai y pechadur, "ond mi gadwaf y gyfraith rhagllaw." "Ond yr wyf yn dy ofyn am yr hen ddyled." Enaid anwyl! pe byddit fyw i fynu â gofynion y ddeddf o hyn i dragywyddoldeb, mae cyfiawnder dwyfol yn gofyn dy ddamnio am yr hen ddyled, neu gael aberth drostynt yn sail i'w maddeu. "Trwy weithredoedd y ddeddf ni chyfiawnheir un cnawd ger ei fron ef." Mae y ddeddf fel swyddog y llywodraeth yn dyfod i'r galon ac yn taflu sypynau mawrion dy ragoriaethau i'r glorian; ac wedi eu pwyso yn ofalus, yn cyhoeddi gyd ag awdurdod y daran, "Ti a bwyswyd yn y cloriannau, ac a'th gaed yn brin." "Yn yr olwg yna ar fanylrwydd y ddeddf," ebe yr enaid deffroedig, "A phwy gan hyny a all fod yn gadwedig?" "Gyda dynion *anmhosibl* yw hyn." Cynygiodd Saul hi; a phe buasai rhyw un yn gallu, daethai Saul i fyny. "Os yw neb arall yn tybied y gall ymddiried yn y cnawd, myfi yn fwy. Wedi enwaedu arnaf yr wythfed dydd, o genedl Israel, o lwyth Benjamin, yn Hebrewr o'r Hebreaid, yn ol y ddeddf yn Pharisead; yn ol sêl yn erlid yr eglwys, yn ol y cyfiawnder sydd yn y ddeddf yn ddiargyhoedd." Dyma *stock* o gnawd i ymddiried ynddo—dyma gyfiawnderau wedi eu henill ar dir deddf; a chynygiodd fyned i'r nefoedd trwy y rhai yna; nes y gwelodd yn ngoleu y ddeddf fod y ffordd yna byth yn gauedig yn ei erbyn; a dyma ei brofiad yn yr amgylchiad: "Eithr y pethau oedd elw i mi, y rhai hyny a gyfrifais i yn golled er mwyn Crist; ïe, yn ddiameu yr wyf hefyd yn cyfrif pob peth yn golled, o herwydd ardderchawgrwydd gwybodaeth Crist Iesu fy Arglwydd, er mwyn yr hwn y'm colledwyd yn mhob peth; ac yr wyf yn eu cyfrif yn dom fel yr enillwyf Grist. Ac y'm ceir ynddo ef heb fy nghyfiawnder fy hun, yr hwn sydd o'r gyfraith; ond yr hwn sydd trwy ffydd Crist, sef y cyfiawnder sydd o Dduw trwy ffydd." Dywedai yr hybarch Christmas Evans fod y gydmariaeth yna wedi ei chymeryd

oddiwrth fasnachwr, a aeth i wlad bell i brynu nwydd wedi eu cael yn ddiogel i'r llong yn dychwelyd adref dan on ffafriol, yn llawn hyder am wneyd masnach dda o h Ond cododd yn ystorm fel y tybygid y drylliai y llong. ythiai y cadben fwrw nwyddau y masnachwr dros y bw ysgafnhau y llwyth ; ond erfyniai y masnachwr arno b ond parhau a chryfhau yr oedd y gwynt, a dygyfor yr y môr fel yr ofnai pawb am eu bywyd ; nes y neidiodd nachwr o r diwedd i fyny, gan waeddi yn wyneb y c "Wel, teflwch yr eiddo i'r môr ; gwell colli pob peth na y bywyd." Yn gyffelyb yr oedd teimladau enaid argyl edig Saul. Yn ei feddwl yr oedd wedi gwneyd marchna ar dir deddf, ac yn tybied ei fod yn morio yn dawel bywyd. Ond yn ddisymwth dacw y nefoedd yn duo—n ddeddf yn fflamio—taranau y gyfraith yn rhuo—y gorcl yn ei ysbrydolrwydd yn ymddysgleirio—dyfnder y diale ymgynhyrfu—ei enaid yn cael ei "guro yn nhrigfa y dr a'i dol drosto â chysgod angau." Ei holl obeithion bla yn dom a cholled, a bellach nid oes ond gwaeddi mewn g fa, "Ac ym ceir ynddo ef, heb fy nghyfiawnder fy h Gwrandewch ar beraidd ganiedydd Cymru yn adrodd ei iad yn y wasgfa,

"Saith o weithiau ol a gwrthol, torais dy orchmynion glân,
Saith adduned fawr a wnaethum, i ymgadw rhag y tân ;
Yn y dyfnder ce's i gyntaf wel'd dy wyneb gwridog gwyn ;
Oni buasai fflam euogrwydd, ddaethwn byth i Sion fryn.

Fe wnaeth angau, fe wnaeth uffern, fe wnaeth t'w'llwch dudew
Im' roi naid trwy ddyledswyddau, cael neu golli at waed y g
Ar fin uffern ce's i 'r nefoedd, yn safn angau ce's i fyw ;
Yn nharanau mynydd Sinai, ce's i gyntaf gwrdd â Duw.

Mellt, taranau, mwg, a chenllysg, oedd euogrwydd i mi'r pryd
Profais fod maddeuant pechod, fil o weithiau'n well na'r byd ;
Byth mi gofia'r oriau hyny, oriau fy mhriodas y'n ;
Pan ddaeth Crewr nef a daear, a'r pechadur gwael yn un."

[redacted]



"MARW I'R DDEDDF TRWY Y DDEDDF, ER BYW I DDUW."

Marw i fyw y mae y duwiol. Byw i farw y mae yr annuwiol. Bywyd i gael ei ddilyn gan yr ail farwolaeth ydyw bywyd pechadurus. Ond marw i fyw y mae y Cristion: dilynir ei farwolaeth gan fywyd. Mae yn adgyfodi yma i "wasanaethu Duw rhagllaw mewn newydd-deb buchedd."

*Byw yn gyfiawnhaol yn nhrefn Duw.* Os collodd ei fywyd ynddo ei hun, efe a'i cafodd mewn un arall. Os methodd ar dir deddf, enillodd ar dir gras. Os aeth yn ddiwedd byd arno yn yr hen drefn, daeth yn ddechreu byd gwell arno yn y drefn newydd. Os cafodd "farn angau" ynddo ei hun, cafodd "gyfiawnhad bywyd" mewn un arall. Mae yn y drefn yma ladd a chadw yn fyw; dwyn bywyd, a rhoddi bywyd. Arwain i Sinai i weled y perygl, ac arwain i Galfaria i gael cysgod. Dangos ystorm yn codi, a dangos man i lechu rhagddi. Taro Saul i lawr yn ddall, ac agor ei lygaid i weled "o bell ac yn eglur." Taro i lawr ar dir deddf, a chodi i fynu ar dir gras. Creu tymhestl yn Sinai, a thywallt olew i'w thawelu yn Nghalfaria. "Y llythyren yn lladd, a'r ysbryd yn bywhau." "Marw i'r ddeddf, er byw i Dduw."

*Byw yn ymarferol yn ngwasanaeth Duw.* Wedi cael bywyd ganddo, beth sydd yn fwy rhesymol na byw iddo. "Rhoddi ein hunain i Dduw, megis rhai o feirw yn fyw, a'n haelodau yn arfau cyfiawnder i Dduw." Adroddir am westy mawr unwaith wedi myned ar dân, a'r fflamau angerddol yn llosgi y cwbl o'u blaen; ond teimlid yn llawen gan feddwl fod pob bywyd yn ddiogel, er fod yr adeilad yn oddaith. Ond er eu braw gwelent foneddiges ieuanc yn ffenestr y llofft a'i dagrau ar ei gruddiau, a'r fflamau yn ymdorchi o'i chylch. Teimlai pob calon trosti, ond pwy a anturia i'w gwaredu. Mae ei thad yno yn y dorf yn wylo, ond heb nerth i gynorthwyo. Aroswch, dacw ddyn ieuanc, gwrol, yn ymwthio trwy y dorf at ddrws y gwesty, ac i'r tŷ, ac i fyny y grisiau i'r ystafell, ac yn ymafael yn y foneddiges, ac yn ei chario heibio i

gleciadau y goelcerth, ac yn nghanol bonllefau yr edrychwyr, rhoddodd hi yn ddiogel i'w thad oedd yn derbyn ei blentyn o safn marwolaeth. Wedi ychydig o hamdden gofynai y tad i'w ferch, "Beth gawn ni dalu i'r dyn ieuanc gwrol, caredig yna, beryglodd ei fywyd ei hun, i achub eich bywyd chwi?" "O! fy nhad," ebe hithau, "nid wyf yn eiddo i mi fy hunan mwy; ond os ydyw hyny yn ol ei feddwl ef, yr wyf yn eiddo y gwr beryglodd ei fywyd, er achub fy mywyd." Ah! bobl anwyl, taniodd pechod y byd yma; yr oedd palas dynoliaeth yn oddaith yn y fflamau, a dyweddi yr Oen a'r tân yn cynnau o'i chylch. Mae angylion yn edrych mewn pryder ar yr olygfa, ond heb allu i gynorthwyo; ond dacw un, bendigedig fyddo Duw am dano, yn codi oddiar ei orsedd yn y drydedd nef, yn diosg oddi am dano ei wisgoedd brenhinol; ac yn ei iaith yn dyweyd, mynaf afael ynddi. Ac er fod y gwres yn angherddol nes toddi o'i galon fel cwyr, eto aeth rhagddo, "cuddiwyd edifeirwch o'i olwg;" rhoddodd ei fywyd i lawr i gadw ein bywyd ni. "Beth a dalwn iddo?" Pa gydnabyddiaeth wneir iddo? "Byw i'r hwn a fu farw drosom." Byw iddo.

*Byw yn dragywyddol ar ddelw Duw.* Wedi cael bywyd ganddo, cysegru y bywyd hwn iddo, nes o'r diwedd fyned ato i fwynhau y "digonolrwydd llawenydd sydd ger ei fron, a'r digrifwch sydd ar ei ddeheulaw yn dragywydd." Dyma fywyd, a mwy na bywyd—bywyd ysbrydol wedi ei goroni â bywyd tragywyddol. Y bywyd gollwyd wedi ei gael, a'i gael heb berygl ei golli byth mwy—"teyrnasu mewn bywyd trwy un Iesu Grist."

Wrandawyr anwyl. A welsoch chwi gymaint o berygl eich cyflwr nes gweled fod arnoch eisiau Gwaredwr? Dyma sydd rhwng pob pechadur a dyfod i werthfawrogi Ceidwad; cymaint sydd rhyngddo a gweled ei golledigaeth. Rhaid lladd cyn cael bywyd; rhaid marw cyn byw; trwy farw, y mae myned "o farwolaeth i fywyd."

# PREGETH VI.

## HAELIONI I'R TLAWD.

ACTAU xx. 35.

"Mai dedwydd yw rhoddi yn hytrach na derbyn."

Mae y testyn yn ddiweddglo siars ddifrifol Paul i henuriaid eglwys Ephesus. Un o'r anerchiadau llawnaf o dynerwch a theimlad a draddodwyd erioed. Adolyga ei lafur yn eu plith dros dair blynedd, a theimla fod ganddo "ddwylaw glân oddiwrth waed pawb oll," oblegid darfod iddo "fynegi iddynt holl gynghor Duw, heb atal dim o'r pethau buddiol;" a gwnaeth hyn oll heb bwyso am ei gynaliaeth ar neb o honynt. Er y dadleua yn gryf hawl y rhai "sydd yn pregethu yr efengyl i fyw wrth yr efengyl," eto nid arferodd yr hawl hono yn eu plith, ac nid arferai hi yn un man, os meddyliai y byddai hyny yn rhwystr i efengyl Crist. Ei amcan oedd, "nid ceisio rhodd, ond ceisio ffrwyth yn amlhau erbyn dydd y cyfrif." "Arian, neu aur, neu wisg neb ni chwenychais." Dyma ymddiheurad ymadawol y gweinidog gonest. "Ië, chwi a wyddoch eich hunain ddarfod *i'r dwylaw hyn* wasanaethu i'm cyfreidiau i, ac i'r rhai oedd gyda mi." Gweithiodd â'i ddwylaw fel gwneuthurwr pebyll er ei gynaliaeth ei hun, ac fel y gallai gynorthwyo ereill. "Mi a ddangosais i chwi bob peth," trwy addysg ac esiampl, mewn athrawiaeth ac ymddygiad, "mai wrth lafurio felly," fel y llafuriais i, "y mae yn rhaid cynorthwyo y gweiniaid," y tlawd, y claf, yr anffodus, yr oedranus; pawb y mae yn rhaid iddynt wrth gynorthwy. Mae y llafur i gael ei wneyd gyda golwg ar allu cynorthwyo y gweiniaid.

Mae haelioni i'r tlawd yn ras mor uchel, fel y mae holl lafur y byd i gael ei gyflawni gyda golwg arno Mae y Cristion i weithio â'i ddwylaw, nid er mwyn casglu y byd, a chael arian wrth gefn, "ond fel y byddo ganddo beth i'w gyfranu i'r hwn y mae angen arno." Mai wrth lafurio felly y mae yn rhaid cynorthwyo y gweiniaid, a chofio geiriau yr Arglwydd Iesu, ddywedyd o hono ef, "mai dedwydd yw rhoddi yn hytrach na derbyn." Nid yw y geiriau hyn wedi eu cofnodi yn un man gan yr efengylwyr. Ni chroniclwyd ond crynhodeb o eiriau grasusol a gweithredoedd nerthol y Gwaredwr;—oblegid y mae yr efengylau yn terfynu gyda dyweyd, "Ac y mae hefyd lawer o bethau ereill a wnaeth yr Iesu, y rhai pe ysgrifenid hwy bob yn un ac un, nid wyf yn tybied y cynwysai y byd y llyfrau a ysgrifenid." Ond er nad ysgrifenwyd hwy, trysorwyd llawer o honynt yn nghof y rhai a'u gwrandawsant, ac y maent pa le bynag y ceir hwy "fel afalau aur mewn gwaith arian cerfiedig." A dyma un o'i ddywediadau mwyaf gwerthfawr; ac y mae ei werth yn ymddangos yn fwy oblegid ei gael mewn ystyr wedi ei golli, fel gweddillion hen hanesyddiaeth wedi dianc rhag difancoll. Dyma fe, "*Mai dedwydd* yw rhoddi yn hytrach na derbyn." Mae yn berffaith gydweddol â dysgeidiaeth arferol yr Arglwydd Iesu. Ac y mae yr hyn a ddywedodd wrth un o benaethiaid y Phariseaid pan aeth i'w dŷ i fwyta ar y Sabbath yn dyfod yn bur agos ato, "Pan wnelych giniaw neu swper, na alw dy gyfeillion, na'th frodyr, na'th geraint, na'th gymydogion goludog, rhag iddynt hwythau eilchwyl dy wahodd dithau, a gwneuthur taledigaeth i ti. Eithr pan wnelych wledd, galw y tlodion, yr efrydion, y cloffion, y deillion; a dedwydd fyddi am nad oes ganddynt ddim i dalu, canys fe a delir i ti yn adgyfodiad y rhai cyfiawn." "Dedwydd yw rhoddi yn hytrach na derbyn."

HAELIONI I'R TLAWD, neu "*gynorthwyo y gweiniaid.*"

SYLWADAU CYFFREDINOL AR HAELIONI I'R TLAWD.

*Fod yr Arglwydd wedi trefnu darpariaeth neillduol er*

*gyfer y tlawd dan yr hen oruchwyliaeth,* Yr oedd llawer o dynerwch a haelioni yn cael eu dysgu dan Foeseniaeth. Nid y degwm oedd y cwbl a gyfrenid gynt. Yr oedd y degwm i'r Lefiaid yn unig; yr oedd rhan fawr o'u cyfoeth drachefn yn myned at offrymau Duw; a chyfran haelionus i dlodion y tir, "Os bydd yn dy fysg di un o'th frodyr yn dlawd o fewn dy byrth yn dy dir, yr hwn y mae yr Arglwydd dy Dduw yn ei roddi i ti, na chaleda dy galon, na chau dy law oddiwrth dy frawd tlawd;—ond gan agoryd agor dy law iddo, a chan fenthycio benthycia ddigon i'w angen ef, yr hyn fyddo arno eisiau. Canys ni dderfydd y tlawd ganol y tir, am hyny yr ydwyf fi yn gorchymyn i ti gan ddywedyd, Gan agoryd agor dy law i'th frawd, i'th anhgenus, ac i'th dlawd yn dy dir." Yn holl lafur y flwyddyn, ac wrth gasglu yn nghyd gynyrch y tir yr oedd y tlawd,—y dyeithr, y weddw,—a'r amddifaid,—i fod yn wrthddrychau gofal neillduol, "A phan gynauafoch gynauaf eich tir, na feda yn llwyr gonglau dy faes, ac na chynull loffion dy gynhauaf. Na loffa hefyd dy winllan, ac na chynull rawn gweddill dy winllan, gâd hwynt i'r tlawd, ac i'r dyeithr; yr Arglwydd eich Duw ydwyf fi." "Pan fedech dy gynauaf yn dy faes, ac anghofio ysgub yn y maes, na ddychwel i'w chymeryd, bydded i'r dyeithr, i'r amddifaid, ac i'r weddw, fel y bendithio yr Arglwydd dy Dduw di yn holl waith dy ddwylaw." Yr un modd yn mhob peth, yr oedd y gofal manylaf yn cael ei gymeryd dros y tlawd, fel y dyogelid iddo fara rhag newyn, gwisg rhag oerfel, dillad ei wely i'w gynhesu dros y nos, ac nid oedd ei gyflog i gael ei gadw oddiwrtho hyd y boreu. Ac ar y seithfed flwyddyn, blwyddyn gorphwysfa y tir, yr oedd y tlodion i gael cyfranogi yn rhydd o holl gynyrch y ddaear y flwyddyn hono. Yr oedd "cynorthwyo y gweiniaid" yn cael lle mawr yn narbodion yr hen oruchwyliaeth.

*Fod haelioni i'r tlawd yn rhan arbenig o ddysgeidiaeth yr Arglwydd Iesu Grist.* Gwneyd elusen ydyw un o'r materion sydd yn cael mwyaf o le gan Grist yn ei bregeth odidog ar y

mynydd ; ac y mae y cyfarwyddiadau a ddyry yn werth eu hargraffu mewn llythyrenau o aur ; a phe dilynid hwy ni byddai raid fod ymryson yn nghylch cynorthwyo y tlodion. Mae yr elusen i gael ei gwneyd yn syml, yn ddirgelaidd, yn ddidrwst, yn grefyddol, i'r Arglwydd, ac nid er mwyn moliant dynion. Yr oedd sylw neillduol gan y Gwaredwr ar y tlawd. Yn wir un o amcanion ei ddyfodiad oedd i "bregethu i'r tlodion ;" ac un o'r newyddion mwyaf cysurus a draethodd am dano ei hun ydyw, "A'r tlodion yn cael pregethu yr efengyl iddynt." *Cynorthwyo* y tlodion y byddai, ac nid eu *cynal.* Mae un awdwr yn gwneyd y sylw, "Mai gwyrthiau i allu̇ogi dynion i wneyd drostynt eu hunain oedd gwyrthiau yr Arglwydd Iesu gan mwyaf. Adferu, neu roddi i ddynion nerth eu galluoedd a'u haelodau, fel y gallent gynal eu hunain, ac nid eu cynal ; ac mai dim ond dwy wyrth a wnaeth yn uniongyrchol i gynal,—a hyny dan amgylchiadau cyfyng, mewn lle anghyfanedd ;—unwaith porthodd bum' mil o wyr, heblaw gwragedd a phlant, â phum' torth a dau bysgodyn ; a thro arall porthodd bedair mil o wyr, heblaw gwragedd a phlant, â saith dorth ac ychydig bysgod ;—a bod hyn yn awgrym pa fodd y dylem ninau wneyd ; nid gwneyd y cwbl dros ddynion, ond eu cynorthwyo i wneud drostynt eu hunain." Beth bynag, yr oedd Iesu Grist trwy ei addysg a'i esiampl yn dangos gofal mawr am y tlawd.

*Fod cynorthwyo y gweiniaid i gael lle mawr yn haelioni yr eglwys Gristionogol.* Mae "gwneuthur daioni a chyfranu" yn rhan fawr o grefydd, "canys â chyfryw ebyrth y rhyngir bodd Duw ;" ond cyfranu i'r tlawd sydd yn dyfod yn uniongyrchol o fewn cylch haelioni. Mae cynaliaeth gweinidogaeth y gair yn cael ei ddadleu gan Paul yn fwy fel pwnc o iawnder. Felly y mae yn ei drin yn mhob man. "Onid oes i ni awdurdod i fwyta ac i yfed ?" "Os nyni a hauasom i chwi bethau ysbrydol, ai mawr yw os nyni a fedwn eich pethau cnawdol ?" "Felly hefyd yr ordeiniodd yr Arglwydd i'r rhai sydd yn pregethu yr efengyl fyw wrth yr efengyl." Mae

gonestrwydd a chyfiawnder yn galw ar y rhai sydd yn mwynhau gweinidogaeth yr efengyl i gyfranu at ei chynaliaeth. Yr haelioni a gymhellir mor fynych trwy holl epistolau Paul, ydyw cynorthwyo y gweiniaid. Yr oedd yr eglwysi cyntefig "yn helaeth yn y gras hwn." Mor rymus oedd y teimlad wedi dydd y Pentecost, fel yr oedd cynifer ag oedd yn berchen tai neu diroedd yn eu gwerthu, ac yn dwyn yr arian at yr apostolion i'w rhanu i bob un fel yr oedd angen arno;" ac "ni ddywedai neb o honynt fod dim ar a feddai yn eiddo ei hunan, eithr yr oedd ganddynt bob peth yn gyffredin." Ac yr oedd haelioni mor barchus a phoblogaidd yn eu plith, fel yr aeth Ananias a Sapphira i'w ragrithio. Parhaodd yr ysbryd yma yn yr eglwysi. Mae haelioni y saint tlodion yn Macedonia i gynorthwyo eu brodyr tlodion yn Judea yn ddiareb; oblegid "mewn mawr brofiad cystudd," ac o'u "dwfn dlodi," y maent "uwchlaw eu gallu yn ewyllysgar o honynt eu hunain yn ymhelaethu i gyfoeth eu haelioni." Saif enw a chymeriad Dorcas yn uchel hyd heddyw ar gyfrif y gweithredoedd da a'r elusenau a wnaethai hi; ac wedi ei marw yr oedd yr holl wragedd gweddwon yn sefyll yn ymyl ei chorff yn wylo, ac yn dangos y peisiau a'r gwisgoedd a wnaethai hi tra yr oedd hi gyda hwynt. A'r fath oedd ei gwasanaeth, fel y galluogwyd Pedr i wneyd gwyrth er adferiad ei bywyd. Ac y mae yr un haelioni i aros yn yr eglwys. Nid yw unrhyw ddarpariaeth wneir gan gyfraith y wlad yn rhyddhau yr eglwys oddiwrth ei rhwymau i "gynorthwyo y gweiniaid." Ac onid oes swyddogaeth benodol wedi ei sefydlu yn yr eglwys yn uniongyrchol i ofalu am y tlawd? Pa ddyledswyddau bynag y mae arferiad a gweddusder wedi ei ddwyn i mewn i swydd diaconiaid, sefydlwyd hi yn uniongychol i gyflawni angenrheidiau y tlodion. Neillduwyd "seithwyr da eu gair" trwy weddi ac arddodiad dwylaw yr apostolion, a gosodwyd hwy "ar hyn o orchwyl;" sef gofalu am y tlodion, a'r gwragedd gweddwon, oblegid gwrgnachid eu bod yn cael eu dirmygu yn y weinidogaeth feunyddiol; ac os

yw y tlodion yn cael eu hesgeuluso gan y diaconiaid, y mae amcan gwreiddiol sefydliad y swydd yn cael ei golli. Mae calon yr eglwys yn myned yn oer pan y cyll ei theimlad dros y tlawd.

*Fod haelioni yr eglwys i gael ei weini yn benaf i'r saint tlodion.* Nid yw ein caredigrwydd i gael ei gyfyngu i'n brodyr yn unig; oblegid "os cerwch y rhai a'ch caro, pa wobr sydd i chwi?" ond "os dy elyn a newyna, portha ef." Mae yr Anfeidrol yn gwasgaru ei garedigrwydd yn gyffredinol, "yn peri i'w haul godi ar y drwg a'r da, ac yn gwlawio ar y cyfiawn a'r anghyfiawn." Ond yn benaf y *saint* sydd i fod yn wrthddrychau ein cynorthwy, "Yn cyfranu i *gyfreidiau y saint.*" "Hefyd am y *gasgl i'r saint*; megys yr ordeiniais yn eglwysi Galatia, felly gwnewch chwithau." "Canys tuag at am y *weinidogaeth i'r saint* afraid yw i mi ysgrifenu atoch." "Tra yr ydym yn cael amser cyfaddas gwnawn dda i bawb; *ond yn enwedig i'r rhai sydd o deulu y ffydd.*" Mae perthynas agos rhwng y saint a'u gilydd, aelodau ydynt oll o'r un un corff; ac "os dyoddef a wna un aelod, y mae yr holl aelodau yn cyd-ddyoddef." Ac os nad oes yma gydymdeimlad â'r aelodau, nis gall fod yna berthynas â'r pen. "Eithr yr hwn sydd ganddo dda y byd hwn, ac a welo ei frawd mewn eisieu, ac a gauo ei dosturi oddiwrtho; pa fodd y mae cariad Duw yn aros ynddo ef. Cyflawni gweithredoedd o garedigrwydd i'r anghenus ydyw yr ympryd y mae Duw yn ei gymeradwyo. Mae yn fwy derbyniol ganddo na'r holl boeth offrymau. "Onid dyma yr ympryd a ddewisais, datod rhwymau anwiredd, tynu ymaith feichiau trymion, gollwng y gorthrymedig yn rhyddion, a thori o honoch bob iau? Onid tori dy fara i'r newynog, a dwyn o honot y crwydriaid i dŷ, pan welych noeth, ei ddilladu, ac nac ymguddiech rhag dy gnawd dy hun?" "Rhaid cynorthwyo y gweiniaid."

DEDWYDDWCH Y TEIMLAD MAE YR HAELIONI YMA YN EI GYNYRCHU, "*Dedwydd yw rhoddi yn hytrach na derbyn.*"

Mae ystyriaethau cryfion ereill yn galw arnom i "gynorth-

wyo y gweiniaid." Mae fod Duw yn gorchymyn yn galw am hyn,—mae fod gwrthddrychau anghenus mor lluosog yn cymhell hyn,—mae perthynas holl ddosbarthiadau cymdeithas â'u gilydd yn rhwymo i hyn, ac y mae fod ein llwyddiant a'n gwobr yn nglŷn â hyn yn anogaeth gref iddo. Ond yma y mae haelioni i'r tlawd yn cael ei gymhell er ei fwyn ei hun. Mae y fath ddymunoldeb a hyfrydwch mewn "cynorthwyo y gweiniaid," fel y bydd y neb a'i gwnelo yn "ddedwydd yn ei weithred." Y mwyniant uchaf y gall dyn ei gyrhaedd ydyw hwnw sydd yn codi oddiar wneyd daioni. Mae gwneyd rhywbeth i ysgafnhau beichiau, a gwella doluriau ereill, yn esmwythder i fynwes dyn ei hunan. Athrawiaeth annerbyniol iawn, mi wn, ydyw athrawiaeth y testyn ; anghydweddol hollol â theimladau y dyn anianol, ac yn mhell uwchlaw amgyffredion y bydol-ddyn a'r ariangar,—*Fod mwy o ddedwyddwch mewn rhoddi na derbyn—mewn cyfranu na chael.* Nis gall ddirnad "pa fodd y dichon y pethau hyn fod." Ond nid oes dim ond ymarferiad o'r ddyledswydd all gynyrchu y profiad ; rhaid arfer y weithred cyn y mwynheir ei dedwyddwch. Calon hael yn unig ddealla ystyr ac ysbryd y geiriau, "mai dedwydd yw rhoddi yn hytrach na derbyn." Cymerer yr ystyriaethau canlynol fel cynorthwyon i ddeall yr haeriad dyeithr hwn :

*Mae y cyfranydd ar hyny o bryd wedi ei ddyrchafu uwchlaw angen derbyn elusen ;* ac y mae hyny yn deimlad dedwydd. Mae yr hwn sydd yn rhoddi, yn well arno na'r hwn sydd yn derbyn. Gwell gan bob dyn gonest sydd mewn clwb claf dalu iddo na derbyn o hono, oblegid i dderbyn, rhaid bod yn afiach, ac y mae yn well ganddo ef fod yn iach, serch rhoddi, na bod yn afiach i dderbyn. Mae math o waseidd-dra yn nglŷn â derbyn ; cyll dyn ei hyder a'i annibyniaeth mewn cymdeithas ; teimla y dyn ei hun hyny yn fwy na neb arall. Nid oes un gwarth yn nglŷn â derbyn cynorthwy ; ond hyd y byddo yn bosibl dylai dyn wneyd ei oreu i ddarparu, fel na byddo rhaid iddo wrthio ; a chyda'r cyfleusderau sydd yn y

dyddiau hyn mor lluosog, gallai y rhan fwyaf ond dechreu yn ieuanc ddarparu ar eu cyfer eu hunain erbyn adegau o gyfyngder a chaledi. Mae derbyn yn pruddhau, yn gwaseiddio, ac yn lladd ysbryd dyn. Ond y mae rhoddi yn magu mewn dyn deimlad annibynol; nid yn unig y gall fyw heb bwyso ar ereill, ond y gall hefyd estyn cynorthwy i'r rhai islaw iddo. Onid oes rhyw swn annibynol iawn yn ngeiriau Paul, yma, "Arian neu aur, neu wisg neb, ni chwenychais;" ïe, meddai gan ddangos ei ddwylaw cyrniog, celyd, "chwi a wyddoch eich hunain, ddarfod i'r *dwylaw hyn* wasanaethu i'm cyfreidiau i, a'r rhai oedd gyda mi."

*Mae teimladau personol y cyfranydd yn cael eu tyneru wrth ddyfod i gyffyrddiad a gwrthddrychau anghenus*—ac y mae hyny yn deimlad dedwydd. Mae ymdroi mewn llawnder a digonedd heb wybod am gyfyngderau y tlawd,—trallodion y weddw, a phrofedigaethau yr amddifad, yn tueddu i galedu calon a haiarneiddo teimladau dyn. Yr oedd Agur yn gweled temtasiwn gan gyfoeth i beri i ddyn "ymlenwi, a gwadu Duw a dywedyd, pwy yw yr Arglwydd?" Ac y mae yr ysbryd yna yn rhwym o ddwyn annedwyddwch i'r fynwes. Mae yn lles gan hyny i deimladau personol dyn i ddyfod i gyffyrddiad achlysurol â'r tlawd a'r rheidus. Oddiar hyn y dywedai Solomon, "Gwell yw myned i dŷ galar, na myned i dŷ gwledd." Mae y dylanwad a adewir ar y meddwl yn y naill yn fwy iachusol na'r dylanwad a adewir yn y llall. Mae "wylo gyda'r rhai sydd yn wylo" yn gwneyd lles i'r galarwyr a'r cysurwyr. Mae cael arwydd o gydymdeimlad yn lliniaru helbulon y naill, a gweled gwasanaeth eu dagrau yn ychwanegu dedwyddwch y llall. Nid oes yr un dyn yn ddyn dedwydd heb fod yn ddyn tyner. Dynion sych, celyd, dideimlad, stoicaidd, creulawn, ydynt bob amser yn ddynion annedwydd. Mae anniddigrwydd eu hysbryd i'w ddarllen ar wedd afrywiog eu gwynebau: tra o'r ochr arall, y mae dynion tirion, caredig, haelionus, a theimladol, bob amser yn ddynion hapus. Deallir wrth y sirioldeb welir yn eu llygaid, a'r serchawgrwydd sydd

yn eu gwynebau, fod eu mynwesau yn gartrefle yr hapusrwydd puraf a ellir ar y ddaear hon ei fwynhau. Ac y mae "cynorthwyo y gweiniaid" yn meithrin y tynerwch yna sydd yn cynyrchu y fath ddedwyddwch.

*Mae y boddlonrwydd a amlyga y tlawd wrth dderbyn yn peri dedwyddwch i'r cyfranydd.* Hyd y byddo yn bosibl dylai haelioni i'r tlawd gael ei weini yn bersonol, onide y mae llawer iawn o'r teimlad da ddylai gael ei fagu rhwng y cyfranydd a'r derbynydd yn cael ei golli. Mae y boddlonrwydd a'r *diolchgarwch* a amlygir gan y tlawd wrth dderbyn, yn dychwelyd yn llawenydd i'r cyfranydd. Wrth anfon y deg a thri ugain allan, dywedodd yr Athraw bendigedig wrthynt, "Ac i ba dŷ bynag yr eloch i mewn, yn gyntaf dywedwch, Tangnefedd yn y tŷ hwn; ac o bydd yno fab tangnefedd, eich tangnefedd a orphwys arno; os amgen hi a ddychwel atoch chwi." Mae pob daioni a wnawn ni i ereill yn dychwelyd yn ol yn ddaioni mwy i ni ein hunain. Adroddir am gybydd truenus o gyfoethog, a thruenus o annedwydd, wedi penderfynu gosod terfyn ar ei fywyd trwy foddi. Wrth fyned i gyflawni y weithred, cyfarfu â chardotyn yn gofyn elusen, a chan dybied na buasai yr arian o un gwasanaeth iddo ef mwy, estynodd chwe' cheiniog iddo; derbyniodd y cardotyn ef gyda diolchgarwch mwy nag y gallasai gael geiriau i'w draethu. Effeithiodd gwedd ddiolchgar y tlawd ar y cybydd; ac ail feddyliodd, "Ni waeth i mi roddi y cwbl sydd genyf iddo;" galwodd arno ac estynodd ragor iddo; a phrofodd yn y weithred ddedwyddwch na teimlodd erioed o'r blaen. "Wel," meddai wrtho ei hun, "os oes cymaint o ddedwyddwch a hyn mewn cyfranu, af yn ol a rhanaf yr oll a feddaf cyn boddi fy hun." Dychwelodd a dechreuodd wasgar ei dda; a pha fwyaf a wasgarai, mwyaf oll y dedwyddwch a fwynhai; ac ni feddyliodd mwy am osod terfyn ar ei hoedl. "Yr enaid hael a frasheir; a'r hwn sydd yn dwfrhau, dyfrheir yntau hefyd." Mae y darlun a rydd Job o ddyddiau ei lwyddiant yn dangos fod diolchgarwch y rhai a fwynhaent ei haelioni yn ychwanegu ei dded-

wyddwch yntau. "Pan y'm clywai clust, hi a'm bendithiai; a phan y'm gwelai llygad, efe a dystiolaethai gyda mi: am fy mod yn gwaredu y tlawd a fyddai yn gwaeddi, a'r amddifad, a'r hwn ni byddai gynorthwywr iddo. Bendith yr hwn oedd ar ddarfod am dano a ddeuai arnaf; a gwnawn i galon y wraig weddw lawenychu." Yr oedd llawenydd y tlodion wrth gael yn llawenydd i'w galon yntau wrth roi, fel yr oedd "yr hwn oedd yn hau a'r hwn oedd yn medi yn llawenychu yn nghyd."

*Mae hyn yn dyrchafu dyn i weithredu fel mae Duw yn gwneyd.* Pan yn rhoddi y mae dyn yn dyfod debycaf i Dduw. Yn mhob man arall derbyniwr ydyw, ond pan yn rhoddi i'r anghenus y mae yn ymgyrhaedd at wneyd fel Duw ei hun. Rhoddi y mae Duw—"rhoddi gwlaw o'r nefoedd—rhoddi ymborth i bob cnawd, rhoddi i'r anifail ei borthiant—rhoddi i ni fywyd ac anadl, a phob peth oll—rhoddi i ni yn helaeth bob peth i'w mwynhau—rhoddi yn haelionus i bawb ac heb ddanod—rhoddi edifeirwch i Israel, a maddeuant pechodau—rhoddi yr Ysbryd Glan i'r rhai a ofynant ganddo—rhoddi ei unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo—rhoddi nerth i'r diffygiol—rhoddi llawenydd yn y galon—rhoddi i ni fuddugoliaeth trwy ein Harglwydd Iesu Grist—rhoddi y deyrnas i'r praidd bychain—a rhoddi coron cyfiawnder i'r rhai a garant ei ymddangosiad ef." Dyna roddwr yw ein Duw. Ond er cymaint rydd, y mae yn fôr o ddedwyddwch ynddo ei hun. Mae y bod hapusaf yn ei ymherodraeth. Mae y môr yn rhoddi o'i ddyfroedd i lenwi y cymylau—i ddyfrhau y bryniau—i lifo yn fil o aberoedd gloëwon dros lechweddi y mynyddoedd—i fyrlymu allan yn filiwn o ffynonau grisialaidd, ac eto y mae y môr yn llawn, a'r cwbl ollyngwyd o hono yn dychwelyd a'u teyrnged iddo. Rhoddi y mae Duw—rhoddi y mae pob peth wnaeth Duw; ac wrth roddi y mae dyn yn dyfod yn debyg i Dduw. Dacw Dduw mewn cnawd wedi dyfod i ddangos Duw i'r byd, ac y mae "yn ddelw y Duw anweledig." Beth y mae yn ei wneyd? Dilynwch ei gamrau a gwelwch—"rhodio oddiamgylch gan wneuthur daioni"—

"iachau pob clefyd a phob afiechyd yn mysg y bobl"—dyferu olew i archollion y trallodedig—cyflawni angenion y tlawd a'r newynog—sychu dagrau y weddw alarus a'r chwiorydd helbulus—adfer eu galluoedd a'u synwyrau i ddeillion digysur, cloffion anafus, a gwahangleifion esgymunedig—gwneyd caredigrwydd i bawb heb ofyn caredigrwydd gan neb—gweithio allan i berffeithrwydd gynwysiad yr athrawiaeth a ddysgodd, "mai dedwydd yw rhoddi yn hytrach na derbyn;" a phan na oddefid iddo gan ei elynion i fyw i wneyd rhagor, wrth farw *rhoddodd ei hun yn* offrwm ac yn aberth i Dduw o arogl per*aidd*. *Os* mynwn weithredu fel Duw, ac ymdebygoli i "ben tywysog a pherffeithydd ein ffydd," rhaid i ni arfer haelioni i'r tlawd, cynorthwyo y gweiniaid, cyfranu i gyfreidiau y saint gwneuthur daioni a chyfranu, canys â chyfryw ebyrth y rhyngir bodd Duw; a'r rheswm mawr dros y cwbl ydyw, "Canys chwi a adwaenoch ras ein Harglwydd Iesu Grist, iddo ef ac yntau yn gyfoethog, fyned er eich mwyn chwi yn dlawd."

Fy anwyl gyfeillion, yr ydym yn apelio atoch mewn modd neillduol heno.* Nid achos cyffredin ydyw, ond achos anghyffredin. Amgylchiad na ddygwyddodd o'r blaen yn ein hoes, ac yr ydym yn gweddio ar Dduw na ddygwyddo y fath drychineb mwy. Nid wyf am fanylu ar y cyfyngder presenol yn ei anferthwch a'i eangder, y mae yn hysbys mi wn i chwi oll; yn unig dymunwn "gyffroi eich meddyliau puraidd," fel y gwneloch aberth er mwyn y miloedd trueiniaid sydd yn dyoddef. Nid peth dibwys ydyw fod yn agos i dri chan, mil o'n cyd-ddynion wedi eu taflu i ymddibynu bron yn hollol ar garedigrwydd cymdeithas.—Daeth y drygfyd hwn arnom heb yn wybod i ni, ac felly goddiweddodd ni cyn i ni allu cael ymwared rhagddo. Mae teuluoedd sobr, cynil, darbodus, wedi eu darostwng i'r prinder mwyaf; a miloedd o'r rhai yr oedd ganddynt ychydig wedi ei roddi heibio erbyn dydd blin wedi myned trwy y cwbl, ac nid oes ganddynt ddim ond caredig-

* Y cyfyngder yn swydd Lancaster.

rwydd ereill i bwyso arno. Mae miloedd yn awr yn derbyn elusen, ag y buasai mor chwith ganddynt ddeuddeng mis yn ol feddwl myned ar ofyn neb, ag a fyddai gan y mwyaf annibynol o honoch chwi yma. Nid y tlodion arferol, sydd gyda ni bob amser ydynt; ond dynion wedi eu dwyn i dlodi trwy amgylchiadau nad oedd ganddynt un llaw ynddo na rheolaeth drosto. Maent heno yn erfyn eich cynorthwy. Mae llawer o honoch wedi gwneyd o'r blaen, a bydd yn dda genych gael y cyfle hwn i wneyd eto. Mae y cydymdeimlad mwyaf calonog â hwy yn cael ei amlygu trwy y deyrnas oll. Mae calon fawr ëang, haelfrydig, gynhes Prydain wedi ei chyffroi drwyddi. Mae ein brenhines dynergalon, ein pendefigion cyfoethog, ein marsiandwŷr tywysogaidd, ein masnachwyr diwyd, a'n gweithwyr llafurus, oll yn dyfod allan fel un gwr. Mae cyfoethogion lawer yn bwrw llawer i'r drysorfa, ac y mae mân symiau ein lluaws tlodion yn uno i'w chwyddo. Mae India, Canada, ac Australia yn dyfod drosodd i'n cynorthwyo, ac y mae pob gwahaniaeth sefyllfa, gradd, a golygiad yn cael ei adael o'r neilldu, a phawb yn cyduno i garu fel brodyr.

Mae gan filoedd o honynt hawl ychwanegol ar ein cydymdeimlad ni fel Cristionogion. Maent hwy a ninau wedi ein cylymu yn nghyd gan linynau tŷneraf ein crefydd. Mae i ni frodyr a chwiorydd yn yr Arglwydd yn dyoddef eisieu, ac eglwysi cyfain agos yn nychu gan dlodi. Nid oes amser i'w golli. Bydd yr help yn ofer os na cheir ef yn ei bryd. Na ddyger achosion cyffredin i ffordd achos anghyffredin, ac na ddadleuer teilyngdod pethau da ereill er atal ymroad gyda'r peth hwn. Yr oedd y tlodion gyda'r dysgyblion bob amser, ond nid oedd ond un cyfle i'r wraig i eneinio y Gwaredwr. Ca y tlodion cyffredin ein sylw, ac ni angofir yr achos gartref, a cha y byd paganaidd ei ran pan ddaw yr adeg; ond dyma ein gwaith yn awr—"Rhaid yw gwneuthur y pethau hyn, ac na adewid y lleill heibio." Profwch y waith hon eto wirionedd eich cariad, a rhoddwch ddangosiad eto nad yw y "gras hwn" wedi ei golli o'ch plith. Yr wyf yn apelio atoch yn enw

eich gwlad—yn enw dynoliaeth— yn enw crefydd!—yn enw Duw!!

Ereill sydd mewn cyfyngder yn awr; dichon mai atom ninau y daw cwpan nesaf. "Dyro ran i saith, a hefyd i wyth, canys ni wyddost pa ddrwg a ddygwydd ar y ddaear." Rhoddwch "yn llawen"—rhoddwch "fel y mae yr Arglwydd yn eich llwyddo"—rhoddwch "yn ewyllysgar ac o barodrwydd meddwl"—rhoddwch megis i'r Arglwydd ac nid i ddynion;" ac yna cewch brofiad personol yn eich mynwesau eich hunain "*mai dedwydd yn rhoddi yn hytrach na derbyn.*"

---

# PREGETH VII.

## CYDYMDEIMLAD CRIST.

HEBREAID iv. 15.

"Canys nid oes i ni arch-offeiriad heb fedru cyd-ddyoddef gyd a'n gwendid ni; ond wedi ei demtio yn mhob peth yr un ffunyd a ninau, eto heb bechod."

Mae tri pheth sydd yn gwahaniaethu Cristionogaeth oddiwrth holl grefyddau y byd; sef, mawredd ac arucheledd ei gwirioneddau; purdeb a manylwch ei rheolau; a hynawsedd a thynerwch ei hysbryd. Corffoliad byw o Gristionogaeth ydoedd yr Arglwydd Iesu Grist. Dysgodd egwyddorion i'r byd nas gallesid eu cael allan trwy ymchwyliad; cynyrch datguddiad ac nid ffrwyth darganfyddiad ydynt. Gosododd ger bron y byd gyfres o'r rheolau ymarferol perffeithiaf. A gwnaeth hyn oll gyda hynawsedd teilwng o'r hwn y tywalltwyd gras ar ei wefusau. Yn y cwbl atebodd yn berffaith i'r

broffwydoliaeth a gerddasai o'r blaen am dano, "Ni waedda, ac ni ddyrchafa, ac ni phair glywed ei lef yn yr heol; ni ddryllia gorsen ysig, ac ni ddiffydd lin yn mygu." A'r peth ydoedd o ran teimlad ei galon y pryd hwnw, dyna ydyw y pryd hwn, "Canys nid oes i ni archoffeiriad heb fedru cydddyoddef gyda'n gwendid ni." Offeiriad. Archoffeiriad. Un o swyddau cyfryngol yr Arglwydd Iesu Grist ydyw ei offeiriadaeth.

Mae offeiriadaeth Crist yn ddwy ran; ei aberth a'i eiriolaeth; cyflwynodd yr aberth ar y ddaear, cyflwyna ei eiriolaeth yn y nef; cyflwynodd yr aberth ar unwaith, cyflwyna ei eiriolaeth yn barhaus; "gan ei fod ef yn byw bob amser i eiriol drostynt hwy." Pa fodd y mae Crist yn cyflawni ei swydd fel eiriolwr; nis gwyddom. Pa un a oes geiriau yn cael eu defnyddio ganddo a'i peidio; nid amlygwyd i ni. Y cwbl a ddywed y Beibl ar y mater ydyw, ei fod "wedi myned i'r nef ei hun, i ymddangos ger bron Duw drosom ni." Ac y mae hyny yn ddigon heb iddo ddyweyd yr un gair; dim ond "ymddangos." Dangos y pen a goronwyd â drain; dangos y dwylaw a'r traed a hoeliwyd ar y croesbren garw; dangos y fynwes a drywanwyd â'r waywffon; a dim ond iddo "ymddangos ger bron Duw drosom ni," mae hyny yn ddigon byth i sicrhau pob bendith angenrheidiol arnom ni; "gan ei fod ef yn byw bob amser i eiriol drosom ni."

Mae eiriolaeth Crist eto, yn ddwy ran. Ei ddadleuaeth ger bron Duw yn y nef, a'i gydymdeimlad â'i bobl ar y ddaear. Mae yn dadleu eu hachos hwy yn y llys fry, ac yn cyd ddyoddef gyda'u gwendid hwy yn y dyfnder obry.—"Canys y cyfryw archoffeiriad sanctaidd, diddrwg, dihalog, didoledig oddiwrth bechaduriaid." Dyna gymeriad ardderchog onide? "Wedi ei wneuthur yn uwch na'r nefoedd, oedd weddus i ni." Nid oedd yn un syndod ei fod yn uwch na'r nefoedd; ond y mae yn syndod tragywyddol ei fod er hyny "yn weddus i ni." Yn ddigon uchel i'r nefoedd, ac yn ddigon isel i'r ddaear. Gall ymafael yn llaw Duw, ac ymafael yn llaw pechadur—do

"Fe 'maflodd mewn dyn ar y llawr,
Fe'i dygodd a'r Duwdod yn un ;
Y pellder oedd rhyngddynt oedd fawr,
Fe'i llanwodd â'i haeddiant ei hun."

"Yn uwch na'r nefoedd, er hyny yn weddus i ni." "Canys nid oes i ni archoffeiriad heb fedru cyn ddyoddef gyda'n gwendid ni ; ond wedi ei demtio yn mhob peth yr un ffunud a ninau ;" yn unig gyda hyn o wahaniaeth, iddo ef ddal y profedigaethau i gyd, "eto heb bechod." "Ni wnaeth bechod, ac chaed twyll yn ei enau." Safodd ar lan afon llygredigaeth, heb yfed yr un diferyn ; rhodiodd trwy ganol crochanau duon pechod, heb spotio ei wisg wen ; teithiodd trwy awyr heintus dynoliaeth heb sugno yr awyr afiach i mewn ; safodd ar ben pinacl perffeithrwydd, a gofynodd yn wyneb byd o elynion, "Pwy o honoch a'm hargyhoedda I o bechod ?" pe buasai hyny ar eu llaw cawsai wybod yn dra buan ; ond "Oen difeius ydoedd a difrycheulyd ;" aeth yn ei ol i'r nefoedd mor lân ag y daeth oddiyno. Yn y cwbl, "eto neb bechod ;" ac y mae yn "cyd ddyoddef gydan gwendid ni."

CYDYMDEIMLAD CRIST A'I BOBL.

1. *Cydymdeimlad y swyddog uchaf yn y llywodraeth ydyw.* "Archoffeiriad yn cyd ddyoddef." Yr archoffeiriad oedd y swyddog uchaf dan y gyfraith. Iddo ef y rhoddid yr anrhydedd arbenig o fyned i'r cysegr sancteiddiolaf, i'r cymundeb agosaf a'r anfeidrol i "ymddangos drosto ei hun a thros y bobl." Y mae i ni "offeiriad mawr ar dy Dduw ;' "trwy dabernacl mwy, a rhagorach ;" ac yn mhob peth y mae yn tra rhagori ar yr holl offeiriaid dan y gyfraith. "A "gwaed arall," yr elent hwy i mewn i'r cysegr ; trwy "ei waed ei hun," yr aeth ein hoffeiriad ni. Offryment hwy "yn fynych yr un aberthau ;" "ond un waith yn niwedd y byd yr ymddangosodd efe." "Lluddid yr offeiriaid gynt gan farwolaeth i barhau ;" galwyd Aaron i fynu i fynydd Hor i farw, ei ddiosg o'i wisgoedd offeiriadol, a'u gwisgo am Eleazer ei fab ei gan-

lyniedydd ; " ond hwn am ei fod yn aros yn dragywydd, sydd ag offeiriadaeth dragywyddol ganddo." Nid oedd holl aberthau yr offeiriaid dan y gyfraith yn gwneyd dim ond " adgoffa pechod ;" " canys anmhosibl yw i waed teirw a geifr dynu ymaith bechod." Y cwbl oeddynt hwy yn ei wneyd oedd addef fod dyled, heb dalu dim o honi ; " Eithr yr awrhon unwaith yn niwedd y byd yr ymddangosodd efe i ddileu pechod ;" "Nid ychwaith trwy waed geifr a lloi ; ond trwy ei waed ei hun, a aeth unwaith i mewn i'r cysegr gan gael i ni dragywyddol ryddhad."

" Dim poen i'r oen na'r aner,
Byth ar y mater mwy."

Ag un aberth " perffeithiodd yn dragywyddol y rhai a santeiddiwyd ;" esgynodd i ddeheulaw y mawredd yn y goruwchleoedd ; derbyniodd i'w law " bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear ;" mae "agoriadau uffern a marwolaeth" yn crogi wrth ei wregys ; mae y swyddog uchaf yn llywodraeth Duw y munyd yma ; ond y mae ei galon yn curo mewn cydymdeimlad a'i bobl sydd yn eu gorthrymderau yma heddyw. Archoffeiriad yn cyd ddyoddef. Mae cael cydymdeimlad rhyw un yn dderbyniol iawn gan y dyn sydd mewn trallod ; ysgydwad llaw caredig ; gwên siriol ar y wyneb ; deigr tosturiol yn treiglo dros y rudd yn arwydd cydymdeimlad ; mae yn iechyd i fynwes, yn eli ar friw y galon ddolurus. Ond yn enwedig cael cydymdeimlad un y mae gallu ganddo i gynorthwyo ; all wneyd rhyw beth i helpu dyn o'r cyfyngder y mae ynddo. Anaml iawn yn y byd yma y mae yr ewyllys a'r gallu, y galon a'r fraich gyda'u gilydd. Mae yma ddyn bach yn byw gerllaw un caredig dros ben ydyw ; pe gallai ni byddai na thlawd nac anghenus yn yr holl wlad ; ond druan o hono yn ei galon y mae y cwbl, llogell wag sydd ganddo. Mae yna foneddwr yn ei ymyl, mae yr aur yn bentyrau yn ei goffrau ; gallai pe mynai gyflawni anghenion holl dlodion yr ardal ; ond beth dàl siarad, yn y coffrau y mae y cwbl ; calon cybydd sydd ganddo.

Nid yw yr ewyllys a'r gallu nemawr byth gyda'u gilydd yn y byd yma. Ond y mae y testyn yn siarad am un y mae ganddo gystal calon a braich, a chystal braich a chalon; a'r peth fyno ei galon dyna wna ei fraich. Mae cariad lonaid ei galon, a gallu anfeidrol yn ei fraich. "Dy noddfa yw Duw tragywyddol, ac odditanodd y mae y breichiau tragywyddol." "Ymddiriedwch yn yr Arglwydd byth; o herwydd yn yr Arglwydd Dduw y mae cadernid tragywyddol." Cydymdeimlad y swyddog uchaf ydyw.

2. *Cydymdeimlad a'i bobl yn eu hamgylchiadau cyfyngaf ydyw.* "Cyd-ddyoddef gyda'n gwendid ni." Ein helbulon, ein trallodion, a'n cyfyngderau,—" oblegid trwy lawer o orthrymderau y mae yn rhaid myned i deyrnas Dduw." Mewn cyfyngder y mae eisiau cydymdeimlad; ac mewn cyfyngder y gwelir gwerth cyfaill. Ond yn wir nid oes neb yn "deall arwyddion yr amserau" yn well na gau gyfeillion. Pan y mae y byd yn gwenu, a'r haul yn tywynu ar ddyn, mae pawb yn ffrynd iddo; a chynifer allo, yn honi perthynas ag ef; ond unwaith y gwga rhagluniaeth arno, nid oes un yn foddlawn ei arddel yn y nawfed âch. Pan oedd Dafydd yn ymgodi i'r orsedd yr oedd ei holl gydnabyddion yn plygu iddo; ond pan yn ffoadur yn ogof Adulam, clywaf ef yn cwyno, "Edrychais ar y tu deheu, a deliais sylw; ac nid oedd neb a'm hadwaenai; pallodd nodded i mi, nid oedd neb yn ymofyn am fy enaid." Mae dynion a'u cyfeillion fel dyn a'i ardd; yn yr hâf pan y mae arogl ar bob blodeuyn, a ffrwyth ar bob brigyn mae ynddi—" ddeupen y dydd a'i ganol;" ond yn y gauaf pan y mae yr eira yn ei gorchuddio nid yw yn sangu ei therfynau. Oh! y mae llawer yn proffesu eu bod yn gyfeillion mewn tywydd teg, ond yn troi eu cefnau mewn tywydd garw. O ran hyny nid o bawb y gwneir cyfeillion. Nid oes defnydd cyfaill yn mhob dyn. Anhawdd iawn cael dyn y gellwch ddyweyd "*Fy nghyfaill*" am dano; ac yn briodol iawn y dywedodd Solomon, "Y neb y mae iddo gyfeillion, cadwed gariad." Gwnewch yn fawr o honynt; os collwch hwynt bydd yn an-

hawdd cael neb yn eu lle ;—ond cofiwch hyn, *mewn cyfyngder y mae eu profi.* Ond o bawb fy nghyfeillion anwyl, Iesu Grist yw y cyfaill mewn cyfyngder. Dyma "y cyfaill a går bob amser ;" "y cyfaill a lŷn yn well na brawd." "A galw arnaf fi yn nydd trallod." Os bydd y byd yn gas wrthyt ; os bydd y cnawd a'r diafol yn ymosod arnat, "a galw arnaf fi." O ! y mae yn werthfawr cael cymwynaswr gerllaw. "Pan elych trwy y dyfroedd, myfi a fyddaf gyda thi." Dywed wrth ei gyfeillion yn eu holl adfydau. "Wele yr wyf fi gyda chwi." Os i'r ffwrn gyda'r llanciau—os i'r ffau gyda Daniel—os i dlodi gyda Job—os i helbulon teuluol gyda Dafydd. "Wele yr wyf fi gyda chwi." Mae yn disgyn at ei bobl i ddyfnderoedd eu hadfydau a'u croesau ; ac yno yn cydymdeimlo a'u holl amgylchiadau : "cyd-ddyoddef gyda'n gwendid ni."

3. *Cydymdeimlad oddiar brofiad personol ydyw.* "Wedi ei demtio yn mhob peth yr un ffunyd â ninau." Mae yma bedwar o bethau. *Y ffaith ;* "wedi ei demtio." *Cyffredinedd y prawf ;* "yn mhob peth." *Dull yr y mosodiad ;* "yr un ffunyd a ninau." *Ei berffeithrwydd yn y tywydd ;* "eto heb bechod. Dau ddyn sydd na fedr gydymdeimlo. Y dyn na themtiwyd, a'r dyn ymollyngodd yn ngwyneb y demtasiwn. Y dyn na wyr am nerth y brofedigaeth, a'r dyn a syrthiodd yn ysglyfaeth i'r brofedigaeth. Ni fedr neb gydymdeimlo, ond a fu yn y tywydd ei hun. Un peth yw medru teimlo dros, peth arall ydyw medru cydymdeimlo. Gall y ferch ieuanc deimlo dros y fam sydd yn wylo ar ol ei baban, ond ni's gall gydymdeimlo, oblegid ni chladdodd erioed faban ei hunan. Gallwn i deimlo dros y wraig weddw sydd wedi ei gadael yn unig, a'i phum' plentyn amddifaid i ymladd ag ystormydd bywyd, ond nis gallwn gydymdeimlo am na buom erioed yn ei phrofiad. Y neb fu mewn amgylchiadau cyffelyb yn unig fedr gydymdeimlo. Collwyd llong ar y môr, boddodd y dwylaw oll ond un ; cafodd ef y lan o'r braidd. Mae yn newynog a haner noeth yn crwydro tuag adref. Try i efail y gof, a gweithdy y saer i ofyn elusen ; ond nid yw yn cael dim

croesaw. Ah! meddai wrtho ei hun, "pe gwybyddent y caledi y daethum drwyddo ymddygent yn garedicach tuag ataf; maent hwy dan dô yn ngwres y tân yna, heb wybod dim am gyfyngder y morwr." A rhagddo yn bruddaidd gan ymsoni; gwel balasdy bychan ar ochr y graig, hwylia ei gamrau yn llesg tuag ato, cura y drws yn ofnus; a dyna wr golygus, wyneb agored yn dyfod i'w agor; dywed y truan ei gwyn, ac y mae yn hawdd deall ar wyneb gwr y tŷ fod pob gair yn myned *i'r byw*. Mae yna galon yn cydio wrth galon, a theimlad yn *asio* wrth deimlad "dere i mewn machgen i," meddai, "cei ran o bob peth sydd yma." Beth yw y rheswm am y cydymdeimlad? O hen gadben ydyw, ac wrth glywed am yr ystorm, a cholli y llong, a chyfyngder y bachgen; cofiodd y tywydd y bu ynddo ei hunan lawer gwaith. Gristion egwan sydd yn cael dy guro gan ystormydd y byd yma, nis gwn pa gydymdeimlad a geit pe curit wrth ddrws Gabriel neu Uriel; —hwyrach yn wir, mai dy droi heibio yn lled ddiseremoni a wnaent; ond y mae un ar "ddeheulaw y mawredd yn y goruwch leoedd" fu "heb le i roddi ei ben i lawr," yn "wr gofidus a chynefin a dolur," yn cael ei demtio gan ddiafol; yn ymladd y frwydr yn Edom a Bozrah. Mae yn cofio ei daith arw ar ein daear ni, ac oddiar gofio y tywydd y bu ynddo ei hun yn medru cyd-ddyoddef â'i bobl sydd yn eu tywydd eto. Ac yn nghanol eich holl adfydau "ewch a dywedwch i'r Iesu," mae ganddo galon i gydymdeimlo "â'n gwendid ni."

4. *Cydymdeimlad un sydd yn aros yn ei swydd.* "Canys nid oes i ni archoffeiriad heb fedru cyd-ddyoddef," neu y mae i ni archoffeiriad yn medru cyd-ddyoddef. Mae y geiriau yn meddwl yn gryfach nag y maent yn dyweyd. Un yn aros yn ei swydd. Bu llawer o bethau nad ydynt yn awr. Bu gan y wraig weddw briod oedd yn gastell rhyngddi â'r ystorm, ond daeth llifeiriant marwolaeth heibio, chwalodd y castell gan ei gadael hi a'i saith plentyn yn agored i'r ddrycin. Bu gan y plentyn amddifad yna dad a mam a'u gwyliai fel eu dau

lygaid ; ond ymddifadwyd ef o honynt cyn ei fod yn saith mlwydd oed, ac y mae er hyny wedi gorfod ymladd ei ffordd hebddynt. Ond Seion cymer galon, nid ai di byth yn wraig weddw, oblegid, "Dy briod yw yr hwn a'th wnaeth, Arglwydd y lluoedd yw ei enw." Gristion nac ofna, nid a'i di byth yn blentyn amddifad, oblegid y mae yr hwn y mae ganddo anfarwoldeb wedi dyweyd, "Nis gadawaf chwi yn amddifaid." Mae bywyd Crist yn y nef, a bywyd y Cristion ar y ddaear wedi eu cysylltu ynghyd, a thra y byddo byw y Cyfryngwr mewn gogoniant fe fydd byw y credadyn ar y llawr. Mae a'i droed ar wddf angau y munyd yma yn bloeddio "Byw ydwyf yn oes oesoedd." A oes yna ddim ond hyny? oes "Byw wyf fi, a byw fyddwch chwithau hefyd." Ni bydd Jacob a'i feibion ddim marw o newyn yn Nghanaan ; oblegid y mae digon o ŷd yn yr Aipht a Joseph eu brawd sydd ben ar y cwbl. Ni wna Haman ddim niwed i'r genedl ; ïe, mae cyfraith wedi myned allan i ladd yr Iuddewon oll ; gadewch i hyny fod, mae Esther yn y llys, yn briod i'r brenhin, o gyfathrach y genedl—ac erbyn y fath amser wedi ei chodi i'r frenhiniaeth. Ni fodda y corff tra y byddo y pen uwchlaw y dwfr, er i'r dyfroedd fod hyd yr ên. Ni ddaw dim rhyw niwed mawr i eglwys Dduw yn nghanol ystormydd y byd yma, tra byddo Iesu yn fyw yn nghanol y nef "Byw wyf fi a byw fyddwch chwithau hefyd." Gorfoledded meibion Seion yn eu brenhin ; llawenyched merched Judah ; crechwened gwyryfon Israel ; dawnsied llancesau Jerusalem ; bloeddied y mynyddoedd ganu ; cured coed y maes eu dwylaw ; tyned plant y caethglud eu telynau oddiar yr helyg ; unwch yn y gân ; chwyddwch y mawl ; cydgordiwch yr anthem, "Duw sydd noddfa a nerth i ni, cymorth hawdd ei gael mewn cyfyngder." Mae yma ddefnydd cysur yn y tywydd garwaf, fod un ar ddeheulaw Duw a'n hachos ar ei galon, ac "yn byw bob amser i eiriol drosom."

Fy ngwrandawyr anwyl! A wyddoch chwi am ryw beth a weinydda gysur i chwi pan y daw yn dywydd garw? Gwasg-

ed yr Arglwydd y cwestiwn at eich cydwybodau. "Ah!" meddai rhyw fachgen cryf, iach, "wn i ddim am dywydd garw, yr wyf wedi cael fy llwybr yn esmwyth a diofid." Felly yn wir, ond gad i mi gael dyweyd y gwir wrthyd yn onest, fy machgen anwyl, "Daw y cwpan atat tithau hefyd!" Daw fel mai byw dy enaid; mae cyfyngder yn rhywle wasga ochenaid o'r galon galetaf. Gwareded Duw rhag i hyny fod pan na'byddo yr un gwrandawr iddi. Yr wyf yn ail ofyn y cwestiwn, a wyddoch chwi am rywbeth a weinydda gysur pan y daw yn dywydd garw? Digwyddais fod unwaith yn ystafell wely gwraig dduwiol iawn. oedd mewn dirdyniadau poenus. Ar y pryd daeth ei mab i mewn, ac yr oedd heb ei weled er's cryn amser, a'r gair cyntaf a ddywedodd erbyn ei fod yn yr ystafell ydoedd, "O —— bach mae wedi dyfod yn ddydd blin arnai i." "Ydyw, mam, mi welaf," ebe yntau, "ond gobeithio fod genych ryw beth ar ei gyfer." "Oes! machgen i, oes." "Canys yn y dydd blin y'm cuddia o fewn ei babell, yn nirgelfa ei babell y'm cuddia, ar graig y'm cyfyd i." Dyna ddigon yn y "dydd blin." "*Pabell.*" "*Dirgelfa y babell.*" "*Craig yn nirgelfa y babell.*" Dyna ddigon yn y dydd blin. Ac y mae yn dda genyf gael cyfle i'ch cyfarwyddo at "y gwr sydd yn ymguddfa rhag y gwynt, ac yn lloches rhag y dymestl, yn afonydd dyfroedd mewn sychdir, yn gysgod craig fawr mewn tir sychedig." Llechwch yn ei glwyfau; gwnewch eich noddfa dan gysgod ei adenydd.

"Mae yn ei glwyfau loches glyd,
Pan elo 'r BYD yn dân.

# PREGETH VIII.

## SEFYLL YN Y TY Y NOS.

SALM cxxxiv. 1.

**"Y rhai ydych yn sefyll yn nhŷ yr Arglwydd y nos."**

Mae gwahanol dymhorau ar achos yr Arglwydd. Yn hyn, fel mewn llawer o bethau eraill, y mae yn dwyn tebygolrwydd mawr i drefn gyffredin natur. Mae yn wir fod gwahaniaeth yn yr hyn sydd yn achosi y gwahanol dymhorau mewn natur, rhagor yr hyn sydd yn eu hachosi mewn crefydd Duw a ordeiniodd hâf a gauaf, dydd a nos, oerni a gwres mewn natur ; ac y maent yn gwasanaethu i dyfiant a ffrwythlondeb y ddaear ; yn gystal ag i iachusrwydd a chryfder dynion ac anifeiliaid. Ond nid ordeiniad Duw ydyw nos, a gauaf, ac oerni gyda chrefydd ; ond y mae yn cyfodi oddiar galedwch ein calon, dideimladrwydd ein hysbryd, a phellder ein meddwl ni oddiwrth yr Arglwydd ; ac y maent yn effeithio yn anffafriol iawn ar iechyd a chryfder ysbrydol yr eglwysi. Ond peth bynag sydd yn eu hachosi, y mae yn ffaith yn parhau yr un ; sef, fod ambell adeg ar grefydd yn ein mysg y gellir yn briodol ei galw yn nos ; ac ambell noson ddu, dywell a thymhestlog iawn ; ac y mae y testyn yn galw ein sylw at y rhai oedd yn "sefyll yn nhŷ yr Arglwydd y nos." Yr oedd yr offeiriaid i gadw gwyliadwriaeth wastadol. Gorchymynir i Aaron a'i feibion i gadw y lamp yn oleu o'r hwyr hyd y boreu. Yr oedd y lamp heb ei diffodd yn nheml yr Arglwydd pan aeth Samuel i gysgu. Yr oedd penau cenedl y Lefiaid a'r gwaith hwnw arnynt ddydd a nos : ac "nid â'i Anna y broffwydes allan o'r deml, ond gwasanaethu Duw mewn ymprydiau a

gweddiau ddydd a nos." Nid oes neb yn cadw gwyliadwriaeth felly "yn nhŷ yr Arglwydd y nos" yn awr; ond y mae adegau ar Eglwys Dduw y gellir yn gydmarol eu galw yn nos eto; a rhyw rai yn sefyll ynddi i gadw gwyliadwriaeth. Ymofynwn—

PA BRYD Y GELLIR DYWEYD EI BOD YN NOS AR GREFYDD? Pan y cydgyferfydd rhyw bedwar o bethau, bydd yn hawdd deall ei bod yn nos ar achos yr Arglwydd.

Pan na byddo llwyddiant neillduol yn cydfyned a'r weinidogaeth. Gallu cryfaf yr eglwys yw y weinidogaeth, a phan na byddo hi yn llwyddo, y mae pob peth arall yn gwywo. Os na bydd y genadwri yn meistroli y gwrandawyr, a dynion yn cael eu dwysbigo yn eu calonau ganddi—ac mewn canlyniad yn "ymwasgu â'r dysgyblion," mae yn hawdd deall mai nos ydyw ar grefydd.

Pan y byddo profiad crefyddol yr eglwys yn isel, a thuedd ymollyngar yn ei bywyd a'i harferion. Gwelwyd adegau felly, pan nad oedd ond ychydig yn dwyn arwyddion cynydd mewn gras, a llwyddiant mewn crefydd. Ychydig o eneidiau yn "iach ac yn llwyddo." Mae eu "gliniau yn llaesu a'u dwylaw yn ymollwng." Byw gyda chrefydd, ond nid byw ar ei dylanwad ysbrydol hi. Pa le y mae y "ffydd sydd yn gorchfygu y byd?" Pa le y mae y grefydd sydd yn darostwng yr holl nwydau, a'r blysiau, a'r tueddiadau dan ei rheolaeth? Pa le y mae y crefyddwr sydd yn "croeshoelio y cnawd, ei wyniau, a'i chwantau," ac yn "marwhau yr aelodau sydd ar y ddaear?" Nid yn nos crefydd y gwelir y pethau yna.

Pan y byddo mynych gwympiadau i bechodau yn mysg crefyddwyr. Mae mynych lithriadau proffeswyr—y cydffurfiad a welir rhwng yr eglwys a'r byd—y llongddrylliad wneir gan lawer am eu ffydd—a'r dôn isel gyda'r hon y sonir am ddrygau cymdeithasol yr oes, yn ddigon i ddangos fod "llawer yn weiniaid, a llawer yn llesg, a llawer yn huno." Mae mwy o gwyno gan ddynion dan eu clwyfau, nag sydd o sain clodforedd am fod Seion yn "llawen fam plant."

Pan y byddo pechodau ysgeler yn myned yn fwy haerllug a digywilydd. Yn y nos y cyflawnir pob drwg ; a phan y mae cariad yr eglwys yn oeri, y mae anwiredd y byd yn amlhau. Fel y mae y dydd yn gyru adar y nos i ffoi, felly y mae dydd crefydd yn gyru cywilydd ar " weithredoedd anffrwythlawn y tywyllwch." Ymofynwn—

PA BRIODOLDEB SYDD MEWN GALW ADEG FEL YNA YN NOS? Neu y tebygolrwydd sydd rhwng nos crefydd a'r nos yn naturiol.

Yn y nos y mae pob peth yn ymddangos er ei anfantais ; felly hefyd yn nos crefydd. Nid oes dim bron yn ymddangos yn y nos ar ei oreu. Mae prydferthwch y palas—harddwch y dyffryn—arucheledd y mynydd—a mawreddigrwydd yr afon fordwyol, oll yn cael eu cuddio gan y tywyllwch. Mae y palas gwych a'r bwthyn llwyd—y dyffryn paradwysaidd a'r anialwch diffaeth—y goedwig gauadfrig a'r clogwyn moel yn y nos agos yr un fath. Rhaid cael goleuni dydd i wahaniaethu gwrthddrychau, a rhoddi barn arnynt. Yr un fath yn nos crefydd, y mae pob peth yn edrych yn waelach nag y mae. Nid oes yr un pereiddiwch yn y dôn a genir—yr un effeithiolrwydd yn y weddi a offrymir—na'r un nerth a dylanwad yn y bregeth a draddodir. Er y gall y cyfansoddiad fod yr un mor gywrain, a'r traddodiad yr un mor angherddol, ond y mae "ysbryd y peth byw" wedi ei golli. Mae y goleuni dwyfol sydd yn llewyrchu weithiau trwy y moddion yn peri fod rhyw ddysgleirdeb ar y cwbl. "Anfon dy oleuni a'th wirionedd."

Yn y nos y mae llawer yn dyrysu ac yn colli y ffordd ; felly hefyd yn nos crefydd y mae tramgwyddiadau a chwympiadau i bechodau. " Os rhodia neb y nos, efe a dramgwydda." Yn y tywyllwch y mae dynion yn cyfarfod â damweiniau, yn syrthio dros greigiau ac i bydewau. Yn nos crefydd y mae llawer yn tramgwyddo ; myned yn erbyn rhyw graig, syrthio i ryw brofedigaeth ; ac y mae y peth lleiaf yn ddigon o fagl i ddyn yn y nos ; a bu llawer un yn synu wedi iddi ddyfod yn

ddydd i beth mor fychan ei daflu o'i lwybr. Bydd ar ddynion pan ddaw yn ddydd gywilydd o honynt eu hunain, iddynt ymrwystro mewn pethau mor ddibwys. Yr oedd Paul unwaith mewn goruwch-ystafell, ac yr oedd y lle wedi ei oleuo â llawer o lampau. Yr oedd yn pregethu yn faith iawn. Nid oes un reol ysgrythyrol beth ddylai hŷd pregeth fod ; mae hyny wedi ei adael i ddoethineb y pregethwr, yn ol yr amgylchiadau. Pregethai Paul hyd haner nos. Yn yr oedfa yr oedd yno ddyn ieuanc o'r enw Eutychus yn eistedd yn y ffenestr ac yn cysgu. Dywed rhai mai bai y pregethwr o eisiau rhoi mwy o fywiogrwydd yn y bregeth yw fod dynion yn cysgu. Dichon fod peth gwir yn hyny, ond y mae yn wir hefyd fod rhai dynion a gysgai pe b'ai angel o'r nef yn pregethu ; yn enwedig wedi iddynt hwy gynefino â'i ddawn a'i lais. Beth bynag, dyma ddyn ieuanc yn cysgu er fod apostol yn pregethu; ac yn ei gwsg syrthiodd i lawr o'r drydedd lofft, a chyfodwyd ef i fynu yn farw. Yr addysg yw hyn ;—Beth yw y mynych syrthio i bechodau sydd yn mysg crefyddwyr ? onid prawf fod "llawer yn weiniaid, a llawer yn llesg, a llawer yn huno." Nos ydyw.

Yn y nos y mae cynllwynion i ddrygioni yn cael eu ffurfio ; felly yn nos crefydd y mae aflonyddwyr a therfysgwyr yn bradgynllunio. Y nos yw adeg pob drwgweithredwr :—"Y rhai a feddwant y nos y meddwant." "Llygad y godinebwr sydd yn disgwyl am y cyfnos." "Ac na fydded i chwi gydgyfeillach â gweithredoedd anffrwythlon y tywyllwch." "Rhodiwch yn weddus megis wrth liw dydd ; nid mewn cyfeddach a meddwdod ; nid mewn cydorwedd ac anlladrwydd ; nid mewn cynen a chenfigen ;" gan arwyddo mai gweithredoedd y nos a'r tywyllwch yw y rhai hyny. Yn y nos y mae drygau yn cael eu cyflawni y byddai yn frwnt eu hadrodd. Mewn ystafelloedd dirgelaidd dan leni y tywyllwch y lluniwyd y brad lofruddiaethau mwyaf cigyddlyd a barbaraidd. Felly hefyd yn nos crefydd y mae dynion drwg yn llunio cydfradwriaethau drygionus. Mae yn yr eglwys bob amser ddynion drwg yn

disgwyl cyfle i wneud niwed ; yn ymhyfrydu mewn gwaed a chelanedd, a "lle y byddo y gelain, yno ymgasgl yr eryrod." Pan y mae presenoldeb Duw yn amlwg, y maent yn cilio i'r cysgod. Mae ofn arwyddion amlwg o Dduw ar gymeriadau llygredig, "Pechaduriaid a ofnasant yn Seion, dychryn a ddaliodd y rhagrithwyr ; pwy o honom a drig gyda'r tân ysol ? pwy a breswylia gyda'r llosgfeydd tragywyddol ?" Ond os bydd yn nos ar eglwys Dduw deuant allan o'u llochesau fel "bleiddiau yr hwyr." Mor bwysleisiol y dywed yr efengylwr wrth roddi hanes Judas yn myned gyda'r milwyr i ddal yr Iesu, "*Ac yr oedd hi yn nos!*" Mae heddwch yr eglwys mewn perygl yn nos crefydd.

Yn y nos y mae cwsg yn dyfod yn naturiol ; felly yn nos crefydd y mae profedigaeth i'r dynion goreu fyned i gysgu. Mae y nos yn naturiol wedi ei bwriadu i gysgu. Mae ei thywyllwch a'i distawrwydd yn awgrymu i ddyn y gall gymeryd ei hûn. Mae natur yn tynu ei lleni trwchus dros y gwely, yn cymeryd y lamp o'r ystafell ; ac yn cau ei dwrn ar ei holl blant i fod yn ddistaw, er rhoddi pob mantais i gwsg ddyfod ymlaen ; a chryn orchest ydyw bod yn effro. Yn nos crefydd y mae y dynion goreu yn syrthio i radd o farweidd-dra ; rhaid dyweyd yn aml wrthynt, "Deffrowch yn gyfiawn, ac na phechwch." "Deffro di yr hwn wyt yn cysgu." "Deffro, deffro gwisg dy nerth Seion." "A hyn, gan wybod yr amser ei bod hi weithian yn bryd i ni ddeffroi o gysgu." "Na chysgwn fel rhai eraill, eithr gwyliwn, a byddwn sobr." Mae cryn waith cyffroi, a chynyrfu i gadw y dynion goreu yn effro yn nos crefydd. Yr oedd y dysgyblion yn cysgu heb yn wybod iddynt pan oedd y Gwaredwr bendigedig yn ei ingoedd yn yr ardd. "Cafodd hwy yn cysgu" unwaith, ac eilwaith pan oedd efe mewn "ymdrech meddwl yn gweddio yn ddyfalach ;" ond yr oedd yn garedig iawn yn eu hesgusodi, "yr ysbryd yn ddiau sydd barod ; eithr y cnawd sydd wan." Ond y mae yn gofyn mewn modd penodol, yn argyhoeddiadol iawn i Pedr, "Simon, a'i cysgu yr wyt ti ? Oni ddywedaist y deuit gyda

mi i garchar ac i angau? Oni ddywedaist pe gwadai pawb fi na wadit ti mo honof? Oni ddywedaist pe gorfodit di i farw gyda mi na wadit mo honof? ac "a'i cysgu yr wyt ti? oni allit wylio un awr?" Mae y dynion goreu mewn profedigaeth i gysgu yn nos crefydd. Ond ni adawyd erioed mo'r eglwys i gysgu oll yr un pryd. Mae yma ryw rai yn effro i gyffroi y lleill; ac "oni buasai i'r Arglwydd adael i ni ychydig iawn o weddill, fel Sodoma y buasem, a chyffelyb fuasem i Gomorah."

PA BETH YN NEILLDUOL SYDD GAN Y RHAI SYDD YN SEFYLL YN Y TY Y NOS I'W WNEYD. Cadw gwyliadwriaeth nos. "Ar dy furiau di Jerusalem y gosodais geidwaid y rhai ni thawant na dydd na nos yn wastad." Gwelwyd weithiau ambell i deulu bychan yn cadw palas y boneddwr tra y buasai efe oddicartref; cadw tân ynddo rhag i ddim waethygu; cadw golwg ar bob peth rhag i ddim fyned i golli; a phan y ceid awgrym ei fod yn dychwelyd, trefnu y tŷ erbyn ei ddyfodiad. Palas a'r boneddwr oddicartref ydyw tŷ yr Arglwydd y nos; ac y mae genym waith priodol i'r adeg. Pa beth sydd i'w wneyd?

Yn y nos y mae gofal mawr i'w gymeryd pwy a ollyngir i'r tŷ. Mae pawb sydd yn cadw tŷ yn gofalu am hyny. Os daw rhyw un i guro y drws am dderbyniad i'r tŷ yn y nos, mae yn naturiol ymofyn, A ydych chwi yn ei adnabod? A oes rhyw un yn y tŷ yn ei adnabod? A oes ganddo lythyr oddiwrth ryw un a adwaenoch? A ydych chwi wrth ymddiddan ag ef yn gallu barnu fod yn ddiberygl ei ollwng i mewn? Mae rhyw holiadau fel yna yn cael eu gofyn gan bob penteulu ystyriol cyn gollwng neb dyeithr i'w dŷ yn y nos. Yn eglwys Dduw y mae gofal mawr i'w gymeryd pwy a ollyngir i mewn yn y nos; ni ddylid gollwng neb i mewn i dŷ Dduw ond a fyddo yn dwyn arwyddion saint. Cymdeithas o dduwiolion ydyw, ac y mae derbyn dynion iddi heb ddwyn arwyddion boddhaol o gyfnewidiad cyflwr yn beryglus i'w diogelwch. Ac y mae dau amgylchiad yn y rhai y mae perygl i

ddynion iach, caled, dioruchwyliaeth ddyfod i mewn i'r eglwys; sef mewn adeg o lwyddiant mawr, pan gan faint ei llawenydd am luosogrwydd y dychweledigion, nid yw yn cymeryd hamdden i edrych am arwyddion gwir gyfnewidiad ynddynt; ac mewn adeg isel ddilewyrch; pan y mae ei ffydd yn wan a'i chariad yn oer gollynga agos bob math i mewn gan ei chnawdolrwydd, a'i hawydd am gadw y rhif; ac nid yw yn ddigon ysbrydol ei chalon i adnabod arwyddion gwir dychweliad. Mae pedwar peth y dylid mynu boddlonrwydd arnynt yn mhob un cyn ei dderbyn i eglwys Dduw. Gradd o wybodaeth o egwyddorion a rheolau crefydd; cydolygiad â'r eglwys ar bynciau hanfodol yr efengyl; ymarweddiad diargyhoedd yn allanol; ar arwyddion boddhaol ei fod yn ymofynydd pryderus am iachawdwriaeth. Ped arferid gofal priodol am hyn ceid llai o ofid oddiwrth gymeriadau drygionus yn eglwys Dduw. Sefyll ar y drws i edrych pwy ollyngir i mewn.

Yn y nos dylai fod sylw manwl na byddo unrhyw anrhefn yn cael ei oddef yn y tŷ. Mae cymdeithas yn talu heddgeidwaid am wylio ein trefydd a'n pentrefydd yn y nos. Rhan benodol o waith y rhai sydd ar furiau Seion yn gwylio y nos ydyw "bwrw golwg drostynt" Gan mai yn y nos y mae cynllwynion i ddrygioni yn cael eu ffurfio, tramgwyddiadau a chwympiadau yn digwydd, mae o bwys mawr i'r gwylwyr fod yn effro rhag bod unrhyw ddrwg yn cael ei gyflawni. Mae yr eglwys mewn perygl bob amser, ond yn fwy felly ar rai amserau. Mae "llwynogod bychain yn difa ein gwinllanoedd," ac y mae eisiau eu dal. Cenfigen; angariad; ymbleidio; bydolrwydd; drwg dymer; athrod a'r holl ddrygau sydd o'r un rhywogaeth. Mae perygl i ddysgyblaeth yr eglwys yn y nos fyned dan draed; a'r llinell derfynol i gael ei hanghofio. Nid yw drygau yn ymddangos yn eu lliw priodol. Goddefir pethau yn y nos, na fynasai yr eglwys er dim fod yn gyfranog â hwy yn y dydd. "Ymlanhewch y rhai a ddygwch lestri yr Arglwydd."

[redacted]



Yn y nos dylai yr eglwys gyneu ei lampau i ddangos fod rhyw rai oddimewn yn effro. Os gwelir goleu yn y tŷ, meddylir fod rhyw rai i mewn, a bydd ofn ar ddynion drwg anturio yno. Goleuni geidw y gelynion allan. Y mae y rhai sydd "yn sefyll yn nhŷ yr Arglwydd y nos" i ddal y goleu fel y gwybyddo y byd oddiallan fod rhai yn effro oddimewn. "Fel y byddoch ddiargyhoedd, a diniwed; yn blant difeius i Dduw, ynghanol cenedlaeth bechadurus a throfaus; yn mhlith y rhai yr ydych yn dysgleirio megis goleuadau yn y byd; yn cynal gair y bywyd er gorfoledd i mi yn nydd Crist, na redais yn ofer, ac na chymerais boen yn ofer." Mae pedair lamp y dylid eu goleuo yn y tŷ y nos.

*Lamp gwybodaeth.* Nis gall eglwys ddwl, anwybodus byth fod yn eglwys ddylanwadol. "Colofn a sylfaen y gwirionedd," ydyw hi i fod.

*Lamp sancteiddrwydd.* Yn ei phurdeb y mae ei nerth. Mae deg ar hugain o ddynion pur, yn gryfach eu dylanwad na thri chant o ryw gymeriadau anmheus. Glendid yr eglwys a enilla y byd ar ei hol.

*Lamp unoliaeth.* Wedi eu cylymu ynghyd mewn cariad, "fel y byddont oll yn un." "Wrth hyn y gwybydd pawb mai dysgyblion i mi ydych yn wir, os bydd genych gariad helaeth at eich gilydd."

*Lamp gweddi ddyfal.* Dyma rym yr eglwys, ei chymundeb â Duw. Yr oedd dirgelwch y Diwygiad Protestanaidd yn ystafell weddi Luther. Ac os bydd y pedair lamp yna yn oleu mewn eglwys, nid hir y pery y nos. Ac os na bydd goleu yn eglwys Dduw yn mha le y bydd? Esgeulusodd ceidwad goleudŷ unwaith gyneu y goleu ar noswaith dywyll ystormus; a'r canlyniad fu i long oedd allan yn y perygl redeg i ddanedd y graig, fel y drylliwyd y llestr ac y boddodd y dwylaw; a daliwyd ceidwad y goleudŷ yn gyfrifol am eu colliant,—oblegid mai ei esgeulustra ef i gyneu y goleu a barodd y ddamwain. Pan cynhelir trengholiad ar dynged miloedd o eneidiau colledig; mae lle i ofni y delir eglwysi

yn gyfrifol o eisiau dal y goleu. "Llewyrched felly eich goleuni ger bron dynion, fel y gwelont eich gweithredoedd da."

Yn y nos dylid paratoi ar gyfer dyfodiad y dydd. Nid nos ydyw i fod o hyd, mae dydd i ddilyn y nos hwyaf. Prif waith yr amaethwr yn y gauaf ydyw gofalu na byddo dim yn myned i golli; a pharatoi ar gyfer y gwanwyn a'r hâf. Mae dydd i ddod ar achos yr Arglwydd, ac y mae o bwys fod pob peth yn cael ei wneyd yn y fath fodd ag a ddalio y goleu. Y mae llawer yn barod i ofyn fel yr ymofynydd o fynydd Seir gynt, "Y gwyliedydd, beth am y nos?" Gallwn ateb "y nos a gerddodd yn mhell;" a thrwy ffydd gallwn ychwanegu, "a'r dydd a nesaodd." Ac onid oes rhyw bethau yn arwyddo fod y dydd gerllaw. Mae y Babaeth mewn gwewyr angeuol; mae swn cadwynau y caethion yn ymddatod, ac egwyddorion rhyddid yn enill tir; mae hawliau crefydd ysbrydol yn cael eu dadleu, ac awdurdod Crist fel unig ben yr eglwys yn cael ei gydnabod; mae swn rhyw rai o'n cwmpas yn gweithio, fel y gellir casglu fod y wawr ar dori. Mae teimlad o anesmwythder yn meddianu y dynion goreu, ac ambell un yn dywedyd, "fy enaid sydd yn disgwyl am yr Arglwydd yn fwy nac y mae y gwylwyr am y boreu;" ac wrth ddringo i fynu i ben bryniau yr addewidion gwelir trwy y niwl a'r tywyllwch arwyddion dynesiad y dydd.

"Daw diwedd ar y t'w'llwch du,
Mae yn oleuach nag y bu;
Mae'r niwl a'r tarth yn cilio draw,
Mae'n sicr fod y dydd gerllaw."

A dydd goleu, clir fydd pan y daw. Mae Esaiah wedi ei ddarlunio—"Ni bydd yr haul i ti mwyach yn oleuni y dydd, a'r lleuad ni oleua yn llewyrch i ti; eithr yr Arglwydd fydd i ti yn oleuni tragywyddol, a'th Dduw yn ogoniant i ti. Ni fachluda dy haul mwyach, a'th leuad ni phalla, o herwydd yr Arglwydd fydd i ti yn oleuni tragywyddol, a dyddiau dy alar a ddarfyddant." Dyna y dydd sydd yn aros eglwys Dduw

ar ol hirnos oer, dywyll ; ac yn y nos y mae eisiau paratoi erbyn y delo.

Er mai nos ydyw, dylid bendithio yr Arglwydd am gael bod yn y tŷ. "Wele holl weision yr Arglwydd, bendithiwch yr Arglwydd." Mae yn well bod yn y tŷ ar y noson oeraf, dywyllaf, hiraf, arwaf, na bod y tu allan i eglwys Dduw gyda'r byd ar eu dydd siriolaf, llonaf, hwyaf. Dydd yw ar anuwiolion yn awr i gael ei ddilyn gan nos dragywyddol. Gwlad yr haner nos yw uffern ; "tywyllwch eithaf ;" "niwl tywyllwch yn dragywyddol." Rhyw un noson ddu, dymestlog, ystormus yn parhau yn dragywyddol. Ond am nos crefydd, canlynir hi gan y dydd. Bydd felly ar brofiad personol y Cristion. "Cyfyd goleuni i'r rhai uniawn yn y tywyllwch." Tyr y wawr ar enaid y duwiol yn angau ; llewyrcha goleuni ar y glyn tywyll ; gwasgara y cymylau oddiar dónau yr afon ; a daw yn ddydd tragywyddol ar ei enaid. Un o'r geiriau hyfrydaf yn hanes y wlad ydyw, "Ni bydd nos yno." Nid rhaid wrth lampau, na lleuadau, na heuliau, "Canys yr Arglwydd Dduw Hollalluog a'r Oen yw ei goleuni hi." Ac wrth wylio y tŷ y nos yma, cawn ein cymhwyso i wlad "Lle nid oes *tywyll nos,* OND DYDD ;" ac "Yno y byddwn yn wastadol gyda'r Arglwydd."

# PREGETH IX.

## NODWEDD YR EFENGYL.

1 THESSALONIAID i. 5.

**"Oblegid ni bu ein hefengyl ni tuag atoch mewn gair yn unig, eithr hefyd mewn nerth, ac yn yr Ysbryd Glân, ac mewn sicrwydd mawr."**

Priodal ystyr gair "*efengyl*" ydyw *newydd da,* ac o ba gyfeiriad bynag yr edrychir arni, dyna ydyw. Mae gwahanol ddarluniadau yn cael eu rhoddi o gyflwr pechadur yn yr ysgrythyrau ; ond y mae yr efengyl yn ei gyfarfod yn mhob sefyllfa, ac yn datguddio iddo "newyddion da o lawenydd mawr."

"*Ein hefengyl ni.*" Gelwir hi gan yr un apostol mewn man arall yn efengyl Crist; a chan Pedr yn "efengyl Duw." Yr un efengyl, ond ei bod yn cael edrych arni mewn gwahanol berthynasau. "Efengyl Duw" o ran hawl. "Efengyl Crist" o ran cynwys ; "ein hefengyl ni" o ran swydd. Duw bia yr efengyl ; Crist yw testyn yr efengyl ; i ni yr ymddiriedwyd pregethu yr efengyl. "Yr hwn a'n gwnaeth *ni* yn weinidogion cymhwys y testament newydd ;" roddodd *i ni* weinidogaeth y cymod ;" gwnaeth ni yn "weinidogion i Grist ac yn oruchwylwyr ar ddirgeledigaethau Duw." "Eithr y mae genym y trysor hwn mewn llestri pridd." "Ein hefengyl ni."

"*Ni bu mewn gair yn unig.* Bu mewn gair, hebddi felly ni allesid gwneyd dim o honi. Yr oedd hi mewn gair yn mysg y Thessaloniaid ac y mae mewn gair genym ninau.

Daeth yn foreu i Gymru, ac y mae traed y rhai sydd yn ei hefengylu yn sangu yn weddaidd ar ein mynyddoedd, ac na wawried byth y diwrnod du, cymylog hwnw y collir yr efengyl mewn gair o fynyddoedd, cymoedd, a nentydd Cymru. Ond "ni bu mewn gair yn unig." Nid y datguddiad noeth o honi yn y llythyren yn unig gafwyd—

"*Ond mewn nerth.*" Wedi ei chadarnhau trwy arwyddion, a rhyfeddodau gwyrthiol, yn genadwri ddwyfol. Nerth gwyrthiau a olygir yma.

"*Ac yn yr Ysbryd Glan.*" Gyda dylanwad, arddeliad, ac effeithiolaeth yr Ysbryd Glan.

"*Ac mewn sicrwydd mawr.*" Yn y profiad personol o'i gallu dwyfol ar y galon, yn gweithio yn yr enaid "sicrwydd mawr." Edrychwn ar yr efengyl yn

I. YN NHREFN EI DADGUDDIAD; "*mewn gair.*" Y darluniad mwyaf cyffredin a roddir o'r efengyl ydyw "gair." "Felly y bydd fy *ngair* yr hwn a ddaw o'm genau." "I chwi y danfodwyd *gair* yr iachawdwriaeth hon." "Y *gair* yr hwn a anfonodd Duw i blant Israel, gan bregethu tangnefedd trwy Iesu Grist." "Gwir yw y *gair* ac yn haeddu pob derbyniad." "Ein hefengyl ni tu ag atoch ni bu mewn *gair* yn unig." "Gair," yn

1. *I arddangos corffoliad yr efengyl.* Ei bod yn gyfundraeth ddatguddiedig. Yr oedd holl wirioneddau yr efengyl yn feddyliau gwasgaredig yn y meddwl anfeidrol er tragywyddoldeb. Gelwir hwy yno "cynghor ei ewyllys;" "meddyliau ei galon;" "dirgelwch ei arfaeth." Ond yn yr efengyl y maent wedi eu corffoli yn air Duw; yn gyfraith yr Arglwydd. Nid ydyw yr efengyl wedi creu unrhyw wirionedd newydd, ond corffoli yr hen wirioneddau oedd yn meddwl Duw erioed, a'u gosod allan yn ddatguddiad trefnus i ni. Yr oedd y goleuni wedi ei greu y dydd cyntaf, ond y pedwerydd dydd y crewyd yr haul i fod yn ffynonell a chanolbwynt goleuni a gwres. Felly yr oedd holl wirioneddau yr efengyl yn y meddwl dwyfol erioed, ond yn yr efengyl y maent wedi eu corffoli

yn gyfundraeth ddatguddiedig, fel "y mae genym ni feddwl Crist."

2. *I arddangos cysondeb yr efengyl;* "gair" ydyw, nid geiriau. Mae cyfeiliornadau yn llawer, ond un ydyw y gwirionedd: "athrawiaethau amryw a dyeithr;" "athrawiaeth iachus;" yr "athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb." Mae gwirionedd yn gyson â phob gwirionedd arall. Nid yw gwirionedd a chyfeiliornad byth yn cytuno; ac anaml y mae dau gyfeiliornad yn gyson, er y gall hyny ddigwydd weithiau. Mae yn bosibl cael dau bren cam i *fitio,* y ddau yn digwydd bod yn camu yn yr un man; ond nid yw pren cam a phren cymwys byth yn *fitio,* ond dau bren union y maent yn gorwedd yn esmwyth ar eu gilydd. Pren cam ydyw cyfeiliornad, ac fe ellir cael dau gyfeiliornad yn gyson, oblegid eu bod yn camu yn yr un man. Pren union ydyw gwirionedd ffitia fe byth â phren cam cyfeiliornad, ond am y gwirionedd, y mae yn rhedeg fel llinell gyfochrog â phob gwirionedd arall. Y mae holl gaugheuau gwirionedd datguddiedig yn gyson â'u gilydd; er y byddwn ni yn fynych yn methu deall pa fodd y mae bwriad neillduol i gadw y rhai a gedwir yn gyson â galwadau cyffredinol yr efengyl; pa fodd y mae dylanwad neillduol Ysbryd Duw ar feddwl dyn yn gyson â rhyddid yr ewyllys a chyfrifoldeb y creadur; ond y mae y dyryswch yn unig yn ngwendid ein hamgyffredion ni i ddirnad yn briodol am bethau mawrion trefn Duw. Y maent yn eithaf cyson yn meddwl Duw, ac yn eithaf cyson yn nheimlad y Cristion, y maent yn gyson gan hyny yn mhob man lle y mae eisiau iddynt fod yn gyson. Ni feddyliodd yr anfeidrol erioed am ddarostwng gwirioneddau dwyfol a thragywyddol, dan lywodraeth rhyw drefniant o eiddo rheswm cnawdol. Mae unoliaeth a chysondeb yn rhedeg trwy gorff holl wirioneddau yr efengyl.

Mae yr efengyl yn gyson â phob gwirionedd mewn natur. Nid rhaid i wirionedd crefydd ddatguddiedig ofni olrheiniadau manylaf celfyddyd a gwyddor. Esgyned y seryddwr i'r nefoedd, tramwyed yn mysg ser Duw; archwilied y bydoedd

[redacted]



uwch ben; mesured y gwagle; craffed ar ddylanwad y cyrff nefol ar eu gilydd; teithied rhagddo hyd at orsedd Ior; darganfydded fydoedd a bodau;—pan ddychwela yn ol i'r ddaear i adrodd ei weledigaethau, nid oes perygl y bydd ganddo ddim i'w fynegi y bydd raid i air Duw wrido yn ei bresenoldeb, neu, disgyned y daearegwr i galon y ddaear; cyfrifed ei haenau; agored ei chelloedd; treiddied i'w chrombiloedd; dyfaled ei hoed; a rhifed ei blynyddoedd, os gall, nid oes dim perygl wedi y daw i'r wyneb y bydd ganddo ddim i'w fynegi y bydd raid i hen oracl y nefoedd blygu ei ben yn ei bresenoldeb; gwirionedd ydyw. Deil y prawf yn ddiysgog.

3. *I arddangos eglurdeb yr efengyl.* Mae yr efengyl genym mewn gair, heb hyny nis gallasem ei dirnad. Yr oedd yn rhy bell oddiwrthym ni yn meddwl Duw, ond y mae wedi ei gwneyd yn eglur i ni yn ngair Duw. Mae pob gwirionedd hanfodol i'n hiachawdwriaeth wedi ei wneyd yn syml iawn. Mae yn syndod fod yr efengyl mor eglur pan gofiom mai meddyliau Duw yw y meddyliau, a'n geiriau ni yw y geiriau. Byddwn yn teimlo anhawsder weithiau i gael geiriau i osod allan y meddyliau bychain sydd genym ni, ceisiwn wneyd i fynu trwy ystumiau ac ymddangosiadau yr hyn na's gallwn ei osod allan â'n geiriau; ac os ydyw geiriau yn cael eu teimlo genym ni yn wan i osod allan ein meddyliau, pa faint llai i osod allan feddyliau mawrion y meddwl anfeidrol. Y mae yn syndod fod yr efengyl yn dyweyd mor eglur feddyliau dwyfol mewn iaith ddynol. Mae yr holl bethau sydd hanfodol i fywyd tragywyddol mor syml a dealladwy, nid yn unig fe ellir eu deall, ond y mae yn anmhosibl methu eu deall; "pe byddent ynfydion ni chyfeiliornant." Efengyl wedi ei gwneyd yn eglur "ein hefengyl ni tuag atoch mewn gair."

II. YR EFENGYL YN MHROFION EI DWYFOLDEB "*Mewn nerth.*

Arferir rhanu profion Cristionogaeth i ddau ddosbarth. Y profion mewnol a'r profion allanol. Ond hwyrach y gellir gyda llawn cymaint o briodoldeb eu dosparthu i bedwar, a'u gwneyd yn fwy dealladwy trwy hyny. *Y profion mewnol.*

*Y profion allanol. Y profion ymarferol. A'r profion personol. Y profion mewnol:* ydyw y tystiolaethau hyny sydd yn eglur ar dudalenau yr ysgrythyrau eu bod yn feddwl Duw. Mawredd a dyfnderoedd yr athrawiaethau a gynwysa cysondeb rhyfeddol eu gwahanol ranau ; a thuedd foesol yr ysgrifeniadau ydynt oll yn brofion a geir ar dudalenau yr Ysgrythyrau eu bod yn gynyrch meddwl dwyfol.

*Y profion allanol*; ydyw y gwyrthiau a gyflawnwyd gan Grist a'i apostolion wrth sefydlu Cristionogaeth yn y byd, ynghyd ar proffwydoliaethau a gerddasant o'r blaen a gwblhawyd yn llythyrenol pan y daeth.

*Y profion ymarferol;* ydyw y dylanwad bendithiol y mae yr efengyl yn ei gael ar bob gwlad. I'r efengyl yr ydym ni yn Mrydain yn ddyledus am ein gwareiddiad, ein trefn gymdeithasol ; ffurfiad ein cyfreithiau ; a'r dylanwad sydd genym ar wledydd y byd.

*Y profion personol;* ydyw y profiad hwnw o'i dylanwad a'i heffeithiau y mae y Cristion yn ei deimlo yn ei galon. Cyfeirir yma at yr ail ddosparth o brofion—"mewn nerth ;" hyny yw fod yr efengyl wedi ei phrofi a'i chadarnhau fel cenadwri ddwyfol trwy arwyddion uniongyrchol o'r nef. Mae pob datguddiad neillduol a roddodd Duw o hono ei hun i'r byd yn cael ei gadarnhau trwy wyrthiau ; felly y gwnaeth Moses ac Elias wyrthiau rhyfeddol er profi eu bod yn anfonedig oddiwrth Dduw. Ac y mae pob crefydd sydd yn cynyg ei gwasanaeth i'r byd, ac yn honi ei bod yn ddwyfol, yn proffesu ei bod yn gallu gwneyd gwyrthiau. Fel hyn y gosodwyd Mahometaniaeth i fynu, honent eu bod yn gallu gwneyd gweithredoedd goruwch naturiol. Y mae Pabyddiaeth hithau yn honi gallu gwyrthiol hyd y dydd hwn. Ac y mae Mormoniaeth y rhyw ffug ddiweddarach yn dadleu eu bod yn gwneyd gwyrthiau yn y conglau. Y mae pob ffug o grefydd sydd yn cael ei gosod i fynu gan ddynion gydag amcan i "dynu disgyblion ar eu hol" yn honi eu bod yn gallu gwneyd gwyrthiau ; a hyny oblegid fod y wir grefydd yn eu gwneyd ; ac i'r graddau y gallent

lwyddo i baentio cyfeiliornad yn debyg i'r gwirionedd y bydd yn llwyddianus i enill pleidwyr ; ond nid honi gallu i wneyd gwyrthiau y byddai yr Arglwydd Iesu Grist, ond eu cyflawni yn weithredol. Ni bu neb erioed yn honi llai, ac ni bu neb erioed yn gwneyd mwy. Ac nid gwneyd gwyrthiau yn y conglau wedi i ddynion gredu y byddai yr Arglwydd Iesu, ond gwneyd gwyrthiau yn y cyhoedd o flaen llygaid y byd fel y credent.

Mae yr efengyl wedi ei phrofi yn genadwri ddwyfol trwy arwyddion uniongyrchol o'r nef. "Pa fodd y diangwn ni os esgeuluswn iachawdwriaeth gymaint : yr hon wedi dechreu ei thraethu trwy yr Arglwydd, a sicrhawyd i ni gan y rhai a'i clywsant ef ; A Duw hefyd yn cyd-dystiolaethau trwy arwyddion, a rhyfeddodau, ac amryw nerthoedd, a donian yr Ysbryd Glan, yn ol ei ewyllys ei hun ?" Dechreuwyd ei phregethu gan yr Arglwydd, sicrhawyd hyny i ni gan y rhai a'i clywsant ef ; a seliodd Duw wirionedd eu tystiolaeth trwy arwyddion, rhyfeddodau, ac amryw nerthoedd ; fel y mâe yn dwyn y profion mwyaf diamheuol ei bod yn genadwri ddwyfol. Yr oedd gwyrthiau yr Arglwydd Iesu Grist yn profi dwyfoldeb ei anfoniad. Nid yw cyflawniad gwyrth gan berson yn profi ei ddwyfoldeb ; ond yr oedd gwyrthiau yr Arglwydd Iesu Grist yn profi ei Dduwdod ; oblegid gwnai y gwyrthiau yn ei enw ei hun. Dywedai yn eglur "Mab Duw ydwyf." "Myfi a'r Tad un ydym ;" ac er dangos nad swp o eiriau gweigion oedd ei honiadau ; ymaflai yn mraich y dinystrydd ; gostegai gynhyrfiad elfenau ; meistrolai ar gythreuliaid uffern ; ataliai gynydd afiechyd ; a chipiai ambell un o grafangau marwolaeth ei hunan. Profodd ei honiadau yn ymarferol. Yr oedd yn eglwys Corinth rai yn ymchwyddo yn eu honiadau, ac y mae Paul yn dyweyd wrthynt, "Eithr mi a ddeuaf atoch chwi ar fyrder ; ac a fynaf wybod, nid ymadrodd y rhai sydd yn chwyddo ond eu gallu." Nid beth y maent yn ei ddyweyd, ond beth y maent yn ei wneyd ; nid beth y maent yn honi, ond beth y maent yn ei gyflawni. "Canys nid mewn ymadrodd y

mae teyrnas Dduw, ond mewn gallu," Nid mewn honiadau ond mewn cyflawniadau ; ac ar y cynllun yna yn hollol yr oedd yr Arglwydd Iesu Grist yn bersonol yn gweithredu. Argyhoeddai y bobl o'i ddwyfoldeb nid yn gymaint trwy eiriau a thrwy wyrthiau. Anfonodd Ioan ei ddisgyblion ato unwaith i ymofyn ag ef ynghylch dwyfoldeb ei anfoniad ; "Ioan Fedyddiwr a'n danfonodd ni atat gan ddywedyd, Ai ti yw yr hwn sydd yn dyfod, Ai un arall yr y'm yn ei ddisgwyl?" Mae y Messiah i ddyfod, y mae wedi ei addaw i'n tadau, ac y mae yn cael ei ddisgwyl genym ninau, Ai tydi yw efe, neu a ydym i aros am ryw un arall er ei gael? Heb eu hateb yn uniongyrchol mewn nag "Ië" na "Nagê," mae yn galw eu sylw at ei weithredoedd, "Ewch a mynegwch i Ioan y pethau a welsoch ac a glywsoch, fod y deillion yn gweled eilwaith, y cloffion yn rhodio, y cleifion gwahanol wedi eu glanhau ; y byddariaid yn clywed ; y meirw yn cyfodi ; â'r tlodion yn cael pregethu yr efengyl iddynt." Dywedwch y pethau yna wrth Ioan, a gadewch i'r gweithredoedd lefaru drostynt eu hunain, a bydd hyny yn ddigon i argyhoeddi Ioan nad allai neb wneuthur y gweithredoedd nerthol hyn "oni bai fod Duw gydag ef." "Canys nid mewn ymadrodd y mae teyrnas Duw ond mewn gallu." "Ein hefengyl ni tuag atoch ni bu mewn gair yn unig eithr hefyd mewn *nerth*." Mae yr efengyl wedi ei phrofi yn genadwri ddwyfol trwy arwyddion uniongyrchol o'r nef.

III. YR EFENGYL YN NIRGELWCH EI LLWYDDIANT.—"*Yn yr Ysbryd Glan.*"

Er cael yr efengyl yn gyfundraeth ddatguddiedig, wedi ei phrofi yn ddiamheuol yn genadwri ddwyfol ; eto y fath ydyw cyndynrwydd calon pechadur, fel na bydd yn effeithiol i gyrhaedd yr amcan heb ei chael "yn yr Ysbryd Glan." Mae yr efengyl, yn yr oll a berthyn iddi, yn cyfarfod holl anghenion ac amgylchiadau dyn fel bôd meddyliol a throseddwr moesol. Ni bu erioed gyfundraeth a mwy o gyfaddasder ynddi i ateb yr amcan. Mae y drefn yn gymwys i'r dyn, a'r dyn yn wrthddrych cyfaddas i'r drefn, ond cael gan y dyn roddi sylw ac ys-

tyriaeth priodol iddi, nid oes dadl na dderbynia iachawdwriaeth gyflawn drwyddi. Ond cyn y ceir meddwl y pechadur at yr efengyl, rhaid ei chael "yn yr Ysbryd Glan"—neu gael dylanwad neillduol yr Ysbryd Glan i gydfyned â hi.

*Yr Ysbryd Glan sydd yn galw meddwl pechadur at y gwirionedd.* Pwnc cyntaf yr efengyl ydyw galw sylw, enill ystyriaeth pechadur. Y mae pwys mawr yn cael ei gysylltu yn yr Ysgrythyrau ag ystyriaeth; yn wir, y mae iachawdwriaeth pechadur yn cael ei gysylltu â hyn.

Y mae yr efengyl y fath gyfundraeth berffaith, ond i bechadur ei hystyried, y mae yn sicr o derfynu yn ei gadwedigaeth. Mae gan ddyn fel creadur alluoedd cymwys i dalu ystyriaeth i'r efengyl; ei esgeulusdra anesgusodol ydyw na byddai yn gwneyd a chondemnir ef yn gyfiawn am ei anystyriaeth. Nis gellir dyweyd yn rhy eglur a phendant ar yr ochr yna.

Ond y cwestiwn ydyw, Beth sydd yn dwyn y pechadur i feddwl? Mae yn eithaf eglur fod dychwelyd yn nglŷn ag ystyriaeth :—" Am iddynt *ystyried a dychwelyd.*" *Meddyliais* am fy ffyrdd a *throais* fy nhraed at dy dystiolaethau." Ond i bechadur ystyried ei gyflwr yn briodol, ac iawn ymarfer a'r moddion, y mae ei ddychweliad yn sicr. Ond y mae yr ymofyniad eto yr un, Beth sydd yn dwyn y pechadur i ystyried? Beth sydd yn diogelu yr iawn ymarferiad â'r moddion? Nid paham y mae rhai yn gwrthod y drefn; cyduna pawb mai anystyriaeth sydd yn peri hyny; ond paham y mae neb yn ei derbyn? Nid yw dyweyd mai am eu bod yn ystyried, y maent felly, yn atebiad boddhaol i'r cwestiwn. Beth sydd yn eu dwyn i ystyried? O ba le mae y tueddiad cyntaf i ystyried yn cyfodi? Paham y mae un yn credu yr efengyl a'r llall yn ei gwrthod, a'r ddau dan yr un weinidogaeth? Myn rhai mai i ryw wahaniaeth naturiol yn nghyfansoddiad meddyliol dynion y priodolir fod rhai yn ei derbyn, tra y mae eraill yn ei gwrthod. Myn eraill mai rhyw gydgyfarfyddiad o amgylchiadau sydd yn dwyn y meddwl i gyfwng fel y gwisgir ef i ystyried. Ond nid yw hyny ond symud y neillduolrwydd o un

man i fan arall, rhaid myned trwy y cwbl at Dduw fel yr ysgogydd gwreiddiol. Onid efe a luniodd ein meddyliau, ac os gwnaeth rai yn fwy gogwyddedig yn naturiol i ystyried, y mae yn llawn cymaint o'i waith ef a phe buasai y dylanwad yn uniongyrchol ar y meddwl. Onid yw holl amgylchiadau y byd dan ei reolaeth uniongyrchol? ac y mae rheoli yr amgylchiadau hyny er dwyn dyn i ystyried ei ddiwedd, yn waith Duw yn llawn mor briodol a phan yn gweithredu yn ddigyfrwng ar y meddwl. Y mae yn llawn cystal addef yn groyw ar unwaith —"Ei waith ef ydym ni." Y mae holl ddeddfau y meddwl, a holl amgylchiadau Rhagluniaeth, a holl gyfundraeth moddion moesol at ei wasanaeth; a gall arfer y dull a fyno i ddwyn i ben ei amcanion; ond yn y cwbl, a thrwy y cwbl y mae llaw anweledig Ysbryd yr Arglwydd yn gweithio er "creu o newydd Nghrist Iesu i weithredoedd da."

Mae y Beibl yn bendant a gofalus i briodoli y cwbl o gadwedigaeth i'r Ysbryd Glan:—"Llaw yr Arglwydd" oedd gyda'r apostolion. Yr "Arglwydd a agorodd galon Lydia;" "trwy allu Duw" yr oedd y saint yn gadwedig; ac "yn yr Ysbryd Glan" yr oedd yr efengyl yn llwyddianus yn Thessalonica.

Dyma sydd yn angenrheidiol eto—a dyma raid gael cyn y bydd yr efengyl yn effeithiol i gyrhaedd ei hamcan. Nis gall doniau, na dysgeidiaeth, na hyawdledd ei gweinidogion wneyd y gwaith heb eu bod wedi eu "gwisgo â nerth o'r uchelder," a'r weinidogaeth, "nid mewn geiriau denu, o ddoethineb ddynol, ond yn eglurhad yr Ysbryd a nerth." A "gallu Duw yw hi er iachawdwriaeth i bob un a'r sydd yn credu." Nid gallu y pregethwr i ymresymu, na gallu y gwrandawyr i amgyffred; ond "gallu Duw yw hi." Sonir am y peirianau nerthol sydd yn y gweithfeydd, a'r llongau mawrion, a'u bod yn hyn a hyn o nerth, ac y mae rhai o honynt o allu anferthol. Hen beiriant a osododd Duw ar lawr ein byd ni i godi "meibion lawer i ogoniant" ydyw yr efengyl; ac a wyddoch chwi pa faint ydyw nerth y peirant?— "gallu Duw yw hi!" Myn-

egwch i mi allu y Duw sydd yn "pwyso y mynyddoedd mewn pwysau a'r bryniau mewn cloriannau,"—"yn mesur y nefoedd â'i rychwant,"—yn "cymwyso pridd y ddaear mewn mesur," —yn dal y gwynt yn ei ddyrnau,"—yn "cynal y bydoedd ar gledr ei law,"—yn "galw y ser wrth eu henwau,"—yn dwyn "yr haul allan o'i ystafell fel cawr i redeg gyrfa,"—yn "ysgwyd y môr fel baban yn ei gryd;" dywedwch pa faint yw gallu y Duw anfeidrol yma, a minau a ddywedaf pa faint ydyw gallu yr efengyl, "*oblegid gallu Duw yw hi!*" Ac yn nylanwadau yr Ysbryd Glan y mae dirgelwch ei llwyddiant.

IV. YR EFENGYL YN Y PROFIAD PERSONOL O'I DYLANWAD— "*mewn sicrwydd mawr.*"

Mae yn sicrwydd mawr o herwydd ei fod yn sicrwydd personol. "Yr hyn a welsom â'n llygaid, yr hyn a glywsom â'n clustiau, yr hyn yr edrychasom arno, ac a deimlodd ein dwylaw am air y bywyd." Nid rhyw beth dderbyniwyd oddiwrth eraill ydyw, ond a brofwyd ganddynt eu hunain; ac y mae hyny yn rhoddi y boddlonrwydd mwyaf iddynt. "Ac ni a welsom ei ogoniant ef, gogoniant megis yr unig-anedig oddiwrth y Tad, yn llawn gras a gwirionedd." Cafodd y Samariaid y sicrwydd yma am Grist. Wedi i'r wraig fod wrth y ffynon yn ymddiddan â'r Iesu, cyrhaeddodd ei eiriau i'w chalon, gadawodd ei dwfr-lestr ar ol, a ffwrdd a hi i'r ddinas, gan waeddi yn gyffrous, "Deuwch, gwelwch ddyn yr hwn a fynegodd i mi yr hyn oll a wnaethum; onid hwn yw y Crist?" Beth feddyliech chwi? Aeth y ddinas allan yn un dorf i'w weled, ar ol clywed y wraig yn ei ganmol; ac wedi bod gydag ef dros amser, y maent yn dychwelyd, yn cyfarfod â'r wraig, ac yn dywedyd wrthi, "Nid ydym ni weithian yn credu oblegid dy ymadrodd di;"—credasom ni di; dy glywed yn ei ganmol a'n cododd ni oddicartref i'w weled; ond, "nid ydym ni weithian yn credu oblegid dy ymadrodd di, *canys ni a'i clywsom ef ein hunain*, ac a wyddom *mai hwn yn ddiau* yw y Crist, Iachawdwr y byd." Mae pob un yn berffaith sicr am y peth a brofodd ei hunan.

Mae yn "sicrwydd mawr," o herwydd ei fod yn sicrwydd tufewnol;—"Ar fod Crist yn trigo trwy ffydd yn eich calonau." "Canys Duw, yr hwn a orchymynodd i'r goleuni lewyrchu o dywyllwch, yw yr hwn a lewyrchodd yn eich calonau, i roddi goleuni a gwybodaeth gogoniant Duw yn ngwyneb Iesu Grist." Mae profion allanol crefydd i wasanaethu nes cyrhaedd y profion mewnol. Mae yr Apostol Pedr yn cyfeirio at hyn:—Pan oedd Iago ac Ioan ac yntau ar fynydd y gweddnewidiad, daeth "llef oddiwrth y mawr ragorol ogoniant, yn dywedyd, Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd. A'r llef yma, yr hon a ddaeth o'r nef, a glywsom ni (Iago, ac Ioan, a minau,) pan oeddym gydag ef yn y mynydd sanctaidd. Ac y mae genym air sicrach y proffwydi," neu fel y mae rhai yn deall y geiriau, "y mae genym air y proffwydi wedi ei sicrhau;" ond cymerwn ni y geiriau fel y maent yn ein cyfieithiad ni,—"Ac y mae genym air sicrach y proffwydi"—hyny ydyw, fod gair y proffwydi yn sicrach prawf o wirionedd Cristionogaeth na'r gwyrthiau, ac na gweddnewidiad Crist, y benaf o'r gwyrthiau; oblegid peth unwaith am byth oedd hyny, ond y mae gair y proffwydi yn aros; nid oedd ond tri yn dystion o hyny, ond y mae gair y proffwydi yn agored i sylw yr oesau; gallesid camgymeryd yr olygfa ar y mynydd, ond nis gellir camgymeryd gair y proffwydi. "Da gan hyny y gwnewch fod yn dal arno megis ar ganwyll yn llewyrchu mewn lle tywyll, hyd oni wawrio y dydd, ac hyd oni chodo y seren ddydd yn eich calonau." Beth yw y profion allanol? "Canwyll mewn lle tywyll." Beth yw y profion mewnol,—y profiad o'u dylanwad? Dydd yn gwawrio, a seren ddydd yn codi yn y galon. Da iawn cael goleu canwyll, ond gellir ei diffodd wedi cael goleu haul. Mae y profion allanol yn werthfawr, ond y mae y profion mewnol yn werthfawrocach. A gallai y Cristion, o'i ran ei hunan, hebgor y profion allanol; oblegid tra y byddo ynddo y profion mewnol, nis gellir ei ysgogi gan unrhyw wrthbrofion allanol. Nid oes un gallu a bair i ddyn gredu yn erbyn ei brofiad. Os

gall gwrthgredwyr ymresymu y Cristion i fudanrwydd, nis gallant siglo ei ffydd. Ofer fyddai i neb haeru nad oes gwres yn y tân—goleu yn yr haul—maeth yn y bara—a rhinwedd yn y dwfr, onid yw ein profiad yn erbyn yr haeriad? Gwyddom fod y tân yn twymno, oblegid i ni deimlo ei wres wrth eistedd wrtho. Gwyddom fod yr haul yn goleuo, oblegid yr ydym yn mwynhau ei belydrau. Gwyddom fod bara yn digoni, oblegid yr ydym wedi ymborthi arno. Gwyddom fod dwfr yn disychedu, oblegid yr ydym wedi yfed o hono. Mae y profiad yn rhoddi sicrwydd mawr. Taered yr anffyddiwr nad oes dim gwres yn Nghalfaria, gwyr y Cristion yn amgen, oblegid gwres croes Calfaria doddodd ei galon. Haered nad oes goleuni yn Haul Cyfiawnder, gwyr y Cristion fod, oblegid y mae ei belydrau wedi adloni ei enaid. Gwaded nad oes rhinwedd yn mara y bywyd, gwyr y Cristion yn amgen, oblegid dyma dorodd ei angen pan ar farw o newyn. Mae y profiad personol yn rhoddi iddo sicrwydd mawr.

Adroddir yn Nghofiant Richard Jones, Llwyngwril, i ryw un o ddrygioni gyhoeddi rywbryd yn ei fywyd ei fod wedi marw. Gofynai cyfaill iddo, "Pa fodd y teimlasoch, Richard Jones, pan glywsoch eich bod wedi marw?" "O, mi wybum mewn munyd, wel'di," ebe yntau, "mai celwydd oedd o." Felly hefyd y Cristion, pe haerai holl anffyddwyr y byd mai twyll yw Cristionogaeth, y mae ganddo brofiad o'i fewn, mai celwydd yw eu holl haeriadau. "Sicrwydd mawr."

Gyfeillion anwyl, mynwch brofiad ynoch eich hunain o wirionedd crefydd. Da iawn genyf weled dynion yn llenwi eu meddyliau â'r profion allanol, er bod yn gryf i wynebu cenllif anffyddiaeth; oblegid y mae awr y brofedigaeth yn dyfod i dreio ein crefydd. Ond gyda llenwi eich penau â'r profion allanol, mynwch y profiad mewnol ynoch eich hunain. Peidiwch ymfoddloni ar gyrhaedd tir cyffredin mewn crefydd. Dringwch i fynu i'r mynyddoedd uchel i fwynhau cymdeithas neillduol â Duw. Dywedai yr hen Abraham o'r Ceunant, "y mynai wybod gan y gwr beth oedd o yn feddwl wneyd o

hono," ac aeth i'r mynydd—bu yno mewn ymdrech a Duw, a daeth i lawr, a dywedai wrth ei frodyr "fod y gwr ei hunan wedi dywedyd wrtho nad oedd o byth yn meddwl ei ddamnio," ac meddai, "Mi fentraf fi angau ar ei air." Tynwch ar Dduw beth mae ef yn feddwl wneyd o honoch, a mynwch sicrwydd ganddo nad ydyw yn meddwl am eich damnio.

Wrandawyr anwyl, Dyma efengyl gyflawn ar eich cyfer, yn gyfaddas i'ch galluoedd meddyliol, yn taro eich holl deimladau moesol, ac yn cyfarfod eich holl anghenion gwreiddiol. Beth yw eich ymddygiadau tuag ati? Dyma brawf-faen eich cymeriad; y peth ydych yn ngwyneb yr efengyl yw eich gwir gymeriad ger bron Duw. Difrifol iawn fydd cosp ei dirmygwyr. Delir "dirmygu cyfraith Moses," a barnu yn aflan waed y cyfamod," yn gyferbyniol; a sicrheir y bydd cospedigaeth y neb a wna yr olaf yn fwy ofnadwy. Gofyniad a chanlyniadau tragywyddol iddo ydyw, "Beth fydd diwedd y rhai nid ydynt yn credu i efengyl Duw?"

---

# PREGETH X.

---

## ADDOLI.

---

EXODUS xx. 24. MATTHEW xviii. 20.

"Yn mhob man lle y rhoddwyf goffadwriaeth o'm henw, y deuaf atat, ac y'th fendithiaf." "Canys lle y mae dau neu dri wedi ymgynull yn fy enw i, yno yr ydwyf yn eu canol hwynt."

---

Mae dyn yn greadur addolgar. Mae hanes holl dylwythau gwâr ac anwâr y ddaear yn dangos hyny. Meddyliodd Robert Moffat y cenhadwr, iddo ganfod llwyth yn Affrica wedi eu darostwng mor ddwfn, nes nad oedd ynddynt unrhyw du-

eddiad o'r fath; ond y mae ymchwyliadau diweddarach yn gwneyd hyny yn bur amheus. Mae tuedd addoli yn holl genedloedd y byd. Mae yn wir fod y duwiau a addolir yn isel a dirmygedig iawn—ac yn profi yn eglur wirionedd yr oracl ddwyfol fod "trueni dyn yn fawr." Pa un ai trwy draddodiad trosglwyddiedig o oes i oes y creuir y duedd yma; ai ynte rhyw weddillion o'r ddelw ddwyfol sydd yn aros ydyw; nid yw pawb yn cyd-olygu. Ond y mae yn wirionedd a gydnabyddir yn gyffredin, fod tuedd addoli yn mhob dyn.

Yr oedd dyn yn addoli yn Eden; beth oedd dull addoliad y creadur sanctaidd nid yw y Beibl wedi amlygu, ond gan mai creadur ydoedd yr oedd ufudd-dod, gwasanaeth, ac addoliad yn ddyledus oddiwrtho i'r Creawdwr. Ond wedi i ddyn bechu sefydlodd yr Arglwydd drefn reolaidd i'w addoli—trefn sefydlog Duw ydoedd ordeiniadau, defodau, ac aberthau yr hen oruchwyliaeth. Wedi i ddyn bechu nid oes addoli ond mewn aberth—trwy waed y durturod, y cywion colomenod, yr ŵyn, yr aneri cochion, a'r bustych y nesâi yr Iuddew at Dduw; a "thrwy werthfawr waed Crist y mae i ni hyfrdra a dyfodfa at y Tad." Gwaed Crist yn gysgodol oedd y dramwyfa gynt: a gwaed Crist yn sylweddol yw y dramwyfa yn awr. Mae *hanfod* addoli yr un peth yn awr a chynt, ond fod defodau Iuddewaeth yn fwy i gyfarfod â'r byd yn ei sefyllfa fabanaidd. "Coffadwriaeth enw Duw" oedd yn gosod pwysigrwydd ar yr addoliad Iuddewig, ac "ymgynull yn enw Crist" ydyw enaid yr addoliad Cristionogol. Nid ein hamcan yn bresenol yn uniongyrchol ydyw egluro natur a threfn addoliad, ond amcanwn argyhoeddi rhai camsyniadau sydd yn ffynu gyda golwg ar bwysigrwydd addoliadol, a dangos Pa beth sydd yn gosod urddas a mawredd ar yr addoliad.

*Cysylltir pwysigrwydd gormodol a lleoedd neillduol.* Yr oedd addoliad dwyfol yn beth lleol dan yr hen oruchwyliaeth. "Jerusalem oedd y man lle yr oedd yn rhaid addoli." Yma y cynalient eu gwyliau arbenig ac y dygent eu "haberthau i'w cyflwyno i Arglwydd yr holl ddaear." Ymneillduodd y

Samariaid a chodasant deml ar fynydd Gerazim; a derbynient yn llawen y gwehilion a ysgymunid yn Jerusalem. A phan y gwnaeth Crist ei ymddangosiad, yr oedd dadl fawr rhyngddynt yn nghylch lle yr addoliad, oblegid nid oedd ganddynt un ddirnadaeth am addoli ond mewn cysylltiad â lle neillduol; a disgwylient yn bryderus am ddyfodiad y Messiah, oblegid un o'r pethau cyntaf y disgwylient iddo ei wneud oedd sefydlu ar y man lle yr oedd yn rhaid addoli. Ond dangosodd Crist nad oedd pwysigrwydd lleol yn "Jerusalem" "na'r mynydd hwn," fod y pwys mewn addoli "mewn ysbryd a gwirionedd." Cysylltir y cyffelyb bwys yn ein dyddiau ninau. Gwneir rhyw ddefodau cysegriadol ar agoriad lleoedd penodol—taenellir halen, a cherddir yn rhwysgfawr gan ryw ddynion o urdd neillduol er sancteiddio y lle at addoli, ac ni feiddia offeiriaid y grefydd wladol dan boen a phenyd bregethu mewn lleoedd anghysegriadol. Ac y mae llawer o le-addoliad yn mysg yr Ymneillduwyr. Teithir llawer o filldiroedd heibio i'r lleoedd mwyaf cyfleus i'r fan y maent hwy wedi arfer. Er fod yr un Duw yn cael ei addoli—yr un Crist ei bregethu—yr un Beibl yn cael ei ddarllen—a'r un grefydd yn cael ei phroffesu, ond y maent wedi cysylltu eu crefydd â'r *fan* fel y maent yn anghartrefol yn mhob man arall. Cyll llawer eu crefydd yn llwyr os symudir hwy o'u *man* gan ragluniaeth. Ac y mae llawer nas gallant gael blas na hyfrydwch ar y gwasanaeth os na chânt y gongl yn yr hon yr arferent eistedd. Gosodir pwys gormodol ar leoedd neillduol. Na chamddealler ni. Ni fynem er dim ddileu yr ystyriaeth o barch i leoedd addoliad. Ni ddylem ruthro i dŷ Dduw fel i dŷ cyffredin, nac ymafael yn llyfr Duw fel pe na byddai ond gair dyn. Dylai gwylder a pharchedig ofn leuwi ein meddyliau wrth ymwneyd â gwasanaeth y cysegr Ond dylai y teimlad defosiynol hwnw gyfodi oddiar barch i'r gwaith ac nid i'r lle. Nid oes mwy o gysegrwydd lleol mewn Eglwys Gadeiriol mwy na hen ysgubor—Capel gwych na thŷ anedd; mae cysgod craig—neu goedwig guddiedig—neu ogof anghysbell, os cyfarfyddir

yno yn enw Duw, "yn dŷ i Dduw ac yn borth i'r nefoedd." Edrycha y duwiol ar bob llanerch lle y cafodd bresenoldeb Duw yn "lle sanctaidd" ac y mae teimladau cysegredig yn llenwi ei enaid wrth ddynesu yno, myn "ddiosg ei esgidiau oddiam ei draed am y sanga ar ddaear sanctaidd." Ond nid oes unrhyw ddefod o eiddo dynion a all gysegru lleoedd. Cysegru lleoedd i addoli yn wir? Oni chysegrodd Crist, "yr Offeiriad mawr," "bugail ac esgob ein heneidiau," yr holl ddaear pan sangodd arni? purodd yr awyrgylch a'i "offrwm o arogl peraidd"—fel y cyrhaedda y mawl a'r gwasanaeth a ddyrchefir o'r galon oddiar bob trodfedd o honi yn uniongyrchol i'r nefoedd. Nid lle neillduol sydd yn gosod pwysigrwydd ar yr addoliad.

*Cysylltir pwysigrwydd gormodol a defodau allanol.* Yr oedd llawer iawn o ffurfiau allanol y'nglŷn a'r hen oruchwyliaeth. "Safent ar fwydydd, a diodydd, ac amryw olchiadau a defodau cnawdol." Gwisgai yr offeiriaid lawer o addurniadau ar eu gwisgoedd—yr ephod, y ddwyfroneg, a'r meitr; hongient glychau a phomgranadau wrth eu gwisgoedd llaesion. Yr oedd eu crefydd yn llawn addurniadau allanol; ac er eu bod oll i derfynu gyda'r oruchwyliaeth hono, eto, y mae eu hurddau, eu henwau, eu gwisgoedd, a'u defodau wedi disgyn i Eglwys Rhufain, ac i Eglwys Loegr, ac mae llawer na feddylient fod addoli lle nad yw y ffurfiau yna. Ac y mae llawer o Ymneillduwyr a fynent fod yn bendefigaidd yn dilyn eu camrau. Adeiladant eu capelau yn arddull Rhufain—prydferthant eu ffenestri â gwydr amryliw—gwisgant eu gweinidogion â gwisgoedd llaesion—a boddiant glustiau merwinllyd â sain yr organ. Ordeiniwyd y ffurf yn unig er mantais a chymhorth i'n daearoldeb ni, ac amcan y ddefod yw gwasanaethu i ysbryd crefydd. Y corff yw y ddefod, yr enaid yw yr ysbryd—y plisgyn yw y ddefod, y cnwyllyn yw yr ysbryd; a phob amser fel y mae ysbryd crefydd yn ymgolli, ceisir gwneyd y diffyg i fyny trwy ychwanegu ffurfiau a defodau. Y grefydd fwyaf ei ffurfiau yw y leiaf ei hysbryd. Nid

y dynion mwyaf eu cyrff yw y cryfaf eu heneidiau bob amser. Mae llawer iawn o'r meddyliau galluocaf wedi bod yn trigo mewn cyrff gwanaidd ac edlychaidd. Beth bynag, lle y mae corff mawr o ffurfiau gan unrhyw grefydd, enaid bychan sydd yno fynychaf. Nid oes eisiau rhwymo perl mewn sidan a phorphor—yn blygiau ar blygiau; oblegid y mae ei ogoniant ynddo ei hun. Mae yr addurniadau yn blygiau lawer, ond y mae yr enaid yn eisiau. Fel y mae crefydd yn colli ysbrydolrwydd mewnol, mae yn lluosogi y defodau allanol. Pan gollwyd y "canu a'r ysbryd," dygwyd yr organ a'r offer cerdd i mewn. Pan ddarfu ysbryd gweddi, argraffwyd llyfrau gweddi cyffredin. Pan ddiffoddodd y tân dwyfol yn y pwlpud,—cyn euwyd tân dieithr, gwisgwyd y pregethwr mewn rhodres ymddangosiadol, gan ymhoni i ryw awdurdod swyddol. Cysyllta llawer holl bwys y gwasanaeth â'r addurniadau yna. Ond nid â defodau rhwysgfawr y mae pwysigrwydd yr addoliad wedi ei gysylltu. Yr oedd Saul brenhin Israel unwaith yn guddiedig yn mhlith y dodrefn; gall y dodrefn fod yn hardd iawn; ond yr oedd y brenhin yn harddach—felly mae crefydd (os ydyw yno) o'r golwg, oblegid fod gormod o ddodrefn y ffurfiau yn ei chuddio, mewn llawer cynulleidfa.

*Cysylltir pwysigrwydd gormodol a'r lluawsfyddo yn bresenol.* Mae llawer yn addoli y dyrfa fawr. Mae gweled y lluaws yn tynu enaid y pregethwr allan. Ychydig o bregethwyr sydd mor gydwybodol yn pregethu i'r ychydig ddelo yn nghyd ar ganol dydd, ac i'r dyrfa fawr. Yn ngwyneb amgylchiad dibwys torir cyhoeddiad mewn lle bychan, ond gwneir pob ymdrech i fyned trwy rwystrau i gyfarfod y gynulleidfa fawr. Profa hyn fod pwys yn cael ei gysylltu â'r nifer fyddo yn bresenol. Yr oedd cyhoeddiad un o'r hen bregethwyr (Edward Goslet os ydym yn cofio yn iawn) i fod mewn man unwaith ar ganol dydd; erbyn dyfod yno nid oedd ond ychydig wragedd wedi dyfod yn nghyd, trodd y pregethwr ben y ceffyl a dywedodd, "Pw, pwy aiff i drafferth i bregethu fan hyn i barsel o hen wragedd" ac ymaith ag ef. Galwodd un o'r hen wrag-

edd arno a dywedodd, "Holo Syr dewch chwi yn ol, fu trech gwr na chwi yn pregethu cyn hyn i un wraig ar lan ffynon." "Gwir a ddywedaist," meddai, ac yn ol ag ef wedi cael cerydd llym, ac a bregethodd iddynt gyda blas. Mae cael lluaws yn nghyd yn hyfrydwch mawr, ond nid â'r lluaws y mae Duw wedi cysylltu ei bresenoldeb ond ag "ymgynull yn ei enw ef," pe na byddent ond "dau neu dri;" ac y mae genym engreifftiau lluosog fod Duw yn bendithio ei bobl pan na byddont ond ychydig. Digwyddodd fod gwr dieithir enwog wedi dyfod heibio Pont-y-pool un Sabboth, a gadawyd yr hen broffwyd Edmund Jones heb ond yr hen wraig ac yntau. Pan ddaeth amser y gwasanaeth gofynai, "Beth a wnawn?" "Y mae llwybr dyledswydd yn glir," ebe y wraig; aeth Mr. Jones trwy wasanaeth y darllen, y canu, y gweddio, a'r pregethu fel pe buasai yno dŷ llawn, a dywedai fod yr oedfa hono yn un o'r rhai hwylusaf gafodd erioed, a'i reswm ef am hyny ydoedd, ei fod yn siwr fod pawb oedd yn ei wrando yn gweddio drosto—"lle y mae dau neu dri wedi ymgynull yn fy enw, yno yr ydwyf yn y canol." Adroddir i ni fod Doctor Layman Beecher, tad y foneddiges ragorol Mrs. Stowe, awdures "*Uncle Tom*," wedi penderfynu newid Sabboth â gweinidog Presbyteraidd arall Erbyn i'r Sabboth ddyfod yr oedd y rhew wedi cloi, a'r eira wedi cuddio y ddaear, fel na feddyliasai llawer un am fyned o'i dŷ, ond nid dyn i'w rwystro at ei gyhoeddiad gan rew ac eira oedd Dr. Beecher. Erbyn cyrhaedd y lle nid oedd yno neb wedi dyfod, gosododd ei anifail yn yr ystabl ac aeth i'r Eglwys—hir ddisgwyliai am i ryw un ddod i mewn, ond yn ofer; o'r diwedd, daeth un dyn i mewn; ac eisteddodd yn agos i'r drws. Aeth y Doctor i'r pwlpud, dechreuodd y gwasanaeth ac aeth trwy yr holl ranau fel pe buasai y lle yn llawn. Wedi dybenu prysurai i lawr i ymddiddan â'i gynulleidfa; ond erbyn ei fod i lawr yr oedd wedi myned. Yr oedd yr amgylchiad mor hynod cofiai ac adroddai ef yn fynych. Yn mhen ugain mlynedd wedi hyny yr oedd y Doctor yn teithio trwy Ohio, erbyn ei fod yn disgyn o'r cer-

byd wrth un gwesty, wele ŵr dieithr iddo yn ei gyfarch yn serchog. "Nid wyf yn eich cofio," ebe y Doctor, "efallai hyny," ebe y gwr dieithr, "ond treuliasom ddwy awr yn ddedwydd unwaith gyda'n gilydd." "O, felly," ebe y Doctor, "nid wyf yn cofio." "A ydych yn cofio eich bod yn pregethu yn y fan a'r fan ar un boreu Sabboth rhewog i un dyn?" "Ydwyf, ac yr oedd mor hynod, cofiaf tra fyddwyf byw," ebe y Doctor. "Myfi oedd y dyn hwnw—yr oeddwn wrth fy ngalwad yn gorfod aros dros y Sabboth yn y pentref, aethum allan o'r gwesty i roddi tro, gwelais ddrws yr Eglwys yn agored, a throais i mewn—glynodd eich pregeth yn fy nghalon—ymroddais yn ddioed i grefydd—cyflwynais fy efrydiau at y weinidogaeth—yr wyf yn awr yn weinidog yn y pentref acw." Dydd y farn yn unig a fedr ddadblygu holl ganlyniadau y ffaith yna. "Gydag ychydig bersonau mewn conglau annghyhoedd y mae yr Arglwydd wedi rhoddi ei bresenoldeb yn amlycach lawer gwaith nag yn y gynulleidfa luosog." Mae y cyfarfod gweddi, mewn tŷ anedd, ar ochr y mynydd, ar noswaith dywyll, lle nad oes ond ychydig wedi cyfarfod, yn addoliad mor bwysig a'r oedfa ddeg o'r gloch ar gae y Gymanfa. Nid yw pwysigrwydd yr addoliad yn gysylltiedig â'r lluaws fyddo yn bresenol.

*Cysylltir pwysigrwydd gormodol ac enwogrwydd dynol.* Mae clywed y dyn yn ysgogi llawer i foddion gras—ac edrychant ar gynulliadau yn bwysig ar gyfrif dawn, hyawdledd, a medrusrwydd y pregethwr. Esgeulusir y cyfarfod gweddi, neu y cynghorwr annghyhoedd, ond ymdyrant i wrando y dyn mawr. Nid oes dim allan o le mewn "deisyfu y doniau goreu," ond nid doniau y dyn mawr sydd yn gosod pwysigrwydd ar yr addoliad, ond cyhoeddiad "enw Duw." Mae siarad am y dyn yn peri anghofio Duw. Cuddir y gweithredydd Dwyfol yn nghysgod yr offerynoliaeth ddynol. Mae yr Arglwydd wedi bendithio cynghorion trwsgl ac anfedrus hen bregethwyr anllythyrenog Cymru, i fod yn fendith i eneidiau. Hwyrach y dengys dydd y farn fod llawer hen bregethwr annghyhoedd

ac anenwog, wedi bod yn offerynol i droi mwy o eneidiau at Dduw na'r areithiwr hyawdl—yr ymresymydd cywrain—a'r pregethwr poblogaidd. Mae y bobl yn ymadael o'r oedfa gan ryfeddu a chanmawl tlysni iaith—trefn cyfansoddiad—eglurdeb syniadau—grym ymresymiad, a hyawdledd traddodiad y pregethwr mawr, heb neb yn aros ar ei fater ei hun. Gofynai y gwr enwog hwnw, John Elias, i Siencyn Penhydd, yn un o'i ymweliadau cyntaf a'r Dehau, "Pa fath agwedd sydd ar grefydd yn Morganwg yrwan Jenkin Thomas?" "Ni bu erioed yn îs," ebe Siencyn. "Pa fodd hyny?" ebe Mr. Elias. "Mae pawb yn siarad am, ac yn disgwyl wrth John Elias, a does dim son am Dduw." Peidiwch siarad mwy am y gweision nag am y Meistr, am y dyn nag am ei Dduw. Mae y dyn i fyned o'r golwg, a Duw i ddyfod i'r golwg. Tewch am y dyn a disgwyliwch am Dduw. Cysylltir pwys mawr â dynion. "A gredodd neb o'r penaethiaid?" oedd ymofyniad pryderus rhyw rhai gynt, ac y mae llawer o sylw gan ryw rai ar gael cynulleidfa anrhydeddus. Dirmygant yr Ymneillduwyr tlodion ac ymwasgant fel y tybiant â thylwyth mwy urddasol y grefydd sefydledig. Mae crefydd wedi bod yn m'ob oes yn mysg y tlodion, y werin, y bobl gyffredin. "A'r tlodion yn cael pregethu yr efengyl iddynt," felly yr oedd yn nyddiau Crist, ac felly y mae hyd ein dyddiau ninau. "Nid llawer o rai cyfoethogion, nid llawer o rai galluog, nid llawer o rai boneddigion a alwyd." Ond pe byddai pawb o honynt gyda hi, ni ychwanegai hyny ddim at ogoniant yr addoliad. Nid yw cynulleidfa gyfoethog yn gosod un anrhydedd ar grefydd,—na chynulleidfa dlawd yn un dianrhydedd iddi. Nid yw pregethwr mawr yn gwneyd yr efengyl yn ddim gwell, na phregethwr bach yn gwneyd yr efengyl yn ddim gwaeth. Yr oedd mor ogoneddus yn ngweinidogaeth Matthew y publican, a phe buasai Herod frenhin yn ei phregethu. Yr oedd mor ddylanwadol o enau pysgodwyr môr Galilea, a phe buasai Pilat y rhaglaw yn ei chyhoeddi; ac yr oedd yn fwy arddeliadol yn ngweinidogaeth hen bregethwyr anllythyrenog Cym-

ru, nag yn eiddo yr esgobion a'r offeiriaid dysgedig goethwyd yn *Cambridge* ac *Oxford*. Euw Duw a'i bresenoldeb ef yn unig sydd yn gosod urddas ar ein haddoliadau; a'r addewid werthfawr hono ydyw cysur yr eglwys, "Wele yr wyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd." Diffodded y mân ganwyllau; chwythed awelon angau ein lampau; llosged y *torches* mawrion allan; ymgilied y ser dan gwmwl; gall yr eglwys oddef eu colli oll tra yr erys yr addewid—"Wele! yr wyf fi gyda chwi." Hyn, a hyn yn unig a esyd fawredd ar ein haddoliadau. "O! haul, aros!"

Mae yr olwg a rydd y testyn ar addoli yn dangos—

*Mai symledd ydyw nodwedd gweledig addoliad.* "Mewn symlrwydd calon yn ofni." Nid oes dim yn fwy anghydweddol ag addoliad Duw na defodau rhwysgfawr; ffurfiau rhodresgar; a seremoniau gweigion. "Calon ddrylliog, ac ysbryd cystuddiedig;" "rhwygo y galon" sydd yn gweddu i waith Duw. "Ysbryd yw Duw; a rhaid i'r rhai a'i haddolant ef, addoli mewn ysbryd a gwirionedd."

*Mai wrth Dduw y dylai fod ein prif ddisgwyliad yn ein haddoliadau.* Mae ei gyhoeddiad ef yn mhob cyfarfod, ac y mae yn sicr o ddyfod ato. Yr oedd Job yn cwyno, "O na wyddwn pa le y cawn ni ef." Yr oedd enaid Dafydd yn hiraethu am dano "fel y brefa yr hydd am yr afonydd dyfroedd." Yr oedd y Groegiaid a ddaeth i Jerusalem yn "ewyllysio gweled yr Iesu." Deallodd yr angel yn ngwyneb y gwragedd wrth y bedd, beth oedd eu neges; "mi a wn mai ceisio yr ydych yr Iesu." Nid rhyfedd ein bod yn myned o'r oedfaon heb weled Duw, gan ein bod yn dyfod iddynt heb ymofyn am Dduw. Cyffroer ynom awydd am Dduw.

*Fod cael y peth hanfodol i addoliad yn bosibl yn mhob cyfarfod.* Pe dywedasai, "yn mhob man lle y byddo capel gorwych; cynulleidfa fawr; eglwys gyfoethog pregethwr enwog; ac addurniadau costfawr, yno yr ydwyf;" buasai yn gymylog iawn ar y rhan fwyaf o gynulleidfaoedd tlodion Cymru. Ond nid ag un o honynt y mae wedi cysylltu ei bresenoldeb, ond

ar ffaith syml eu bod yn ymgynull yn ei enw. Y nifer leiaf, yn yr ystafell dlotaf, os ydynt yn wirioneddol yn cyfarfod yn enw Crist i ddisgwyl wrtho ; "yno yr ydwyf yn eu canol hwynt."

*Fod perygl fod llawer iawn o auaddoli, a gauaddolwyr yn ein cyfarfodydd.* Ni raid myned i'r byd paganaidd i weled eilunaddolwyr ; mae lluaws o honynt yn ein gwlad, ac o bosibl yn ein heglwysi, yn addoli lleoedd, y lluaws, y dynion, a'r doniau. Gwaharddai Duw yn ddiystyrllyd i'r genedl Iuddewig bentyru y fath wasanaeth iddo ; "Na chwanegwch ddwyn offrwm ofer ;" a gall fod ein cyflawniadau ninau yr un mor annerbyniol ganddo, fel y mae yn gofyn i ni, "Pwy a geisiodd hyn oddiar eich llaw ?" Os â ein cyflawniadau crefyddol yn ffiaidd yngolwg Duw, buan iawn y bydd ein gogoniant wedi ymadael. Llanwer ni ag ysbryd addoli, a bydd yr Ysbryd yn sicr o'n gweithio i ffurf briodol.

# PREGETH XI.

## MADDEUGARWCH CRIST.

Luc xxiii. 34.

"O dad! maddeu iddynt; canys ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur."

Mae dynion yn gyffredin yn talu sylw mawr i oriau olaf a geiriau diweddaf eu cyfeillion ymadawedig. Mae llawer o ddywediadau nad ystyrid fod unrhyw hynodrwydd ynddynt dan amgylchiadau arferol, ond oblegid iddynt ddiferu dros wefusau ein cyfeillion yn eu horiau olaf, y mae rhyw gysegrol-

deb ynddynt i'n teimladau. Mae y lle a'r amgylchiadau dan ba rai y llefarwyd hwynt yn rhoddi dyddordeb ychwanegol ynddynt. Mae y bennod hon yn cynwys hanes Iesu Grist yn ei oriau olaf; ac y mae y testyn yn un o'i eiriau diweddaf. Dywedodd y Gwaredwr saith o ymadroddion dwys wedi ei hoelio ar y groes, cyn trengu. Yn 1af, Gweddiodd dros ei elynion. Yn 2il, Atebodd weddi y lleidr edifeiriol. Yn 3ydd, Cyflwynodd ei fam i ofal y dysgybl yr hwn a garai. Yn 4ydd, Dolefodd mewn ingoedd angenol, "Fy Nuw! Fy Nuw! paham y'm gadewaist?" Yn 5ed, Cwynodd yn ei loesion angerddol, "Y mae syched arnaf!—Cyfyng, onide, na chawsai ddiferyn o'i foroedd ei hun? Yn 6ed, Dywedodd y gair byth gofiadwy, "Gorphenwyd!" Ac yn olaf, Cyflwynodd ei ysbryd i ofal ei Dad Geiriau hynod—gan berson hynod—mewn lle hynod—dan amgylchiadau hynod—ac i ddybenion hynod. Y cyntaf o'r geiriau yna ydyw y testyn, ac y maent yn ddangoseg o ysbryd hynaws a maddeugar Mab Duw:—"O Dad, maddeu iddynt!"

Mewn trefn i gael golwg ar faddeugarwch Crist, rhaid edrych, yn

I. Ar ymddygiad ysgeler ei elynion tuag ato. Yn ngolwg eu hymddygiadau creulawn hwy, y gwelir ei hynawsedd a'i faddeugarwch ef. Mae yn eu hymddygiad dri pheth.

1. *Y ffaith ynddi ei hun—yr oeddynt yn ei wrthod;* ni fynent fod dim a wnelent âg ef; mae hyny yn wrthun iawn pan ystyriom pwy ydoedd, a pha beth oedd ei neges.

*Pwy ydoedd?* Unig-anedig Duw—Cyntaf-anedig ei Dad—y Messiah addawedig i'w tadau—y Messiah disgwyliedig ganddynt hwythau. Yr oedd yn dwyn profion o'i ddwyfoldeb gydag ef; yr oedd delw Duw arno, a phob peth a wnai yn dangos ei fod yn fwy na dyn. Ei eiriau a ostegent dônau terfysglyd y môr—codiad ei law a lonyddai y gwynt ystormus—cyffyrddiad âg ymyl ei wisg a roddai iechyd i'r claf—ei ymddangosiad a barai i gythreuliaid ollwng eu gafael o bersonau

—ei lais awdurdodol a gyrhaeddai yn ol i dragywyddoldeb i ddatod cadwynau y byd anweledig, a dwyn eneidiau yn ol i adfeddianu eu cyrff. Gallesid ysgrifenu ar ei holl weithredoedd—"Oni bai fod hwn o Dduw, ni allasai efe wneuthur hyn."

*Beth oedd ei neges?* Da oedd iddo ddyweyd hyny ar ei ymddangosiad, onide yr oedd ei weithredoedd nerthol yn ddigon i beri ei arswyd; ond hysbysodd yn eglur a phrydlon,—"Mab y dyn a ddaeth i geisio ac i gadw yr hyn a gollasid." Cadw y colledig oedd ei neges. Gwnaeth lawer cymwynas ar y ffordd i gyrff ac amgylchiadau dynion, ond ei amcan mawr oedd dyfod i Galfaria i farw er cadw y colledig. O'r braidd y gwyddai y dysgyblion hyny, o ba herwydd yr oeddynt yn rhy barod yn fynych i ddefnyddio arfau dinystr. Wedi methu cael y croesaw a ddisgwylient mewn rhyw ddinas, mynent gael cenad i alw am dân i lawr o'r nefoedd i'w difa; ond ceryddodd yr Athraw eu hysbryd dialgar, a sicrhaodd "na ddaeth Mab y dyn i ddistrywio eneidiau dynion, ond i'w cadw." Yr oedd digon o allu ganddo i droi y byd am ben ei elynion, ond yr oedd gormod o gariad yn ei fynwes i wneyd hyny—"Oblegid ni ddanfonodd Duw ei Fab i'r byd i ddamnio y byd, ond fel yr achubid y byd trwyddo ef." Ac am iddo ddyweyd pwy ydoedd, a pha beth oedd ei neges, y rhoddasant ef i farwolaeth. Ac onid oedd gwrthod y fath *un*, ddaeth ar y fath *neges*, yn ysgeler?

2. *Yr amgylchiadau dan ba rai yr oeddynt yn ei wrthod.* Yr oeddynt yn gwneyd hyny—

*Yn ymyl y profion egluraf o'i ddieuogrwydd.* Safodd ei brawf yn mhob llys, a daeth allan yn y diwedd yn wr cyfiawn. Gwelwch ef yn ei brawf—Wedi ei ddal gan dyrfa y gwaywffyn, yn cael eu harwain gan y bradwr, dygasant ef at Annas yr archoffeiriad. Methodd Annas a chael dim yn ei erbyn, danfonodd ef yn rhwym at Caiaphas. Aeth oddiwrth Caiaphas yn ddieuog at y Sanhedrim, y deg a thriugain. Nis gallodd y Cynghor gytuno ar ei fater, yr oedd yno ddau o

leiaf yn anghytuno, sef Joseph a Nicodemus. Anfonwyd ef oddiwrth y Cynghor ger bron Pilat, Rhaglaw ar Judea dan Ceasar, Ymerawdwr Rhufain. Gall ddarfod iddynt ei anfon at Pilat am y gwyddent nad cyfreithlawn oedd iddynt ei osod i farwolaeth eu hunain; a gwyddent, os condemniai Pilat ef, y croeshoelid ef, felly boddheid eu llidiawgrwydd yn ei roddiad i farwolaeth trwy yr angau mwyaf poenus; a dichon fod ofn y bobl arnynt, ond nid oedd un perygl oddiwrth gynhyrfiadau aflonydd y werin, os rhoddai yr awdurdod Rhufeinig ef i farwolaeth. Ond yn fwy na'r cwbl, "fel y cyflawnid gair yr Iesu, yr hwn a ddywedasai, gan arwyddo trwy ba angau y byddai efe farw." Methodd Pilat a chael un bai ynddo, "tystiodd broffes dda ger ei fron," ac yn awyddus am gael gwared o hono, wedi deall mai Galilead oedd efe, gyrodd ef at Herod. Holodd Herod ef yn fanwl, ond dim yn haeddu angau neu rwymau ni chafodd ynddo; anfonodd ef yn ol at Pilat; safodd ail brawf yno, ond yr oedd mor rhydd a'r tro cyntaf. Gyrodd Pilat ef at y milwyr i'w fflangellu, gan ddisgwyl y buasai hyny yn dofi eu cynddaredd, oblegid yr oedd dull creulawn gan y Rhufeiniaid o fflangellu drwg-weithredwyr. Diosgid y corff yn noeth hyd ei ganol, yna rhwymid y dwylaw wrth ffoncyff o bren isel, fel y byddai y dyoddefydd mewn agwedd gyfleus i dderbyn y fflangell. Yna curid ef gan ddau â gwiail o ddrain, wedi hyny *gan ddau eraill â fflangell* o fân reffynau wedi eu *cylymu; ac yn ddiweddaf, gan ddau eraill â* gwiail meinion o bres neu haiarn, y rhai a godent y cnawd oddiar yr esgyrn; mewn cyfeiriad at hyn y dywedir, "Yr arddwyr a arddasant ar fy nghefn, estynasant eu cwysi yn hirion." Ond nid oedd dim yn tycio—nid oedd dim tawelu ar y gwaedgwn sychedig, heb ei groesholio. A phan ddaeth ger bron Pilat y drydedd waith, "Pilat a farnodd wneuthur eu deisyfiad hwynt," "eu llefau hwy a'r archoffeiriaid a orfuant." Yr oedd yn gwbl argyhoeddedig o ddieuogrwydd yr Iesu, ond er mwyn boddio y bobl, *condemniodd y cyfiawn.* Gadawodd i "gyfiawnder syrthio yn yr heol," er mwyn cadw ei boblog-

rwydd gyda'r werin. Ac i geisio tawelu ei gydwybod, galwodd am ddwfr, a golchodd ei ddwylaw yn ngwydd y bobl oll. Cyfeiriad sydd yna at yr arferiad o adael canlyniadau y ddedfryd gan y barnwyr i'r rheithwyr. "Dieuog ydwyf fi oddi wrth waed y cyfiawn hwn; edrychwch chwi." Ah! Pilat, Pilat, nid â dwfr mewn *basin* y mae golchi ymaith euogrwydd cydwybod. Nid oes dim ond gwaed y *Cyfiawn* a gondemniaist ti a gyfyd staeniau euogrwydd y weithred yna oddiar dy gydwybod. Ond yn nghanol yr holl brofion yna o'i ddiniweidrwydd, crochlefai y miloedd yn wallgofus, "Ymaith ag ef! croeshoelier ef?" a "Bydded ei waed ef arnom ni, ac ar ein plant." Yr oeddynt yn ei wrthod hefyd—

*Yn ngwyneb adnabyddiaeth o'i weithredoedd.* Yr oedd gweithredoedd rhyfeddol Mab Duw yn adnabyddus iddynt, oblegid "nid mewn congl y gwnaed hwynt." Yr oedd hynodion ei fywyd—rhyfeddolrwydd ei weithredoedd—mawredd ei wyrthiau, a phoblogrwydd ei bregethau y fath fel "na allai efe fod yn guddiedig." Yr oedd yn gwneyd y pethau hynotaf a hyny yn lle amlaf y bobloedd. Gyrwyd y llys i benbleth pan ofynodd Pilat yn ngwydd ei gyhuddwyr, "Ond pa ddrwg a wnaeth efe?" Nid oedd llais i'w glywed, na neb yn ateb. Ond pe gofynasai, "Ond pa dda a wnaeth efe?" cawsid llonaid y llys o dystion. Buasai Bartimeus yn rhedeg i mewn, a'i lygaid dysglaer yn llawn sirioldeb, gan waeddi, *Rhoddodd lygaid i mi;* buasai Jairus yn gwaeddi, *Adgyfododd fy merch inau;* buasai y gwahanglwyfus yn ddyn iach yn cyhoeddi, *Iachaodd finau—mae fy nghnawd fel cnwd dyn bach;* buasai y wraig o Ganaan yn llefain yn uwch na'r cwbl, *Gwellhaodd fy merch i "oedd yn ddrwg ei hwyl gan gythraul."* Yr oedd cymwynasau yn diferu oddiwrtho i dlodion, a chloffion, a chleifion, a gwywedigion, a marwolion; a chofgolofnau ei gymwynasgarwch yn llenwi Palestina; eto, er fod ei weithredoedd rhyfeddol yn adnabyddus iddynt, mynent ei osod i farwolaeth. Ac onid oedd ei wrthod dan y fath amgylchiadau yn ysgeler?

3. *Y dull yr ymddygent tuag ato.* Nid yn unig yr oeddynt yn ymwrthod ag ef fel dysgawdwr—yn amheu gwirionedd ei weithredoedd—ac yn camesbonio ei wyrthiau; ond yr oedd eu cynddaredd tuag ato y fath fel y penderfynent ei ladd, a'i ladd yn y dull mwyaf poenus, nychlyd, a gwaradwyddus— ei groeshoelio. Yr oedd y croeshoeliad yn dirdynu y dyoddefydd. Gosodid y groes yn ei gorwedd ar y ddaear, a rhoddid y dyoddefydd yn noeth i orwedd arni; yna y milwyr wrth y dwylaw a'r traed a dynent yn egniol, fel pa fwyaf dynid, poenusaf oll fyddai y cyfansoddiad. Gosodid hoel trwy bob llaw i'r pren croês; ac wedi rhoddi y naill droed ar y llall, gyrid hoel fawr trwy y ddwy i'r pren. Yna, cyfodent y groes i fynu, a gollyngent ei phen isaf i *fortais* ddarparedig iddi yn y ddaear, a gwneid hyny gyda'r fath ffyrnigrwydd a dideimladrwydd, nes creu loesion angerddol trwy holl gyfansoddiad y dyoddefydd. Dyma y fwyaf ofnadwy o'r holl gospedigaethau o ran poenau a dyoddefiadau. Gadawid y rhai croeshoeliedig i farw yn araf trwy y poenau mwyaf dirdynol, yno yn agored i gael eu hysglyfaethu gan adar, y rhai a ddechrenent eu bwyta cyn iddynt gwbl drengu

Dywedir mai Cystenyn Fawr, pan ddaeth yn Ymerawdwr Rhufain, a ddiddymodd yr arferiad o groeshoelio, a hyny, meddant, o barch i'r Arglwydd Iesu Grist. Os felly, gwnaeth y groesbren am dani ei hun wrth ymladd brwydr â Mab Duw. Buddugoliaethwr digyffelyb oedd yr Arglwydd Iesu Grist. Yr oedd yn gorchfygu pawb a phob peth a ddeuai i'w erbyn. Ymarfogodd y diafol a'i fyddinoedd i'w erbyn, ond efe a "yspeiliodd y tywysogaethau a'r awdurdodau, gan ymorfoleddu arnynt arni hi." Aeth angau i frwydr âg ef, ond angau a gafodd y gwaethaf; aeth "yn angau i angau," "diddymodd angau," ac yn y man "Efe a lwnc angau mewn buddugoliaeth." Aeth y bedd i dreio nerth â'n Crist ni, ond bu yn dranc i'r bedd," ac y mae y dydd i dd'od y cesglir ysglyfaeth y fuddugoliaeth. Felly hefyd aeth y groes i ymladd â Thywysog y bywyd, ond wrth farw arni gwnaeth ben am dani. Bu "yn

ufudd hyd angau, ïe angau y groes." Ac, onid oedd ymddwyn tuag at y fath berson urddasol—ddaeth ar y fath neges haelfrydig—dan amgylchiadau mor anesgusodol—ac mewn dull mor greulawn a barbaraidd, yn ymddygiad o'r fath fwyaf ysgeler? O! eithafion caledwch calon dyn!

II. YSBRYD HYNAWS A MADDEUGAR MAB DUW TUAG AT EI ELYNION:—O Dad! maddeu iddynt." Ymddengys ei faddeugarwch os ystyriwn—

1. *Ei fod yn gweddio dros ei elynion.* Mae yn ras mawr i *oddef* gau elyn. Mae rhyw wroldeb rhyfeddol mewn goddef cam. "Gwyn ei fyd y gwr sydd yn *goddef* profedigaeth." "Wele dedwydd yr ydym yn gadael y rhai sydd *ddyoddefus.*" Oes o oddef oedd oes Crist. Yn ngwyneb y cyhuddiadau a ddygid i'w erbyn—"Yr Iesu a dawodd."—"Nid atebodd efe ddim." Nid oedd cenllif ymosodiadau ei elynion yn effeithio dim arno. Fel y graig yn nghanol yr afon, yn sefyll yn ddiysgog er grym y llifeiriant. Mae yr hen wreiddyn pydredig ar lan yr afon yn myned gyda'r llif, a'r helygen yn plygu gan rym y dwfr, ond y mae y graig yn sefyll yn ddisigl, nes y mae yr afon o'r diwedd yn rhoddi tro o'i chylch, fel wedi cywilyddio am ddarfod iddi ymosod ar ei threch. Fel yna yr oedd goddefgarwch Crist yn nghanol cenllif ymosodiad ei elynion. "Goddef hyd yn hyn," meddai wrth ei ddysgyblion oedd yn barod i daro; ac nid yn barod yn unig, ond dacw Pedr danllyd a'i gleddyf allan. "Dod dy gleddyf yn dy wain," meddai Iesu Grist, gydag edrychiad perffaith hunan-feddianol, nes y mae ei elynion o'r diwedd mewn cywilydd yn gorfod dyweyd, "Yn wir, Mab Duw oedd y dyn hwn. "Ystyriwch yr hwn a ddyoddefodd gyfryw ddywedyd yn ei erbyn gan bechaduriaid."

Y mae mwy mewn *maddeu* i elyn—peidio sydd mewn *goddef*, y mae gwneyd mewn *maddeu.* Goddefol yw y naill, gweithredol yw y llall. Y mae cryn anhawsder i faddeu o'r galon. Ceir llawer i ddyweyd, "Rwy'n pasio heibio;" ond yn mhen blynyddoedd lawer yn adgofio. Yr oedd yr hen dân yno, a phan ddaeth rhyw awel heibio, ailgyneuodd. Ysgrifenodd

Paul lythyr at Philemon i geisio ganddo faddeu i'w was Onesimus; ac y mae yn defnyddio llawer iawn o resymau i'w gymhell i hyny; a rhaid fod Paul yn golygu fod maddeu o'r galon yn anhawdd, onide ni buasai yn defnyddio cynifer o resymau i gymhell Cristion i faddeu i'w frawd. Ond yr oedd Iesu Grist yn maddeu o'i galon i'w elynion. Nid yn unig yr oedd y gair ar ei wefus, ond yr oedd y teimlad yn ei fynwes

Ond y mae yma fwy na'r cwbl—efe a *weddiodd* dros ei elynion. Gall llawer oddef gan elyn, na all faddeu i elyn; a dichon y gellir maddeu i elyn heb weddio dros elyn; ond gwnaeth Crist y cwbl. Yr oedd wedi bod yn dysgu yr egwyddorion yma yn ei fywyd—wadodd ef mo honynt yn ei angau; ond gweithredodd arnynt wrth farw. Wrth ddysgu ei ddysgyblion i weddio dywed, "A maddeu i ni ein dyledion fel y maddeuwn ninau i'n dyledwyr." Nid fel y gallom ni faddeu, ond fel yr ydym ni yn maddeu. Yn ol y Saesneg, "*As we forgive*" Rhaid i ni fod mewn teimlad maddeugar ein hunain cyn y gallwn ddisgwyl cael maddeuant. "Cerwch eich gelynion, bendithiwch y rhai a'ch melldithiant, gwnewch dda i'r rhai a'ch casânt, a *gweddiwch* dros y rhai a wnel niwed i chwi ac a'ch erlidiant." Dyna bedair gwers galed mae yn wir, ond gwersi y rhaid eu dysgu ydynt cyn y byddwn yn "blant i'n Tad yr hwn sydd yn y nefoedd." Gweithiodd Crist hwy allan yn ymarferol, gweddiodd dros ei elynion. O! ysbryd hynaws. O! galon lariaidd ein Ceidwad ni.

2. *Yr amgylchiadau cyfyng yr oedd ynddynt.* Y mae amgylchiadau yn lleihau neu yn mwyhau yr anhawsderau yn ffordd cyflawniad yr un ddyledswydd. Yr oedd yr amgylchiadau yr oedd Mab Duw ynddynt y mwyaf anfanteisiol iddo i faddeu iddynt.

*Yr oedd ei natur yn ei gwendid.* Y mae cysylltiad agos iawn rhwng y corff a'r meddwl, fel y mae dylanwad mawr gan ddyoddefiadau y naill ar y llall. Mae gofid meddwl yn curio y corff, a dyoddefiadau y corff yn tristâu y meddwl; a hapus mewn cystudd yw y dyn y mae ei ysbryd yn gryf i gyn-

al ei glefyd. Yr oedd Crist yn awr yn ei wendid mwyaf—ei natur yn ymollwng dan bwys ei ddyoddefiadau, eto pan y mae natur yn ei man isaf, y mae ei faddeugarwch yn ei fan uchaf; pan yr oedd y corff yn wan yr oedd yr ysbryd yn barod; ac yr oedd yr anhawsder yn fwy i faddeu dan yr amgylchiadau hyny.

*Yr oedd yn cael casineb yn ei gyfyngder.* Yn ein byd ni amgylchiadau sydd yn rhoddi gwerth ar bethau. Dyfodiad y diluw osododd werth ar arch Noah. Nid oedd yn werth dim yn ngolwg y bobl o'r blaen; gwawdid Noah am fyned i'r drafferth i'w hadeiladu; ond pan y mae y nefoedd yn duo gan gymylau—ffenestri y nefoedd yn ymagor—ffynonau y dyfnder yn ymrwygo—a'r diluw dig yn boddi byd yr anwir ddynion, y mae yr arch yn werth bywyd. Newyn sydd yn gosod gwerth ar fara; syched sydd yn codi pris y dwfr; cyfyngder sydd yn gosod gwerth ar gymwynas. Teimlwn yn fwy diolchgar am gymwynas fechan mewn cyfyngder, nag am anrheg fawr mewn llwyddiant. Yr un modd, o'r ochr arall, y mae cael anngharedigrwydd mewn adeg o gyfyngder yn fwy annyoddefol ac anfaddeuol genym. Y mae pawb yn teimlo fod yn lled anhawdd maddeu i'r rhai fu yn gas wrthym pan oedd hi yn gyfyng arnom. Ond yr oedd yr holl anhawsderau yna ar ffordd Crist i faddeu i'w elynion. Yr oedd yn y cyfyngder mwyaf—Judas wedi ei fradychu—Pedr wedi ei wadu—y disgyblion agos oll wedi cefnu—lluoedd uffern i'w erbyn yn ymarfogi—ei Dad wedi cuddio ei wyneb oddiwrtho—cleddyf cyfiawnder yn deffro i'w daro, ac yn llawn awch i redeg i'w galon—costrelau digofaint dwyfol yn cael eu tywallt heb arbed arno,—awr gyfyngaf oes y Ceidwad oedd awr dywyll pen Calfaria; eto, yn yr amgylchiad cyfyng yma, dyma weddi dros ei elynion creulawn yn codi o'i galon faddeugar,—"O Dad! maddeu iddynt." O! fynwes faddeugar ein Crist ni.

3. *Yr eglurhad tyner a roddodd ar eu hymddygiad:*—"canys ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur." Nid yw yn hollol sicr at bwy y cyfeiria. Os at y milwyr Rhufein

ig, yr oeddynt hwy yn hollol anwybodus o'i bregethau a'i wyrthiau, eu hunig amcan hwy oedd ufuddhau i'r awdurdodau. Os at yr Iuddewon y cyfeiria, fel y mae yn *fwyaf tebygol*, gwyddent hwy ei fod yn gwbl rydd o'r cyhuddiadau a ddygid i'w erbyn ; a dylasent wybod mai efe oedd y Messiah, oblegid yr oedd ei holl weithredoedd yn gyfryw na allasai neb eu cyflawni "oni bai fod Duw gydag ef." Ond nid oeddynt wedi *credu* mai efe oedd y Messiah, er fod ganddynt brofion digonol i'w gwneyd yn ddiesgus, oblegid "pe's adwaenasent, ni chroeshoeliasent Arglwydd y gogoniant." Ond er mai yn eu hanwybodaeth y gwnaethant, anwybodaeth holloll anesgusodol ydoedd, oblegid fod ganddynt fanteision digonol i wybod. Nid yw anwybodaeth, os bydd yn wirfoddol, yn rhyddhau y troseddwr, ond y mae yn graddoli drygedd y troseddwr, ond y mae yn graddoli drygedd y trosedd. Yr oedd Paul yn ddiarwybod yn erlid trwy annghrediniaeth ; ond fe faddeuodd Duw iddo ; ac fe esgeulusodd, neu fe edrychodd dros anwybodaeth y Cenhedloedd. Felly y mae Crist yma yn dadleu eu hanwybodaeth, er ei fod yn wirfoddol, am faddeuant iddynt. Yr oedd Iesu Grist yn edrych yr ochr orau i bob peth. Bechadur! ti gei gymaint o dynerwch gan Dduw ag a all trugaredd ar ei heithaf roddi, heb sathru egwyddorion uniawn y llywodraeth. Yn y llys gwladol y mae y dadleuwyr o bob tu, a'r barnwr wrth anerch y rheithwyr, am iddynt roddi *benefit y doubt* i'r cyhuddedig. Os oes rhyw amheuaeth ar yr achos, y carcharor sydd i gael y fantais. Yr oedd Iesu Grist am roddi cymaint a hyny o fantais i'w elynion. Gallasai ddal cyflwr ei elynion mewn goleu arall yr un mor gywir. Ni buasai ond digon naturiol disgwyl ei glywed yn dyweyd, "O! Dad, bum yn eu mysg, yn dysgu yn eu heolydd, yn pregethu yn eu synagogau ; iacheais gleifion, agorais lygaid deillion, cyfodais feirw yn eu gwydd, cyflawnais y fath weithredoedd nerthol yn eu gwydd fel nad oes esgus ganddynt dros eu gwrthodiad o honof. Yr wyf yn eu gadael i'th law di, y "Duw sydd farnydd cyfiawn,"—"tâl iddynt yn ol eu gweithredoedd."

Buasai hyn yna oll yn berffaith gyfiawn; ond nid felly y gwnaeth, ond tynodd len dros y cwbl, rhoddodd bob mantais i'w elynion, a haner esgusododd hwy trwy daflu mantell eu hanwybodaeth drostynt. "O! Dad, maddeu iddynt; canys ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur." O! feddwl haelfrydig y Gwaredwr bendigedig!

Beth ydyw y cymhwysiad mwyaf priodol oddiwrth yr engraifft oruchel yma o faddeugarwch Crist? Onid hyn,—

*Mai maddeugarwch ydyw un o brif elfenau Cristionogaeth.* "Oni faddeuwch i ddynion eu camweddau, eich Tad nefol ni faddeu eich camweddau chwithau." Mae ambell un yn digio yn union! ac ni faddeua byth. Mae ambell un arall yn hir cyn digio, ond wedi y digio nid oes cymodi arno. Y mae ambell un arall yn digio yn union, ond yn maddeu yn union. Ond y goreu o lawer yr hwyaf cyn digio, a'r cyntaf yn maddeu wedi digio. Mae ambell i ffynon a'i *spring* mor wan, os digwydd iddi gymysgu, y mae yn hir iawn cyn gloywi; tra y mae ambell un arall, os teifl rhyw un gareg iddi i gymysgu ei dwfr, mae ei *spring* mor gryf, fe loywa yn union. Felly y mae ambell un a'i grefydd mor wan, os cyferfydd â rhyw dramgwydd, y mae yn hir iawn yn dyfod i'w le; tra y mae ambell un arall a'i grefydd mor gref, os teflir rhwystr i'w ffordd, ni bydd fawr o dro cyn myned dros y cwbl, a "harddwch yw i wr fyned dros gamwedd."

Dywed ambell un wedi cael tramgwydd oddiwrth frawd, "Ni faddeuaf fi byth iddo." O! iaith felldigedig. Beth pe dywedai Duw hyny uwchben teulu gwrthnysig y ddaear? Beth ped edrychasai o'r nefoedd ar yr holl hil ddynol wedi gwrthryfela yn ei erbyn, ac yn ei lidiawgrwydd i ddywedyd—"Dacw hwy wedi fy nigio heb un achos, ni faddeuaf byth iddynt;"—Beth ddaethai o'r ddaear wrthryfelgar? Beth a ddaethai o Gymru wrthnysig?—Beth a ddaethai o'n gwrandawyr cyndyn?—oni bai rhyw air gwerthfawr felly, "Eto, ti ydwyt Dduw parod i faddeu." "Ië, ond nid yw yn edifarhau." Gad rhyngddo ef a hyny, dy waith di yw maddeu

iddo. Ei ddyledswydd ef ydyw edifarhau ; *dy ddyledswydd-di ydyw* maddeu iddo. Nid ei edifeirwch ef *ydyw dy reol di*; nid yw ei esgeulusdra ef i edifarhau ddim yn *dy esgusodi di* i beidio maddeu. "Ië ; ond nid yw Duw yn maddeu *heb edifeirwch*, paham y maddeuaf finau ?" Yn araf deg, fy *mrawd*. Ai Duw wyt ti? A wyt ti wedi cael cymaint o gam yn nhramgwydd dy frawd ag a gafodd Duw yn dy bechod di? A oes rhyw berygl i lywodraeth Duw ddyrysu, os maddeui di heb edifeirwch? Yn wir, paid a gosod gormod o bris ar dy faddeuant, rhag iddo fyned yn rhy ddrud i'w brynu. Gras yn Nuw ydyw maddeu, ond dyledswydd ar ddyn ydyw maddeu. Er mwyn Crist, ac nid er mwyn yr edifeirwch, y mae Duw yn maddeu. Maddeu dithau er mwyn yr un ag y mae Duw yn maddeu erddo. "A byddwch gymwynasgar i'ch gilydd, yn dosturiol, yn maddeu i'ch gilydd, megis y maddeuodd Duw er mwyn Crist i chwithau." Heb edifeirwch y maddeuodd Crist i'w elynion—"Efe a eiriolodd dros y troseddwyr." Rhaid cael yr un ysbryd yn mhawb a fyn fod yn ddysgyblion iddo. "Cymerwch fy iau arnoch, a dysgwch genyf ; canys addfwyn ydwyf, a gostyngedig o galon." Nid yw Crist maddeugar a Christion dialgar ddim yn ieuad cymharus mewn un modd. Y mae ysbryd hynaws, tirion, a maddeugar Cristionogaeth yn cario dylanwad anymwybodol lle nid yw ei hegwyddorion yn cael eu deall. Mor ardderchog yr oedd Stephan yn gweithio allan ysbryd Crist. Pan y mae y gawod gerig yn disgyn arno, y mae yn offrymu gweddi dros ei lofruddion, "Arglwydd, na ddod y pechod hwn yn eu herbyn." Yn wir y mae yn dwyn delw ei Feistr ; pa ryfedd ? y mae wedi bod dan ei ddysgeidiaeth ef. Dylai dynion sydd yn byw ar faddeuant gan Dduw, fod yn barod i faddeu "o'u calon bob un i'w frawd eu camweddau." Llawer ein heglwysi â dynion wedi eu haddurno â'r gras hwn.

# PREGETH XII.

## Y DDAU GYNHAUAF.

MATTHEW xiii. 39.

"A'r cynhauaf yw diwedd y byd."

Mae y testyn yn rhan o eglurhad yr Arglwydd Iesu Grist ar ddameg efrau y maes. Mae y ddameg yma, ac eglurhad y Gwaredwr arni; ac wedi cael ei eglurhad ef arni nid rhaid fod dadl am ei hystyr. Mae y byd yn ei sefyllfa bresenol yn gymysgedig o ddrwg a da, fel efrau a gwenith ar y maes; a rhaid i'r eglwys arfer amynedd a phwyll; ac nid ceisio gweithio ei hegwyddorion yn mlaen trwy drais ac erledigaeth; oblegid y mae adeg yn dod y gwneir gwahaniad eglur, a didoliad llwyr rhwng y drwg a'r da. "A'r cynhauaf yw diwedd y byd."

Mae y cynhauaf naturiol yn dysgu i ni wersi pwysig. Adgofir i ni yn y cynhauaf ffyddlondeb Duw i'w addewidion. Wedi i Noah ddyfod allan o'r arch ac aberthu i'r Arglwydd, dywedodd Duw, "pryd hau a chynhauaf, ac oerni a gwres, a hâf a gauaf, a dydd a nos ni phaid mwy holl ddyddiau y ddaear." Ac y mae wedi bod yn ffyddlon i'w gyfamod. "Yr hwn sydd yn rhoddi y gwlaw cynar a diweddar yn ei amser; efe a geidw i ni ddefodol wythnosau y cynhauaf." Mae pob cynhauaf yn adgofio i ni mai ffyddlawn yw Efe.

Dysgir i ni yn y cynhauaf ein dibyniaeth ar yr Anfeidrol, "Efe sydd yn rhoddi i ni yn helaeth bob peth i'w mwynhau." Cyd ddibyniaeth pob rhan o'r greadigaeth ar eu gilydd, ac ymddibyniaeth yr oll ar Dduw. Gall yr amaethwr drin y ddaear a thaflu ei hadau iddi; ond y mae y dylanwadau sydd

yn peri iddi "darddu a thyfu" uwchlaw ei gyrhaedd ef. Nis gall celfyddyd dynu diferyn o'r cwmwl, na phelydr o'r haul, i ireiddio y ddaear a gwresogi ei chalon hi. Rhaid edrych i fynu at Dduw, "efe sydd yn rhoddi i'r anifail ei borthiant, ac i gywion y gigfran pan lefant." Cymhellir arnom gan y cynhauaf y diolchgarwch mwyaf diffuant. "*Ewch i mewn* i'w byrth ef a diolch ac i'w gynteddau a mawl; diolchwch *iddo* a bendithiwch ei enw." Mae yn briodol gofyn bob amser ac yn neillduol ar ddiwedd cynhauaf toreithiog; "Beth a dalwn i'r Arglwydd am ei holl ddoniau?" Ond heblaw y gwersi pwysig y mae y cynhauaf wedi ei fwriadu i'w dysgu i ni; y mae y cynhauaf yn naturiol yn eglurhad ar egwyddorion mawrion llywodraeth Duw, felly y delir ef allan yn y testyn "Y cynhauaf yw diwedd y byd."

Y DDAU GYNHAUAF, neu y cyffelybrwydd sydd rhwng y cynhauaf yn naturiol, a therfyniad goruchwyliaethau presenol yr Anfeidrol.

1. *Mae y cynhauaf yn derfyniad cyfres o oruchwyliaethau blaerorol; felly y bydd diwedd y byd.* Mae y cynhauaf yn cael ei ragflaenu gan gyfres o oruchwyliaethau y rhai ydynt oll yn arweiniol iddo; heb y rhai yn wir ni byddai cynhauaf o honi; megis achlesu, aredig, hau, llyfnu, a chwynu; mae yr oll yn barotoawl i'r cynhauaf. Ac y mae dylanwadau a goruchwyliaethau mewn natur i'r un perwyl, y gwlith, y gwlaw, y gwynt, a'r gwres; mae yn rhaid cael y cwbl; ac y mae yr oll yn cydweithio er prysuro "addfed ffrwyth y cynhauaf." "Felly y mae teyrnas Dduw fel pe bwriai dyn hâd i'r ddaear; a chysgu a chodi nos a dydd, a'r hâd yn egino ac yn tyfu, y modd nis gwyr efe; canys y ddaear a ddwg ffrwyth o honi ei hun, yn gyntaf yr eginyn, ar ol hyny y dywysen, yna yr ŷd yn llawn yn y dywysen; a phan ymddangoso y ffrwyth yn ebrwydd y rhydd efe y cryman ynddo, am ddyfod y cynhauaf." Dyma yr holl oruchwyliaethau arweiniol wedi terfynu yn y cynhauaf. Felly y bydd diwedd y byd. Dirwynir i fynu holl oruchwyliaethau presenol Duw. Mae goruchwyliaethau gwa-

hanol wedi bod o'r dechreuad. Symudwyd y cyntaf er rhoddi lle i'r ail. Ysgydwyd y nefoedd a'r ddaear i ddwyn i mewn oruchwyliaeth ddisigl; ond bydd hon yn fuan wedi ateb ei hamcan; newidir hi o'i ffurf bresenol, plygir hi fel llyfr a gosodir hi o'r neilldu, a "diwedd pob peth a nesaodd" Mae yr holl freintiau presenol sydd yn perthyn i ni fel rhai mewn cyflwr o baratoad i ddyfod i derfyniad; oblegid hyd y cynhauaf y mae y rhai hyn i barhau. Wrth ddyweyd fod terfyniad i fod ar ffurf bresenol pethau, nid ydym i dybied fod y byd yn ymyl ei ddiwedd. Mae gau broffwydi wedi myned allan yn y dyddiau diweddaf hyn i gyhoeddi nad oes ond ychydig flynyddoedd rhwng y byd a bod ar ben; ond "na chredwch bob ysbryd." Cymerwyd pedair mil o flynyddoedd i baratoi ac addysgu y byd erbyn yr oruchwyliaeth hon, yn sicr nid yw i gael ei dirwyn i fynu yn haner yr amser a roddwyd i baratoi ar ei chyfer. Os rhoddwyd pedair mil o flynyddoedd i gael y peiriant yn barod i'w osod i weithio ar y byd; yn sicr rhoddir iddo lawer o filoedd eto i wneyd ei waith. Mae pethau mawrion i'w gwneyd cyn diwedd y byd. Mae yr "efengyl hon am y deyrnas i gael ei phregethu trwy yr holl fyd, er tystiolaeth i'r holl genedloedd; ac *yna y daw y diwedd.*" Mae gwaith mawr i'w wneyd eto cyn y diwedd, ond y mae y diwedd yn sicr. "Eithr y nefoedd a'r ddaear sydd yr awrhon, ydynt trwy yr un gair wedi eu rhoddi i gadw i dân, erbyn dydd y farn, a distryw yr anwir ddynion." "Eithr dydd yr Arglwydd a ddaw megis lleidr yn y nos, yn yr hwn y nefoedd a ânt heibio gyda thwrf, a'r defnyddiau gan wir wres a doddant, a'r ddaear a'r gwaith a fyddo ynddi a losgir." Bydd yr holl oruchwyliaethau blaenoral wedi eu dwyn i derfyniad. "A'r cynhauaf yw diwedd y byd."

2. *Mae y cynhauaf yn dangos pob peth yn ei gymeriad priodol; felly y bydd diwedd y byd.* Hyd y cynhauaf y mae yr efrau a'r gwenith ar yr un maes. Ac y mae cymaint o debygolrwydd rhyngddynt fel y mae yn anhawdd eu gwahaniaethu; a hyd yn nod pe gellid eu gwahaniaethu, maent

mor agos i'w gilydd, ac wedi ymblethu yn eu gilydd, fel *y mae* perygl wrth gasglu yr efrau ddiwreiddio y gwenith gyda hwy; gan hyny, "Gadewch i'r ddau gyd dyfu hyd y cynhauaf,"—yna nis gellir camgymeryd y naill am y llall, na *pherygl* diwreiddio y naill wrth dynu y llall. Y cynhauaf a *ddengys* yr efrau a'r gwenith heb berygl eu camgymeryd. Felly y *bydd* yn niwedd y byd. Yma y mae y drwg a'r da, y duwiol a'r annuwiol, y cyfiawn a'r drygionus yn gymysgedig fel efrau a gwenith yn yr un maes, neu us a gwenith ar yr un llawr dyrnu. Y mae gwahaniaeth hanfodol rhyngddynt; ond y mae yn anhawdd yn fynych yn y byd hwn ei adnabod. Mae tri pheth yn ei gwneyd yn anhawdd, sef llygredd y duwiol; rhagrith yr annuwiol; a chyffredinedd goruchwyliaethau Rhagluniaeth tuag at y ddau. Mae y duwiol yn disgyn mor debyg i'r annuwiol; mae yr annuwiol yn gallu ymddangos mor debyg i'r duwiol; ac y mae Duw yn ei Ragluniaeth yn gwneyd cyn lleied o ragor rhyngddynt fel y mae yn hawdd iawn camgymeryd y naill am y llall. Mae Judas yn ymddangos mor debyg i sant, a Phedr yn tyngu a rhegu mor debyg i ddyn annuwiol fel y mae yn anhawdd eu gwahaniaethu. Yr oedd yr agwedd gymysglyd yma ar bethau yn nyddiau Malachi yn peri i annuwiolion ymhyfau, ac i'r saint ddigaloni. "Oferedd yw gwasanaethu Duw; a pha lesiant sydd er i ni gadw ei orchymynion ef, ac er i ni rodio yn alarus ger bron Arglwydd y lluoedd? ac yr awr hon yr ydym yn galw y beilchion yn wynfydedig; ïe, gweithredwyr drygioni a adeiladwyd; ïe, y rhai a demtiant Dduw a waredwyd." Y dynion annuwiolaf sydd yn byw oreu; gweithredwyr drygioni sydd yn llwyddo fwyaf; yr anffyddwyr gwaethaf sydd yn ymddangos yn cael eu ffafrio benaf; a'r bobl dduwiolaf sydd yn cael y cwpanau chwerwaf. Ond aroswch, ar y maes y maent yn awr, yn y cynhauaf y gwelir y gwahaniaeth. "Yna y dychwelwch ac y gwelwch ragor rhwng y cyfiawn a'r drygionus, rhwng yr hwn a wasanaetho Dduw a'r hwn nis gwasanaetho ef; canys wele y dydd yn dyfod yn llosgi megis ffwrn,

a'r holl feilchion a holl weithredwyr anwiredd a fyddant sofl, a'r dydd sydd yn dyfod a'u llysg hwynt, fel nas gadawo iddynt na gwreiddyn na changen." Dyma y drygionus yn ei wir gymeriad. "Ond haul cyfiawnder a gyfyd i chwi y rhai ydych yn ofni fy enw a meddyginiaeth yn ei esgyll; a chwi a ewch allan ac a gynnyddwch megis lloi pasgedig." "A byddant eiddof fi, medd Arglwydd y lluoedd, y dydd y gwnelwyf briodoledd; arbedaf hwynt hefyd fel yr arbed gwr ei fab sydd yn ei wasanaethu." Dyma y cyfiawn yn ei ogoniant. Mae terfyniad y ddameg hon yn dangos y ddau yn eu diwedd. Bwrir y drygionus "i'r ffwrn dân; yno y bydd wylofain a rhincian dannedd; a llewyrcha y rhai cyfiawn fel yr haul yn nheyrnas eu tad." Dyma y pryd y gwelir pob cymeriad y peth ydyw mewn gwirionedd. "Y cynhauaf yw diwedd y byd."

3. *Mae y cynhauaf yn adeg o ad-daliad; felly y bydd diwedd y byd.* Yn y cynhauaf fel rheol y mae pob un yn cael yn ol ei lafur blaenorol, "Y diog nid ardd o herwydd oerder y gauaf." Nid â yr amaethwr diog ddim allan i aredig yn y gauaf am ei bod yn oer. Gwell ganddo ef orwedd yn ei wely; neu eistedd ar yr aelwyd; neu lechu ynghysgod y fegin ar bentan yr efail, nag aredig ei faes; ond fe'i cospir am ei segurdod, "am hyny y cardota efe y cynhauaf, ac ni chaiff ddim." Mae natur yn onest iawn; mae yn talu yn dda i'r rhai sydd yn llafurio, ac yn cospi y rhai sydd yn esgeuluso. Yn y cynhauaf caiff pob un sefyll yn ei ran. Felly y bydd yn niwedd y byd. Bydd pob un yn "derbyn yn ol yr hyn a wnaeth pa un bynag fyddo ai da ai drwg." "Na thwyller chwi, ni watwarir Duw, canys beth bynag a hauo dyn hyny a fed efe. Yr hwn sydd yn hau i'r cnawd, o'r cnawd a fed lygredigaeth; a'r hwn sydd yn hau i'r ysbryd, o'r ysbryd a fed fywyd tragywyddol." Bydd y medi yn ol yr hau mewn rhyw a gradd; "beth bynag a hauo dyn hyny hefyd a fed efe;" "a'r hwn sydd yn hau yn brin a fed yn brin; a'r hwn sydd yn hau yn helaeth a fed hefyd yn helaeth." Dywedir yn awr wrth ryw rai sydd yn dyoddef anmharch, ac yn gwneyd aberth er mwyn

ei enw ef, "fe a delir i chwi yn adgyfodiad y rhai cyfiawn;" a bygythir ei ddyfodiad ar ryw rai, "a thân fflamllyd, gan roddi dial i'r sawl nid adwaenant Dduw, ac nid ydynt yn ufuddhau i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist." Fel y mae y cynhauaf yn adeg o adaliad y mae hefyd yn adeg o gymysg deimladau. "Llawenydd amser cynhauaf," ydyw llawenydd mwyaf yr amaethwr. Llawenydd "amlhad eu hŷd a'u gwin hwynt;" a thristwch mwyaf bywyd yr amaethwr ydyw cynhauaf methiedig. Nis gallasai Habacuc ddychmygu am drallod mwy na holl gynyrch y flwyddyn yn methu. A thra y mae y diwyd yn casglu ei ysgubau gyda llawenydd amser cynhauaf, y mae y diog yn newynog o ddrws i ddrws yn cardota, heb gael dim. Felly y bydd yn niwedd y byd hwn, "Eithr i'r rhai sydd gynhenus ac anufudd i'r gwirionedd, eithr ufudd i anghyfiawnder y bydd llid a digofaint, trallod ac ing ar bob enaid dyn sydd yn gwneuthur drwg; eithr gogoniant, anrhydedd, a thangnefedd i bob un sydd yn gwneuthur daioni." Saif pob un yn ei ran yn niwedd y dyddiau. "A'r cynhauaf yw diwedd y byd."

4. *Mae y cynhauaf yn rhoddi rhagolygon clir ar y dyfodol: felly y bydd yn niwedd y byd.* Mae pryder mawr yn meddwl yr amaethwr nes cael y cynhauaf. Y mae yn dal ar bob gwynt—yn edrych ar bob cwmwl—yn ofni pob cyfnewidiad, oblegid y mae cynhaliaeth yn yr amser a ddaw yn ymddibynu ar y cynhauaf a geir. Os prin a methianus a fydd y cynhauaf, pruddaidd fydd y rhagolygon erbyn y dyfodol; ond os ceir cynhauaf da, gellir edrych yn ddiofn ar y gauaf du. Felly y bydd yn niwedd y byd. Dyma yr adeg y deuwn i ddeall yn eglur beth a fyddwn am dragywyddoldeb. Byddwn naill ai wedi ei cholli am byth, neu ynte wedi ein gwneyd am dragywyddoldeb. Oh! y rhagolygon pruddaidd fydd yn ymagor o flaen miloedd. Bydd y geiriau dwys sydd yn llyfr y proffwyd Jeremiah wedi dyfod yn brofiad chwerw yn eu heneidiau;—"Y cynhauaf a aeth heibio, darfu yr haf, ac nid ydym ni gadwedig!" Bydd cynwysiad y geiriau yna wedi

eu golchi o'r llyfr i gydwybod yr annuwiol, ac yn ei llenwi âg euogrwydd chwerw. Hafddydd bywyd wedi myned heibio, cynhauaf yr enaid wedi darfod, a dim wedi ei ddarparu ar gyfer y gauaf tragywyddol. Crwydro creigydd moelion, oer-llyd, Gehena yn gardotyn newynog, ac heb gael dim. O! y dyfodol tlawd.

Ond y mae yna filoedd wedi ei gwneyd hi; gallant edrych yn mlaen yn ddiofn. Agored tragywyddoldeb ei fynwes, estyned ei freichiau, y mae "daioni yn nghadw iddynt dros ddyddiau lawer." Mae "digonolrwydd llawenydd" yn eu haros; "a digrifwch yn dragywydd" o'u blaen. Edrychant ar angau yn ddiofn—wynebant y frawdle yn ddiarswyd—croesawant ddyfodiad y Barnwr gyda gorfoledd—a derbyn iant o'i enau y gwahoddiad anrhydeddus,—"Deuwch, chwi fendigedigion blant fy Nhad; etifeddwch y deyrnas a barotowyd i chwi er cyn seiliad y byd." "A'r cynhauaf yw diwedd y byd."

Mae ystyr arall hefyd yn yr hon y mae yn awr yn gynhauaf arnom. Cynhauaf breintiau yr efengyl ydyw ein dydd hwn; a chyfle genym i barotoi erbyn yr amser a ddaw; a "Mab gwaradwyddus yw yr hwn a gwsg yn amser cynhauaf." O! wrandawyr anwyl, gwyliwch golli y cyfle, eich "dydd hwn!" Mae eich tragywyddoldeb yn troi ar y defnydd 'u wnewch o hono. Y diwedd!—Mae rhyw ddifrifwch yn y gair; diwedd dydd—diwedd blwyddyn—diwedd bywyd—diwedd y byd! O! beth a fyddwn yn y diwedd? "Ystyr y perffaith, ac edrych ar yr uniawn, canys diwedd y gwr hwnw fydd tangnefedd."

# PREGETH XIII.

## ETIFEDDIAETH Y SAINT.

COLOSSIAID i. 12.

"Gan ddiolch i'r Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni."

Mae y testyn yn galw ein sylw at etifeddiaeth y saint yn y goleuni; a'r oruchwyliaeth ar yr etifeddion er eu cymhwyso iddi.

"ETIFEDDIAETH Y SAINT YN Y GOLEUNI." *Yr etifeddiaeth*—*Yr etifeddion*—a *Sefyllfa yr etifeddiaeth*:—"Etifeddiaeth y saint yn y goleuni."

*Yr etifeddiaeth.* Beth ydyw? Cynwysir ynddi holl freintiau crefydd yn y byd yma, a holl wobrau crefydd yn y byd nesaf, "can' cymaint" yn y byd hwn, "ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol." Nis gwn pa faint sydd yn gynwysedig yn yn y can' cymaint" yn y byd yma, llawer llai y gwn pa faint sydd yn gynwysedig yn y "bywyd tragywyddol," yn y byd nesaf; ond pa faint bynag sydd yn gynwysedig ynddynt, y mae y cwbl wedi ei gynwys yn gryno yn yr ymadrodd hwn —"*etifeddiaeth.*" Mae etifeddiaeth yn dwyn tri pheth i'n meddwl,—mawredd, gwychder, a pharhad; ac y mae y tri pheth yna yn gyflawn yn etifeddiaeth y testyn. Am ei mawredd, y mae eto heb ei mesur, o leiaf, y mae ei mesuriad heb ei roddi i ni. Am ei gwychder, y mae uwchlaw darluniad; gwelodd Paul hi, ond yr oedd yn rhy fawreddog i gynyg tynu darlun o honi; nid oedd ganddo ddim ond gwaeddi, "Annhraethadwy a gogoneddus." Ac am ei pharhad, digon yw dyweyd, "a bywyd tragywyddol a etifedda efe." Dyna i

chwi rywbeth a gydreda yn gyfochrog â'r enaid am oes y Duwdod.

*Yr etifeddion*:—"etifeddiaeth y saint." Y saint, dyma yr etifeddion; y maent "yn etifeddion i Dduw, ac yn gyd-etifeddion â Christ;" ac y mae pob dyn duwiol yn "etifedd i Dduw trwy Grist." Mae dynion yn dyfod i etifeddiaethau yn y byd trwy un o dair ffordd; trwy achyddiaeth—trwy ewyllys—a thrwy bryniad. Mae y cyntaf-anedig yn dyfod i'w etifeddiaeth yn achyddol; efe yw yr etifedd; ac os oes etifeddiaeth, y mae yn dyfod iddo trwy hawlfraint berthynasol. Mae ambell un yn dyfod i etifeddiaeth trwy ewyllys. Rhyw hen ewythyr cyfoethog yn marw yn ddiblant, ac yn gadael ei etifeddiaeth ar ei ol yn ei ewyllys i'w nai. Ac y mae llawer iawn yn y dyddiau yma yn dyfod i etifeddiaethau trwy bryniad. Dynion o'r dosbarth gweithiol yn ymgodi trwy ddiwydrwydd, a sobrwydd, a gonestrwydd, ac yn prynu etifeddiaethau iddynt eu hunain, y rhai y gorfodid hen ystadwyr pendefigol i'w gwerthu, oblegid iddynt trwy wastraff ac afradlonedd redeg trwyddynt; ac yn wir, y mae hono yn ffordd anrhydeddus iawn i ddyfod i etifeddiaeth, y gall dyn edrych arni a'i mwynhau fel ffrwyth llafur caled ei feddwl a'i ddwylaw ei hun. Mae y Cristion yn etifedd yn y tair ffordd yma. Mae yn etifedd yn achyddol trwy hawlfraint berthynasol;—"Ac os plant, etifeddion hefyd." "Os plant," nid oes dim dadl am yr etifeddiaeth. Os ydych yn sicr eich bod yn blant, yr wyf yn sicr eich bod yn etifeddion. Mae yn y berthynas i'r holl blant. Maent yn etifeddion trwy ewyllys;—"Y Tad cyfiawn, yr wyf yn ewyllysio lle yr wyf fi fod o honynt hwythau hefyd gyda myfi." Ni bydd Iesu Grist yn foddlawn yn y nefoedd nes cael ei deulu yno ato. Ac y maent yn etifeddion trwy bryniad; talodd y Meichiau yn llawn am dani ar Galfaria un prydnawn wrth farw, ac y mae yr etifeddiaeth yn rhydd o ddyled i'r etifeddion. "Yr hwn yw ernes ein hetifeddiaeth hyd bryniad y pwrcas i fawl ei ogoniant ef." Y maent yn etifeddion triphlyg; a "rhaff dair cainc ni thorir ar frys."

*Sefyllfa yr etifeddiaeth*;—"etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Mae ymadrodd cyfystr gan yr Apostol Pedr,—"I etifeddiaeth anllygredig, a dihalogedig, a diddiflanedig; ac yn nghadw yn y nefoedd i chwi." Yn wir, y mae yn dda i ni mai yn y nefoedd y mae yn nghadw; oblegid pe cawsem ni yr etifeddiaeth dan ein llaw ein hunain, buasem yn lled debyg o fyned trwyddi er cymaint ydyw. Rhoddwyd etifeddiaeth ëang iawn i'n rhieni cyntaf i ddechreu eu byd yn Eden; ond ni bu yr hen bobl fawr o dro cyn myned trwy y cwbl; mae eu plant wedi myn'd heb ddim; ond yn nhrefn y cyfamod newydd cadwodd Duw yr etifeddiaeth dan ei law ei hun, yn y nefoedd; ond y mae yn rhoddi ei llog i fagu yr etifeddion tra y maent o dan oed; dyma y can' cymaint yn y byd hwn; ond y mae yr etifeddiaeth yn nghadw yn y nefoedd i chwi:—"etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Goleuni yn gosod allan burdeb y nefoedd. Yr elfen buraf yw y goleuni. "Goleuni yw Duw," i osod allan burdeb ei natur; ac etifeddiaeth yn y goleuni yw etifeddiaeth y saint. Goleuni yn gosod allan eglurdeb y nefoedd; "oblegid beth bynag sydd yn egluro, goleuni yw." Yno nis gellir camgymeryd, bydd pob goruchwyliaeth wedi ei hesbonio; ac yno "yr adnabyddaf megis y'm hadwaenir." Goleuni i ddangos sirioldeb y nefoedd;—"Melus yn ddiau yw y goleuni, a hyfryd yw i'r llygaid weled yr haul." Yn y nefoedd bydd yno bawb wrth eu bodd, oblegid bydd yno bawb yn y goleu. Digonolrwydd llawenydd sydd ger dy fron, ac ar dy ddeheulaw y mae digrifwch yn dragywydd." "Etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Rhodded yr Arglwydd i ni gael rhan ynddi.

Yr oruchwyliaeth ar yr etifeddion er eu cymhwyso iddi. "Gan ddiolch i'r Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys."

*Yr oruchwyliaeth yn ei natur*;—"gwnaeth ni yn gymhwys." Mae cymhwyso i fod ar bechadur cyn myned ag ef [i'r n]efoedd. Nid yw dyn yn ei gyflwr naturiol ddim yn gym[hwy]s i fyned yno; nid yw y nefoedd ac yntau ddim yn taro

u gilydd. Mae y cymhwysder yma yn gynwysedig mewn lau beth; sef rhyddhad y person odditan ddedfryd condemnad, ac adferiad ei natur ar ddelw Duw; yr hyn a elwir mewn duwinyddiaeth yn gyfiawnhad a sancteiddhad. Yn y cyfiawnhad y mae y person yn cael ei ryddhau oddiwrth ddedfryd gondemniol y gyfraith; yn y sancteiddhad y mae natur ddirywedig dyn yn cael ei hadferu ar ddelw Duw. Yn y cyfiawnhad y mae yr enaid yn cael hawl i'r nefoedd; yn y sancteiddhad y mae yn cael cymhwysder i'r nefoedd. Yn y cyfiawnhad y mae yn cael *title* i'r etifeddiaeth; yn y sancteiddhad y mae yn cael parotoad i'r etifeddiaeth. "Yr hwn sydd yn maddeu dy holl anwireddau"—yn y cyfiawnhad; "Yr hwn sydd yn iachau dy holl lesgedd"—yn y sancteiddhad. Ac y mae adferiad ein natur i ddelw Duw yn llawn mor angenrheidiol er ein cymhwyso i'r nefoedd, ag ydyw cymeradwyo ein personau ger bron Duw:—"gwnaeth ni yn gymhwys."

Yr oedd Iesu Grist yn dyweyd wrth ei ddysgyblion ychydig cyn gadael y ddaear, "Yr wyf fi yn myned i barotoi lle i chwi." Nis gwn pa barotoi oedd ganddo i wneyd ar y nefoedd chwaith, os nad cymeryd meddiant o honi; oblegid yr oedd y deyrnas wedi ei pharotoi er cyn seiliad y byd;—ond y mae yn dyweyd ei fod ef yn myned i barotoi lle iddynt; ac yn ymyl hyny y mae yn sicrhau, ar ol ei fyned, yr anfonai yr Ysbryd Glan, y Diddanydd arall, i'w parotoi hwythau i'r lle. Gwelwch yma—mae Iesu Grist yn y nef yn parotoi y lle iddynt hwy, a'r Ysbryd ar y ddaear yn eu parotoi hwythau i'r lle; ac erbyn y byddo y lle yn barod gan Grist, a hwythau yn barod gan yr Ysbryd, dyna fydd yn nefoedd fendigedig wedi hyny. Ac yn wir, pe cai y Cristion fyned i'r nefoedd heb ei gymhwyso, ni byddai wrth ei fodd yno; oblegid nid bod yn y nefoedd yn unig a wna ddyn yn ddedwydd; ond rhaid iddo feddu egwyddorion y nefoedd yn ei enaid, a'r egwyddorion hyny yn awyr glir y nefoedd yn ymddadblygu, y fydd perffeithiad ei ddedwyddwch. Gwyddom yn natur-

iol fod yn rhaid i ddyn deimlo fod y fan lle y byddo, yn ei daro, onide ni bydd wrth ni fodd yno. Beth feddylid am y gweithiwr bach tlawd, oddiar lechwedd un o fynyddoedd Cymru, yn cael ei wahodd i fynu i balas ei mawrhydi, ein brenhines, i giniaw at y teulu brenhinol?—Mae y bwrdd wedi ei hulio o'r danteithion brasaf; a phrif bendefigion y deyrnas i gydeistedd wrth y bwrdd i wledda. Arweiniwch y gweithiwr yn ei wisg lom i'r ystafell wledd at y cwmni urddasol; druan o hono, byddai yn well ganddo lechu yn nghil y drws na myned i mewn atynt. Nid am fod ganddo ddim yn erbyn neb o honynt; ac nid, yn wir, am na hoffai gael rhan o'r wledd, ond y mae cymaint o ddefodau yn nglyn â'u gwledda, fel y byddai yn well gan yr hen weithiwr eistedd yn môn y clawdd, dan gysgod y berth dewfrig, gyda'i grystyn sych a'i dynied llaeth; byddai y fan hono yn ei daro yn well na bod yn y palas brenhinol, gyda'r cwmni urddasol, wrth y bwrdd llawn. Rhaid i'r fan a ninau ateb ein gilydd cyn y byddwn yn ddedwydd. Ond byddai pechadur, pe cai fyned i'r nefoedd yn ei gyflwr gwreiddiol, yn fil annedwyddach; byddai presenoldeb yr orsedd yn boen iddo—dysgleirdeb wynebpryd y Gwr sydd ar yr orseddfainc yn arogl marwolaeth iddo—a gwisgoedd gwynion y dyrfa berffeithiedig yn adlewyrchu gwarth ar ei fratiau budron. Byddai yn well gan yr annuwiol gael llechu yn nghilfachau dyfnaf ogofau tywyllaf yr ail farwolaeth, na bod yn ymyl gorsedd Duw yn y nefoedd heb ei gymhwyso i fwynhau y lle. Rhaid cael y nefoedd ynom ni, cyn y byddwn ni yn gymhwys i'r nefoedd. Mae y môr yn rhedeg i fynu i'r afon cyn i'r afon gyrhaedd i'r môr. Rhaid cael egwyddorion ac ysbryd y nefoedd yn ein heneidiau ni ar y ddaear; a'r egwyddorion mawrion hyny yn awyr glir y nefoedd yn ymddadblygu, fydd perffeithiad ein dedwyddwch. A phan y deuwn ni yn gymhwys i'r nefoedd, cymer Duw ni yno. Cymeryd y goreu o'r ddaear y mae y nefoedd. Dywedai yr hybarch John Jones, Talsarn, "fod y nefoedd yn trin y ddaear yn galed iawn, trwy gymeryd y rhai goreu oddi-

arni ; fel ambell i arolygwr yn yr Ysgol Sul, os bydd gan yr athraw ryw fachgen gwell am ddysgu na'r lleill, cymer hwnw i ddosbarth uwch, a gadael yr athraw i boeni gyda'r rhai salaf ; fel yna y mae y nefoedd yn yspeilio y ddaear o'i goreuon." Os bydd rhyw blentyn anwylach na'i gilydd mewn teulu, rhaid i'r nefoedd ei gael. Os bydd rhyw wr ieuanc mwy gobeithiol na'i gyfoedion, cymer y nefoedd ef i ffwrdd. Os bydd rhyw ddiacon mwy gwerthfawr na'i gilydd yn yr eglwys, yspeilia y nefoedd ni o hono. Os bydd rhyw bregethwr mwy nodedig na'i frodyr yn y pwlpud, geilw y nefoedd arno gartref. Yn wir, y mae y nefoedd yn trin y ddaear yn lled arw, onid yw ? Ond er hyny, y maent yn y teulu—" O'r hwn yr enwir yr holl deulu, yn y nefoedd ac ar y ddaear ;"—a phan y deuwn ninau yn gymhwys, cawn ninau fyned hefyd.

" Gwnaeth ni yn gymhwys."

*Yr oruchwyliaeth yn ei gwrthddrychau* :—" *ni* yn gymhwys." Beth, ai tybed fod yn bosibl ein gwneyd "*ni*" yn gymhwys i'r goleuni ? Beth oeddym ni ? Pob peth gwaeth na'i gilydd y gellwch chwi feddwl am dano ;—" plant digofaint megis eraill"—" gelynion mewn meddwl trwy weithredoedd drwg"—" halogedig o wadn y troed hyd goryn y pen" —" halogedig hyd yn nod eu meddwl a'u cydwybod." Ac a ydyw yn bosibl gwneyd y fath gymeriadau yn gymhwys i'w dangos yn y goleu ? Gras mawr fuasai arbed pechadur rhag cael ei ddamnio ; ond gras anfeidrol fwy ydyw gwneyd pechadur a dynwyd gan ddiafol trwy ffosydd ffieiddiaf llygredigaeth mor lân na wel sancteiddrwydd yr un ysmotyn arno ; " yn ddifai ger bron gorseddfainc Duw," yn gymhwys i'w ddal yn y goleuni pur,—" *ni* yn gymhwys i'r goleuni."

*Yr oruchwyliaeth yn ei phrif weithydd*,—" y Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys." " *Gwnaeth* ni yn gymhwys." Mae gwneyd i fod ar bechadur cyn myned ag ef i'r nefoedd. Mae swn gwneyd mawr drwy y Beibl i gyd. Bu gwneyd mawr ar Grist mewn trefn i'w wneyd yn Waredwr cymhwys i bechadur :—ei wneyd o wraig ; a'i wneyd dan y ddeddf ;

mor agos i'w gilydd, ac wedi ymblethu yn eu gilydd, fel y mae perygl wrth gasglu yr efrau ddiwreiddio y gwenith gyda hwy; gan hyny, "Gadewch i'r ddau gyd dyfu hyd y cynhauaf,"—yna nis gellir camgymeryd y naill am y llall, na pherygl diwreiddio y naill wrth dynu y llall. Y cynhauaf a ddengys yr efrau a'r gwenith heb berygl eu camgymeryd. Felly y bydd yn niwedd y byd. Yma y mae y drwg a'r da, y duwiol a'r annuwiol, y cyfiawn a'r drygionus yn gymysgedig fel efrau a gwenith yn yr un maes, neu us a gwenith ar yr un llawr dyrnu. Y mae gwahaniaeth hanfodol rhyngddynt; ond y mae yn anhawdd yn fynych yn y byd hwn ei adnabod. Mae tri pheth yn ei gwneyd yn anhawdd, sef llygredd y duwiol; rhagrith yr annuwiol; a chyffredinedd goruchwyliaethau Rhagluniaeth tuag at y ddau. Mae y duwiol yn disgyn mor debyg i'r annuwiol; mae yr annuwiol yn gallu ymddangos mor debyg i'r duwiol; ac y mae Duw yn ei Ragluniaeth yn gwneyd cyn lleied o ragor rhyngddynt fel y mae yn hawdd iawn camgymeryd y naill am y llall. Mae Judas yn ymddangos mor debyg i sant, a Phedr yn tyngu a rhegu mor debyg i ddyn annuwiol fel y mae yn anhawdd eu gwahaniaethu. Yr oedd yr agwedd gymysglyd yma ar bethau yn nyddiau Malachi yn peri i annuwiolion ymhyfau, ac i'r saint ddigaloni. "Oferedd yw gwasanaethu Duw; a pha lesiant sydd er i ni gadw ei orchymynion ef, ac er i ni rodio yn alarus ger bron Arglwydd y lluoedd? ac yr awr hon yr ydym yn galw y beilchion yn wynfydedig; ïe, gweithredwyr drygioni a adeiladwyd; ïe, y rhai a demtiant Dduw a waredwyd." Y dynion annuwiolaf sydd yn byw oreu; gweithredwyr drygioni sydd yn llwyddo fwyaf; yr anffyddwyr gwaethaf sydd yn ymddangos yn cael eu ffafrio benaf; a'r bobl dduwiolaf sydd yn cael y cwpanau chwerwaf. Ond aroswch, ar y maes y maent yn awr, yn y cynhauaf y gwelir y gwahaniaeth. "Yna y dychwelwch ac y gwelwch ragor rhwng y cyfiawn a'r drygionus, rhwng yr hwn a wasanaetho Dduw a'r hwn nis gwasanaetho ef; canys wele y dydd yn dyfod yn llosgi megis ffwrn,

a'r holl feilchion a holl weithredwyr anwiredd a fyddant sofl, a'r dydd sydd yn dyfod a'u llysg hwynt, fel nas gadawo iddynt na gwreiddyn na changen." Dyma y drygionus yn ei wir gymeriad. "Ond haul cyfiawnder a gyfyd i chwi y rhai ydych yn ofni fy enw a meddyginiaeth yn ei esgyll; a chwi a ewch allan ac a gynnyddwch megis lloi pasgedig." "A byddant eiddof fi, medd Arglwydd y lluoedd, y dydd y gwnelwyf briodoledd; arbedaf hwynt hefyd fel yr arbed gwr ei fab sydd yn ei wasanaethu." Dyma y cyfiawn yn ei ogoniant. Mae terfyniad y ddameg hon yn dangos y ddau yn eu diwedd. Bwrir y drygionus "i'r ffwrn dân; yno y bydd wylofain a rhincian dannedd; a llewyrcha y rhai cyfiawn fel yr haul yn nheyrnas eu tad." Dyma y pryd y gwelir pob cymeriad y peth ydyw mewn gwirionedd. "Y cynhauaf yw diwedd y byd."

3. *Mae y cynhauaf yn adeg o ad-daliad; felly y bydd diwedd y byd.* Yn y cynhauaf fel rheol y mae pob un yn cael yn ol ei lafur blaenorol, "Y diog nid ardd o herwydd oerder y gauaf." Nid â yr amaethwr diog ddim allan i aredig yn y gauaf am ei bod yn oer. Gwell ganddo ef orwedd yn ei wely; neu eistedd ar yr aelwyd; neu lechu ynghysgod y fegin ar bentan yr efail, nag aredig ei faes; ond fe'i cospir am ei segurdod, "am hyny y cardota efe y cynhauaf, ac ni chaiff ddim." Mae natur yn onest iawn; mae yn talu yn dda i'r rhai sydd yn llafurio, ac yn cospi y rhai sydd yn esgeuluso. Yn y cynhauaf caiff pob un sefyll yn ei ran. Felly y bydd yn niwedd y byd. Bydd pob un yn "derbyn yn ol yr hyn a wnaeth pa un bynag fyddo ai da ai drwg." "Na thwyller chwi, ni watwarir Duw, canys beth bynag a hauo dyn hyny a fed efe. Yr hwn sydd yn hau i'r cnawd, o'r cnawd a fed lygredigaeth; a'r hwn sydd yn hau i'r ysbryd, o'r ysbryd a fed fywyd tragywyddol." Bydd y medi yn ol yr hau mewn rhyw a gradd; "beth bynag a hauo dyn hyny hefyd a fed efe;" "a'r hwn sydd yn hau yn brin a fed yn brin; a'r hwn sydd yn hau yn helaeth a fed hefyd yn helaeth." Dywedir yn awr wrth ryw rai sydd yn dyoddef anmharch, ac yn gwneyd aberth er mwyn

mor agos i'w gilydd, ac wedi ymblethu yn eu gilydd, fel y mae perygl wrth gasglu yr efrau ddiwreiddio y gwenith gyda hwy; gan hyny, "Gadewch i'r ddau gyd dyfu hyd y cynhauaf,"—yna nis gellir camgymeryd y naill am y llall, na pherygl diwreiddio y naill wrth dynu y llall. Y cynhauaf a *ddengys* yr efrau a'r gwenith heb berygl eu camgymeryd. Felly y *bydd* yn niwedd y byd. Yma y mae y drwg a'r da, y duwiol a'r annuwiol, y cyfiawn a'r drygionus yn gymysgedig fel efrau a gwenith yn yr un maes, neu us a gwenith ar yr un llawr dyrnu. Y mae gwahaniaeth hanfodol rhyngddynt; ond y mae yn anhawdd yn fynych yn y byd hwn ei adnabod. Mae tri pheth yn ei gwneyd yn anhawdd, sef llygredd y duwiol; rhagrith yr annuwiol; a chyffredinedd goruchwyliaethau Rhagluniaeth tuag at y ddau. Mae y duwiol yn disgyn mor debyg i'r annuwiol; mae yr annuwiol yn gallu ymddangos mor debyg i'r duwiol; ac y mae Duw yn ei Ragluniaeth yn gwneyd cyn lleied o ragor rhyngddynt fel y mae yn hawdd iawn camgymeryd y naill am y llall. Mae Judas yn ymddangos mor debyg i sant, a Phedr yn tyngu a rhegu mor debyg i ddyn annuwiol fel y mae yn anhawdd eu gwahaniaethu. Yr oedd yr agwedd gymysglyd yma ar bethau yn nyddiau Malachi yn peri i annuwiolion ymhyfau, ac i'r saint ddigaloni. "Oferedd yw gwasanaethu Duw; a pha lesiant sydd er i ni gadw ei orchymynion ef, ac er i ni rodio yn alarus ger bron Arglwydd y lluoedd? ac yr awr hon yr ydym yn galw y beilchion yn wynfydedig; ïe, gweithredwyr drygioni a adeiladwyd; ïe, y rhai a demtiant Dduw a waredwyd." Y dynion annuwiolaf sydd yn byw oreu; gweithredwyr drygioni sydd yn llwyddo fwyaf; yr anffyddwyr gwaethaf sydd yn ymddangos yn cael eu ffafrio benaf; a'r bobl dduwiolaf sydd yn cael y cwpanau chwerwaf. Ond aroswch, ar y maes y maent yn awr, yn y cynhauaf y gwelir y gwahaniaeth. "Yna y dychwelwch ac y gwelwch ragor rhwng y cyfiawn a'r drygionus, rhwng yr hwn a wasanaetho Dduw a'r hwn nis gwasanaetho ef; canys wele y dydd yn dyfod yn llosgi megis ffwrn,

a'r holl feilchion a holl weithredwyr anwiredd a fyddant sofl, a'r dydd sydd yn dyfod a'u llysg hwynt, fel nas gadawo iddynt na gwreiddyn na changen." Dyma y drygionus yn ei wir gymeriad. "Ond haul cyfiawnder a gyfyd i chwi y rhai ydych yn ofni fy enw a meddyginiaeth yn ei esgyll; a chwi a ewch allan ac a gynnyddwch megis lloi pasgedig." "A byddant eiddof fi, medd Arglwydd y lluoedd, y dydd y gwnelwyf briodoledd; arbedaf hwynt hefyd fel yr arbed gwr ei fab sydd yn ei wasanaethu." Dyma y cyfiawn yn ei ogoniant. Mae terfyniad y ddameg hon yn dangos y ddau yn eu diwedd. Bwrir y drygionus "i'r ffwrn dân; yno y bydd wylofain a rhincian dannedd; a llewyrcha y rhai cyfiawn fel yr haul yn nheyrnas eu tad." Dyma y pryd y gwelir pob cymeriad y peth ydyw mewn gwirionedd. "Y cynhauaf yw diwedd y byd."

3. *Mae y cynhauaf yn adeg o ad-daliad; felly y bydd diwedd y byd.* Yn y cynhauaf fel rheol y mae pob un yn cael yn ol ei lafur blaenorol, "Y diog nid ardd o herwydd oerder y gauaf." Nid â yr amaethwr diog ddim allan i aredig yn y gauaf am ei bod yn oer. Gwell ganddo ef orwedd yn ei wely; neu eistedd ar yr aelwyd; neu lechu ynghysgod y fegin ar bentan yr efail, nag aredig ei faes; ond fe'i cospir am ei segurdod, "am hyny y cardota efe y cynhauaf, ac ni chaiff ddim." Mae natur yn onest iawn; mae yn talu yn dda i'r rhai sydd yn llafurio, ac yn cospi y rhai sydd yn esgeuluso. Yn y cynhauaf caiff pob un sefyll yn ei ran. Felly y bydd yn niwedd y byd. Bydd pob un yn "derbyn yn ol yr hyn a wnaeth pa un bynag fyddo ai da ai drwg." "Na thwyller chwi, ni watwarir Duw, canys beth bynag a hauo dyn hyny a fed efe. Yr hwn sydd yn hau i'r cnawd, o'r cnawd a fed lygredigaeth; a'r hwn sydd yn hau i'r ysbryd, o'r ysbryd a fed fywyd tragywyddol." Bydd y medi yn ol yr hau mewn rhyw a gradd; "beth bynag a hauo dyn hyny hefyd a fed efe;" "a'r hwn sydd yn hau yn brin a fed yn brin; a'r hwn sydd yn hau yn helaeth a fed hefyd yn helaeth." Dywedir yn awr wrth ryw rai sydd yn dyoddef anmharch, ac yn gwneyd aberth er mwyn

ei enw ef, "fe a delir i chwi yn adgyfodiad y rhai cyfiawn;" a bygythir ei ddyfodiad ar ryw rai, "a thân fflamllyd, gan roddi dial i'r sawl nid adwaenant Dduw, ac nid ydynt yn ufuddhou i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist." Fel y mae y cynhauaf yn adeg o adaliad y mae hefyd yn adeg o gymysg deimladau. "Llawenydd amser cynhauaf," ydyw llawenydd mwyaf yr amaethwr. Llawenydd "amlhad eu hŷd a'u gwin hwynt;" a thristwch mwyaf bywyd yr amaethwr ydyw cynhauaf methiedig. Nis gallasai Habacuc ddychmygu am drallod mwy na holl gynyrch y flwyddyn yn methu. A thra y mae y diwyd yn casglu ei ysgubau gyda llawenydd amser cynhauaf, y mae y diog yn newynog o ddrws i ddrws yn cardota, heb gael dim. Felly y bydd yn niwedd y byd hwn, "Eithr i'r rhai sydd gynhenus ac anufudd i'r gwirionedd, eithr ufudd i anghyfiawnder y bydd llid a digofaint, trallod ac ing ar bob enaid dyn sydd yn gwneuthur drwg; eithr gogoniant, anrhydedd, a thangnefedd i bob un sydd yn gwneuthur daioni." Saif pob un yn ei ran yn niwedd y dyddiau. "A'r cynhauaf yw diwedd y byd."

4. *Mae y cynhauaf yn rhoddi rhagolygon clir ar y dyfodol: felly y bydd yn niwedd y byd.* Mae pryder mawr yn meddwl yr amaethwr nes cael y cynhauaf. Y mae yn dal ar bob gwynt—yn edrych ar bob cwmwl—yn ofni pob cyfnewidiad, oblegid y mae cynhaliaeth yn yr amser a ddaw yn ymddibynu ar y cynhauaf a geir. Os prin a methianus a fydd y cynhauaf, pruddaidd fydd y rhagolygon erbyn y dyfodol; ond os ceir cynhauaf da, gellir edrych yn ddiofn ar y gauaf du. Felly y bydd yn niwedd y byd. Dyma yr adeg y deuwn i ddeall yn eglur beth a fyddwn am dragywyddoldeb. Byddwn naill ai wedi ei cholli am byth, neu ynte wedi ein gwneyd am dragywyddoldeb. Oh! y rhagolygon pruddaidd fydd yn ymagor o flaen miloedd. Bydd y geiriau dwys sydd yn llyfr y proffwyd Jeremiah wedi dyfod yn brofiad chwerw yn eu heneidiau;—"Y cynhauaf a aeth heibio, darfu yr haf, ac nid ydym ni gadwedig!" Bydd cynwysiad y geiriau yna wedi

eu golchi o'r llyfr i gydwybod yr annuwiol, ac yn ei llenwi âg euogrwydd chwerw. Hafddydd bywyd wedi myned heibio, cynhauaf yr enaid wedi darfod, a dim wedi ei ddarparu ar gyfer y gauaf tragywyddol. Crwydro creigydd moelion, oerllyd, Gehena yn gardotyn newynog, ac heb gael dim. O ! y dyfodol tlawd.

Ond y mae yna filoedd wedi ei gwneyd hi ; gallant edrych yn mlaen yn ddiofn. Agored tragywyddoldeb ei fynwes, estyned ei freichiau, y mae "daioni yn nghadw iddynt dros ddyddiau lawer." Mae "digonolrwydd llawenydd" yn eu haros ; "a digrifwch yn dragywydd" o'u blaen. Edrychant ar angau yn ddiofn—wynebant y frawdle yn ddiarswyd—croesawant ddyfodiad y Barnwr gyda gorfoledd—a derbyniant o'i enau y gwahoddiad anrhydeddus,—"Deuwch, chwi fendigedigion blant fy Nhad ; etifeddwch y deyrnas a barotowyd i chwi er cyn seiliad y byd." "A'r cynhauaf yw diwedd y byd."

Mae ystyr arall hefyd yn yr hon y mae yn awr yn gynhauaf arnom. Cynhauaf breintiau yr efengyl ydyw ein dydd hwn ; a chyfle genym i barotoi erbyn yr amser a ddaw ; a "Mab gwaradwyddus yw yr hwn a gwsg yn amser cynhauaf." O ! wrandawyr anwyl, gwyliwch golli y cyfle, eich "dydd hwn !" Mae eich tragywyddoldeb yn troi ar y defnydd a wnewch o hono. Y diwedd !—Mae rhyw ddifrifwch yn y gair ; diwedd dydd—diwedd blwyddyn—diwedd bywyd—diwedd y byd ! O ! beth a fyddwn yn y diwedd? "Ystyr y perffaith, ac edrych ar yr uniawn, canys diwedd y gwr hwnw fydd tangnefedd."

# PREGETH XIII.

## ETIFEDDIAETH Y SAINT.

COLOSSIAID i. 12.

"Gan ddiolch i'r Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni."

Mae y testyn yn galw ein sylw at etifeddiaeth y saint yn y goleuni; a'r oruchwyliaeth ar yr etifeddion er eu cymhwyso iddi.

"ETIFEDDIAETH Y SAINT YN Y GOLEUNI." *Yr etifeddiaeth*—*Yr etifeddion*—a *Sefyllfa yr etifeddiaeth*:—"Etifeddiaeth y saint yn y goleuni."

*Yr etifeddiaeth.* Beth ydyw? Cynwysir ynddi holl freintiau crefydd yn y byd yma, a holl wobrau crefydd yn y byd nesaf, "can' cymaint" yn y byd hwn, "ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol." Nis gwn pa faint sydd yn gynwysedig yn yn y can' cymaint" yn y byd yma, llawer llai y gwn pa faint sydd yn gynwysedig yn y "bywyd tragywyddol," yn y byd nesaf; ond pa faint bynag sydd yn gynwysedig ynddynt, y mae y cwbl wedi ei gynwys yn gryno yn yr ymadrodd hwn —"*etifeddiaeth.*" Mae etifeddiaeth yn dwyn tri pheth i'n meddwl,—mawredd, gwychder, a pharhad; ac y mae y tri pheth yna yn gyflawn yn etifeddiaeth y testyn. Am ei mawredd, y mae eto heb ei mesur, o leiaf, y mae ei mesuriad heb ei roddi i ni. Am ei gwychder, y mae uwchlaw darluniad; gwelodd Paul hi, ond yr oedd yn rhy fawreddog i gynyg tynu darlun o honi; nid oedd ganddo ddim ond gwaeddi, "Anraethadwy a gogoneddus." Ac am ei pharhad, digon yw reyd, "a bywyd tragywyddol a etifedda efe." Dyna i

chwi rywbeth a gydreda yn gyfochrog â'r enaid am oes y Duwdod.

*Yr etifeddion*:—"etifeddiaeth y saint." Y saint, dyma yr etifeddion; y maent "yn etifeddion i Dduw, ac yn gyd-etifeddion â Christ;" ac y mae pob dyn duwiol yn "etifedd i Dduw trwy Grist." Mae dynion yn dyfod i etifeddiaethau yn y byd trwy un o dair ffordd; trwy achyddiaeth—trwy ewyllys—a thrwy bryniad. Mae y cyntaf-anedig yn dyfod i'w etifeddiaeth yn achyddol; efe yw yr etifedd; ac os oes etifeddiaeth, y mae yn dyfod iddo trwy hawlfraint berthynasol. Mae ambell un yn dyfod i etifeddiaeth trwy ewyllys. Rhyw hen ewythyr cyfoethog yn marw yn ddiblant, ac yn gadael ei etifeddiaeth ar ei ol yn ei ewyllys i'w nai. Ac y mae llawer iawn yn y dyddiau yma yn dyfod i etifeddiaethau trwy bryniad. Dynion o'r dosbarth gweithiol yn ymgodi trwy ddiwydrwydd, a sobrwydd, a gonestrwydd, ac yn prynu etifeddiaethau iddynt eu hunain, y rhai y gorfodid hen ystadwyr pendefigol i'w gwerthu, oblegid iddynt trwy wastraff ac afradlonedd redeg trwyddynt; ac yn wir, y mae hono yn ffordd anrhydeddus iawn i ddyfod i etifeddiaeth, y gall dyn edrych arni a'i mwynhau fel ffrwyth llafur caled ei feddwl a'i ddwylaw ei hun. Mae y Cristion yn etifedd yn y tair ffordd yma. Mae yn etifedd yn achyddol trwy hawlfraint berthynasol;—"Ac os plant, etifeddion hefyd." "Os plant," nid oes dim dadl am yr etifeddiaeth. Os ydych yn sicr eich bod yn blant, yr wyf yn sicr eich bod yn etifeddion. Mae yn y berthynas i'r holl blant. Maent yn etifeddion trwy ewyllys;—"Y Tad cyfiawn, yr wyf yn ewyllysio lle yr wyf fi fod o honynt hwythau hefyd gyda myfi." Ni bydd Iesu Grist yn foddlawn yn y nefoedd nes cael ei deulu yno ato. Ac y maent yn etifeddion trwy bryniad; talodd y Meichiau yn llawn am dani ar Galfaria un prydnawn wrth farw, ac y mae yr etifeddiaeth yn rhydd o ddyled i'r etifeddion. "Yr hwn yw ernes ein hetifeddiaeth hyd bryniad y pwrcas i fawl ei ogoniant ef." Y maent yn etifeddion triphlyg; a "rhaff dair cainc ni thorir ar frys."

*Sefyllfa yr etifeddiaeth;*—"etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Mae ymadrodd cyfystr gan yr Apostol Pedr,—"I etifeddiaeth anllygredig, a dihalogedig, a diddiflanedig; ac yn nghadw yn y nefoedd i chwi." Yn wir, y mae yn dda i ni mai yn y nefoedd y mae yn nghadw; oblegid pe cawsem ni yr etifeddiaeth dan ein llaw ein hunain, buasem yn lled debyg o fyned trwyddi er cymaint ydyw. Rhoddwyd etifeddiaeth ëang iawn i'n rhieni cyntaf i ddechreu eu byd yn Eden; ond ni bu yr hen bobl fawr o dro cyn myned trwy y cwbl; mae eu plant wedi myn'd heb ddim; ond yn nhrefn y cyfamod newydd cadwodd Duw yr etifeddiaeth dan ei law ei hun, yn y nefoedd; ond y mae yn rhoddi ei llog i fagu yr etifeddion tra y maent o dan oed; dyma y can' cymaint yn y byd hwn; ond y mae yr etifeddiaeth yn nghadw yn y nefoedd i chwi:—"etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Goleuni yn gosod allan burdeb y nefoedd. Yr elfen buraf yw y goleuni. "Goleuni yw Duw," i osod allan burdeb ei natur; ac etifeddiaeth yn y goleuni yw etifeddiaeth y saint. Goleuni yn gosod allan eglurdeb y nefoedd; "oblegid beth bynag sydd yn egluro, goleuni yw." Yno nis gellir camgymeryd, bydd pob goruchwyliaeth wedi ei hesbonio; ac yno "yr adnabyddaf megis y'm hadwaenir." Goleuni i ddangos sirioldeb y nefoedd;—"Melus yn ddiau yw y goleuni, a hyfryd yw i'r llygaid weled yr haul." Yn y nefoedd bydd yno bawb wrth eu bodd, oblegid bydd yno bawb yn y goleu. Digonolrwydd llawenydd sydd ger dy fron, ac ar dy ddeheulaw y mae digrifwch yn dragywydd." "Etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Rhodded yr Arglwydd i ni gael rhan ynddi.

YR ORUCHWYLIAETH AR YR ETIFEDDION ER EU CYMHWYSO IDDI. "Gan ddiolch i'r Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys."

*Yr oruchwyliaeth yn ei natur;*—"gwnaeth ni yn gymhwys." Mae cymhwyso i fod ar bechadur cyn myned ag ef i'r nefoedd. Nid yw dyn yn ei gyflwr naturiol ddim yn gymhwys i fyned yno; nid yw y nefoedd ac yntau ddim yn taro

u gilydd. Mae y cymhwysder yma yn gynwysedig mewn lau beth; sef rhyddhad y person oddiwrth ddedfryd condemniad, ac adferiad ei natur ar ddelw Duw; yr hyn a elwir mewn duwinyddiaeth yn gyfiawnhad a sancteiddhad. Yn y cyfiawnhad y mae y person yn cael ei ryddhau oddiwrth ddedfryd gondemniol y gyfraith; yn y sancteiddhad y mae natur ddirywedig dyn yn cael ei hadferu ar ddelw Duw. Yn y cyfiawnhad y mae yr enaid yn cael hawl i'r nefoedd; yn y sancteiddhad y mae yn cael cymhwysder i'r nefoedd. Yn y cyfiawnhad y mae yn cael *title* i'r etifeddiaeth; yn y sancteiddhad y mae yn cael parotoad i'r etifeddiaeth. "Yr hwn sydd yn maddeu dy holl anwireddau"—yn y cyfiawnhad; "Yr hwn sydd yn iachau dy holl lesgedd"—yn y sancteiddhad. Ac y mae adferiad ein natur i ddelw Duw yn llawn mor angenrheidiol er ein cymhwyso i'r nefoedd, ag ydyw cymradwyo ein personau ger bron Duw:—"gwnaeth ni yn gymwys."

Yr oedd Iesu Grist yn dyweyd wrth ei ddysgyblion ychydig cyn gadael y ddaear, "Yr wyf fi yn myned i barotoi lle i chwi." Nis gwn pa barotoi oedd ganddo i wneyd ar y nefoedd chwaith, os nad cymeryd meddiant o honi; oblegid yr oedd y deyrnas wedi ei pharotoi er cyn seiliad y byd;—ond y mae yn dyweyd ei fod ef yn myned i barotoi lle iddynt; ac yn ymyl hyny y mae yn sicrhau, ar ol ei fyned, yr anfonai yr Ysbryd Glan, y Diddanydd arall, i'w parotoi hwythau i'r lle. Gwelwch yma—mae Iesu Grist yn y nef yn parotoi y lle iddynt hwy, a'r Ysbryd ar y ddaear yn eu parotoi hwythau i'r lle; ac erbyn y byddo y lle yn barod gan Grist, a hwythau yn barod gan yr Ysbryd, dyna fydd yn nefoedd fendigedig wedi hyny. Ac yn wir, pe cai y Cristion fyned i'r nefoedd heb ei gymhwyso, ni byddai wrth ei fodd yno; oblegid nid bod yn y nefoedd yn unig a wna ddyn yn ddedwydd; ond rhaid iddo feddu egwyddorion y nefoedd yn ei enaid, a'r egwyddorion hyny yn awyr glir y nefoedd yn ymddadblygu, hyny fydd perffeithiad ei ddedwyddwch. Gwyddom yn natur-

iol fod yn rhaid i ddyn deimlo fod y fan lle y byddo, yn *ei daro*, onide ni bydd wrth ni fodd yno. Beth feddylid am y gweithiwr bach tlawd, oddiar lechwedd un o fynyddoedd Cymru, yn cael ei wahodd i fynu i balas ei mawrhydi, ein brenhines, i giniaw at y teulu brenhinol ?—Mae y bwrdd wedi ei hulio o'r danteithion brasaf ; a phrif bendefigion y deyrnas i gydeistedd wrth y bwrdd i wledda. Arweiniwch y gweithiwr yn ei wisg lom i'r ystafell wledd at y cwmni urddasol ; druan o hono, byddai yn well ganddo lechu yn nghil y drws na myned i mewn atynt. Nid am fod ganddo ddim yn erbyn neb o honynt ; ac nid, yn wir, am na hoffai gael rhan o'r wledd, ond y mae cymaint o ddefodau yn nglyn â'u gwledda, fel y byddai yn well gan yr hen weithiwr eistedd yn môn y clawdd, dan gysgod y berth dewfrig, gyda'i grystyn sych a'i dynied llaeth ; byddai y fan hono yn ei daro yn well na bod yn y palas brenhinol, gyda'r cwmni urddasol, wrth y bwrdd llawn. Rhaid i'r fan a ninau ateb ein gilydd cyn y byddwn yn ddedwydd. Ond byddai pechadur, pe cai fyned i'r nefoedd yn ei gyflwr gwreiddiol, yn fil annedwyddach ; byddai presenoldeb yr orsedd yn boen iddo—dysgleirdeb wynebpryd y Gwr sydd ar yr orseddfainc yn arogl marwolaeth iddo—a gwisgoedd gwynion y dyrfa berffeithiedig yn adlewyrchu gwarth ar ei fratiau budron. Byddai yn well gan yr annuwiol gael llechu yn nghilfachau dyfnaf ogofau tywyllaf yr ail farwolaeth, na bod yn ymyl gorsedd Duw yn y nefoedd heb ei gymhwyso i fwynhau y lle. Rhaid cael y nefoedd ynom ni, cyn y byddwn ni yn gymhwys i'r nefoedd. Mae y môr yn rhedeg i fynu i'r afon cyn i'r afon gyrhaedd i'r môr. Rhaid cael egwyddorion ac ysbryd y nefoedd yn ein heneidiau ni ar y ddaear ; a'r egwyddorion mawrion hyny yn awyr glir y nefoedd yn ymddadblygu, fydd perffeithiad ein dedwyddwch. A phan y deuwn ni yn gymhwys i'r nefoedd, cymer Duw ni yno. Cymeryd y goreu o'r ddaear y mae y nefoedd. Dywedai yr hybarch John Jones, Talsarn, "fod y nefoedd yn trin y ddaear yn galed iawn, trwy gymeryd y rhai goreu oddi-

arni; fel ambell i arolygwr yn yr Ysgol Sul, os bydd gan yr athraw ryw fachgen gwell am ddysgu na'r lleill, cymer hwnw i ddosbarth uwch, a gadael yr athraw i boeni gyda'r rhai salaf; fel yna y mae y nefoedd yn yspeilio y ddaear o'i goreuon." Os bydd rhyw blentyn anwylach na'i gilydd mewn teulu, rhaid i'r nefoedd ei gael. Os bydd rhyw wr ieuanc mwy gobeithiol na'i gyfoedion, cymer y nefoedd ef i ffwrdd. Os bydd rhyw ddiacon mwy gwerthfawr na'i gilydd yn yr eglwys, yspeilia y nefoedd ni o hono. Os bydd rhyw bregethwr mwy nodedig na'i frodyr yn y pwlpud, geilw y nefoedd arno gartref. Yn wir, y mae y nefoedd yn trin y ddaear yn lled arw, onid yw? Ond er hyny, y maent yn y teulu—"O'r hwn yr enwir yr holl deulu, yn y nefoedd ac ar y ddaear;"—a phan y deuwn ninau yn gymhwys, cawn ninau fyned hefyd.

"Gwnaeth ni yn gymhwys."

*Yr oruchwyliaeth yn ei gwrthddrychau*:—"*ni* yn gymhwys." Beth, ai tybed fod yn bosibl ein gwneyd "*ni*" yn gymhwys i'r goleuni? Beth oeddym ni? Pob peth gwaeth na'i gilydd y gellwch chwi feddwl am dano;—"plant digofaint megis eraill"—"gelynion mewn meddwl trwy weithredoedd drwg"—"halogedig o wadn y troed hyd goryn y pen"—"halogedig hyd yn nod eu meddwl a'u cydwybod." Ac a ydyw yn bosibl gwneyd y fath gymeriadau yn gymhwys i'w dangos yn y goleu? Gras mawr fuasai arbed pechadur rhag cael ei ddamnio; ond gras anfeidrol fwy ydyw gwneyd pechadur a dynwyd gan ddiafol trwy ffosydd ffieiddiaf llygredigaeth mor lân na wel sancteiddrwydd yr un ysmotyn arno; "yn ddifai ger bron gorseddfainc Duw," yn gymhwys i'w ddal yn y goleuni pur,—"*ni* yn gymhwys i'r goleuni."

*Yr oruchwyliaeth yn ei phrif weithydd*,—"y Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys." "*Gwnaeth* ni yn gymhwys." Mae gwneyd i fod ar bechadur cyn myned ag ef i'r nefoedd. Mae swn gwneyd mawr drwy y Beibl i gyd. Bu gwneyd mawr ar Grist mewn trefn i'w wneyd yn Waredwr cymhwys i bechadur:—ei wneyd o wraig; a'i wneyd dan y ddeddf;

mor agos i'w gilydd, ac wedi ymblethu yn eu gilydd, fel y mae perygl wrth gasglu yr efrau ddiwreiddio y gwenith gyda hwy; gan hyny, "Gadewch i'r ddau gyd dyfu hyd y cynhauaf,"—yna nis gellir camgymeryd y naill am y llall, na pherygl diwreiddio y naill wrth dynu y llall. Y cynhauaf a ddengys yr efrau a'r gwenith heb berygl eu camgymeryd. Felly y bydd yn niwedd y byd. Yma y mae y drwg a'r da, y duwiol a'r annuwiol, y cyfiawn a'r drygionus yn gymysgedig fel efrau a gwenith yn yr un maes, neu us a gwenith ar yr un llawr dyrnu. Y mae gwahaniaeth hanfodol rhyngddynt; ond y mae yn anhawdd yn fynych yn y byd hwn ei adnabod. Mae tri pheth yn ei gwneyd yn anhawdd, sef llygredd y duwiol; rhagrith yr annuwiol; a chyffredinedd goruchwyliaethau Rhagluniaeth tuag at y ddau. Mae y duwiol yn disgyn mor debyg i'r annuwiol; mae yr annuwiol yn gallu ymddangos mor debyg i'r duwiol; ac y mae Duw yn ei Ragluniaeth yn gwneyd cyn lleied o ragor rhyngddynt fel y mae yn hawdd iawn camgymeryd y naill am y llall. Mae Judas yn ymddangos mor debyg i sant, a Phedr yn tyngu a rhegu mor debyg i ddyn annuwiol fel y mae yn anhawdd eu gwahaniaethu. Yr oedd yr agwedd gymysglyd yma ar bethau yn nyddiau Malachi yn peri i annuwiolion ymhyfau, ac i'r saint ddigaloni. "Oferedd yw gwasanaethu Duw; a pha lesiant sydd er i ni gadw ei orchymynion ef, ac er i ni rodio yn alarus ger bron Arglwydd y lluoedd? ac yr awr hon yr ydym yn galw y beilchion yn wynfydedig; ïe, gweithredwyr drygioni a adeiladwyd; ïe, y rhai a demtiant Dduw a waredwyd." Y dynion annuwiolaf sydd yn byw oreu; gweithredwyr drygioni sydd yn llwyddo fwyaf; yr anffyddwyr gwaethaf sydd yn ymddangos yn cael eu ffafrio benaf; a'r bobl dduwiolaf sydd yn cael y cwpanau chwerwaf. Ond aroswch, ar y maes y maent yn awr, yn y cynhauaf y gwelir y gwahaniaeth. "Yna y dychwelwch ac y gwelwch ragor rhwng y cyfiawn a'r drygionus, rhwng yr hwn a wasanaetho Dduw a'r hwn nis gwasanaetho ef; canys wele y dydd yn dyfod yn llosgi megis ffwrn,

a'r holl feilchion a holl weithredwyr anwiredd a fyddant sofl, a'r dydd sydd yn dyfod a'u llysg hwynt, fel nas gadawo iddynt na gwreiddyn na changen." Dyma y drygionus yn ei wir gymeriad. "Ond haul cyfiawnder a gyfyd i chwi y rhai ydych yn ofni fy enw a meddyginiaeth yn ei esgyll; a chwi a ewch allan ac a gynnyddwch megis lloi pasgedig." "A byddant eiddof fi, medd Arglwydd y lluoedd, y dydd y gwnelwyf briodoledd; arbedaf hwynt hefyd fel yr arbed gwr ei fab sydd yn ei wasanaethu." Dyma y cyfiawn yn ei ogoniant. Mae terfyniad y ddameg hon yn dangos y ddau yn eu diwedd. Bwrir y drygionus "i'r ffwrn dân; yno y bydd wylofain a rhincian dannedd; a llewyrcha y rhai cyfiawn fel yr haul yn nheyrnas eu tad." Dyma y pryd y gwelir pob cymeriad y peth ydyw mewn gwirionedd. "Y cynhauaf yw diwedd y byd."

3. *Mae y cynhauaf yn adeg o ad-daliad; felly y bydd diwedd y byd.* Yn y cynhauaf fel rheol y mae pob un yn cael yn ol ei lafur blaenorol, "Y diog nid ardd o herwydd oerder y gauaf." Nid â yr amaethwr diog ddim allan i aredig yn y gauaf am ei bod yn oer. Gwell ganddo ef orwedd yn ei wely; neu eistedd ar yr aelwyd; neu lechu ynghysgod y fegin ar bentan yr efail, nag aredig ei faes; ond fe'i cospir am ei segurdod, "am hyny y cardota efe y cynhauaf, ac ni chaiff ddim." Mae natur yn onest iawn; mae yn talu yn dda i'r rhai sydd yn llafurio, ac yn cospi y rhai sydd yn esgeuluso. Yn y cynhauaf caiff pob un sefyll yn ei ran. Felly y bydd yn niwedd y byd. Bydd pob un yn "derbyn yn ol yr hyn a wnaeth pa un bynag fyddo ai da ai drwg." "Na thwyller chwi, ni watwarir Duw, canys beth bynag a hauo dyn hyny a fed efe. Yr hwn sydd yn hau i'r cnawd, o'r cnawd a fed lygredigaeth; a'r hwn sydd yn hau i'r ysbryd, o'r ysbryd a fed fywyd tragywyddol." Bydd y medi yn ol yr hau mewn rhyw a gradd; "beth bynag a hauo dyn hyny hefyd a fed efe;" "a'r hwn sydd yn hau yn brin a fed yn brin; a'r hwn sydd yn hau yn helaeth a fed hefyd yn helaeth." Dywedir yn awr wrth ryw rai sydd yn dyoddef anmharch, ac yn gwneyd aberth er mwyn

ei enw ef, "fe a delir i chwi yn adgyfodiad y rhai cyfiawn;" a bygythir ei ddyfodiad ar ryw rai, "a thân fflamllyd, gan roddi dial i'r sawl nid adwaenant Dduw, ac nid ydynt yn ufuddhau i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist." Fel y mae y cynhauaf yn adeg o adaliad y mae hefyd yn adeg o gymysg deimladau. "Llawenydd amser cynhauaf," ydyw llawenydd mwyaf yr amaethwr. Llawenydd "amlhad eu hŷd a'u gwin hwynt;" a thristwch mwyaf bywyd yr amaethwr ydyw cynhauaf methiedig. Nis gallasai Habacuc ddychmygu am drallod mwy na holl gynyrch y flwyddyn yn methu. A thra y mae y diwyd yn casglu ei ysgubau gyda llawenydd amser cynhauaf, y mae y diog yn newynog o ddrws i ddrws yn cardota, heb gael dim. Felly y bydd yn niwedd y byd hwn, "Eithr i'r rhai sydd gynhenus ac anufudd i'r gwirionedd, eithr ufudd i anghyfiawnder y bydd llid a digofaint, trallod ac ing ar bob enaid dyn sydd yn gwneuthur drwg; eithr gogoniant, anrhydedd, a thangnefedd i bob un sydd yn gwneuthur daioni." Saif pob un yn ei ran yn niwedd y dyddiau. "A'r cynhauaf yw diwedd y byd."

4. *Mae y cynhauaf yn rhoddi rhagolygon clir ar y dyfodol: felly y bydd yn niwedd y byd.* Mae pryder mawr yn meddwl yr amaethwr nes cael y cynhauaf. Y mae yn dal ar bob gwynt—yn edrych ar bob cwmwl—yn ofni pob cyfnewidiad, oblegid y mae cynhaliaeth yn yr amser a ddaw yn ymddibynu ar y cynhauaf a geir. Os prin a methianus a fydd y cynhauaf, pruddaidd fydd y rhagolygon erbyn y dyfodol; ond os ceir cynhauaf da, gellir edrych yn ddiofn ar y gauaf du. Felly y bydd yn niwedd y byd. Dyma yr adeg y deuwn i ddeall yn eglur beth a fyddwn am dragywyddoldeb. Byddwn naill ai wedi ei cholli am byth, neu ynte wedi ein gwneyd am dragywyddoldeb. Oh! y rhagolygon pruddaidd fydd yn ymagor o flaen miloedd. Bydd y geiriau dwys sydd yn llyfr y proffwyd Jeremiah wedi dyfod yn brofiad chwerw yn eu heneidiau;—"Y cynhauaf a aeth heibio, darfu yr haf, ac nid ydym ni gadwedig!" Bydd cynwysiad y geiriau yna wedi

eu golchi o'r llyfr i gydwybod yr annuwiol, ac yn ei llenwi âg euogrwydd chwerw. Hafddydd bywyd wedi myned heibio, cynhauaf yr enaid wedi darfod, a dim wedi ei ddarparu ar gyfer y gauaf tragywyddol. Crwydro creigydd moelion, oer-llyd, Gehena yn gardotyn newynog, ac heb gael dim. O! y dyfodol tlawd.

Ond y mae yna filoedd wedi ei gwneyd hi; gallant edrych yn mlaen yn ddiofn. Agored tragywyddoldeb ei fynwes, estyned ei freichiau, y mae "daioni yn nghadw iddynt dros ddyddiau lawer." Mae "digonolrwydd llawenydd" yn eu haros; "a digrifwch yn dragywydd" o'u blaen. Edrychant ar angau yn ddiofn—wynebant y frawdle yn ddiarswyd—croesawant ddyfodiad y Barnwr gyda gorfoledd—a derbyn iant o'i enau y gwahoddiad anrhydeddus,—"Deuwch, chwi fendigedigion blant fy Nhad; etifeddwch y deyrnas a barotowyd i chwi er cyn seiliad y byd." "A'r cynhauaf yw diwedd y byd."

Mae ystyr arall hefyd yn yr hon y mae yn awr yn gynhauaf arnom. Cynhauaf breintiau yr efengyl ydyw ein dydd hwn; a chyfle genym i barotoi erbyn yr amser a ddaw; a "Mab gwaradwyddus yw yr hwn a gwsg yn amser cynhauaf." O! wrandawyr anwyl, gwyliwch golli y cyfle, eich "dydd hwn!" Mae eich tragywyddoldeb yn troi ar y defnydd 'u wnewch o hono. Y diwedd!—Mae rhyw ddifrifwch yn y gair; diwedd dydd—diwedd blwyddyn—diwedd bywyd—diwedd y byd! O! beth a fyddwn yn y diwedd? "Ystyr y perffaith, ac edrych ar yr uniawn, canys diwedd y gwr hwnw fydd tangnefedd."

# PREGETH XIII.

## ETIFEDDIAETH Y SAINT.

COLOSSIAID i. 12.

"Gan ddiolch i'r Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni."

Mae y testyn yn galw ein sylw at etifeddiaeth y saint yn y goleuni; a'r oruchwyliaeth ar yr etifeddion er eu cymhwyso iddi.

"ETIFEDDIAETH Y SAINT YN Y GOLEUNI." *Yr etifeddiaeth*—*Yr etifeddion*—a *Sefyllfa yr etifeddiaeth* :—"Etifeddiaeth y saint yn y goleuni."

*Yr etifeddiaeth.* Beth ydyw? Cynwysir ynddi holl freintiau crefydd yn y byd yma, a holl wobrau crefydd yn y byd nesaf, "can' cymaint" yn y byd hwn, "ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol." Nis gwn pa faint sydd yn gynwysedig yn yn y can' cymaint" yn y byd yma, llawer llai y gwn pa faint sydd yn gynwysedig yn y "bywyd tragywyddol," yn y byd nesaf; ond pa faint bynag sydd yn gynwysedig ynddynt, y mae y cwbl wedi ei gynwys yn gryno yn yr ymadrodd hwn —"*etifeddiaeth.*" Mae etifeddiaeth yn dwyn tri pheth i'n meddwl,—mawredd, gwychder, a pharhad; ac y mae y tri pheth yna yn gyflawn yn etifeddiaeth y testyn. Am ei mawredd, y mae eto heb ei mesur, o leiaf, y mae ei mesuriad heb ei roddi i ni. Am ei gwychder, y mae uwchlaw darluniad; gwelodd Paul hi, ond yr oedd yn rhy fawreddog i gynyg tynu darlun o honi; nid oedd ganddo ddim ond gwaeddi, "Annhraethadwy a gogoneddus." Ac am ei pharhad, digon yw dyweyd, "a bywyd tragywyddol a etifedda efe." Dyna i

chwi rywbeth a gydreda yn gyfochrog â'r enaid am oes y Duwdod.

*Yr etifeddion* :—"etifeddiaeth y saint." Y saint, dyma yr etifeddion; y maent "yn etifeddion i Dduw, ac yn gyd-etifeddion â Christ;" ac y mae pob dyn duwiol yn "etifedd i Dduw trwy Grist." Mae dynion yn dyfod i etifeddiaethau yn y byd trwy un o dair ffordd; trwy achyddiaeth—trwy ewyllys—a thrwy bryniad. Mae y cyntaf-anedig yn dyfod i'w etifeddiaeth yn achyddol; efe yw yr etifedd; ac os oes etifeddiaeth, y mae yn dyfod iddo trwy hawlfraint berthynasol. Mae ambell un yn dyfod i etifeddiaeth trwy ewyllys. Rhyw hen ewythyr cyfoethog yn marw yn ddiblant, ac yn gadael ei etifeddiaeth ar ei ol yn ei ewyllys i'w nai. Ac y mae llawer iawn yn y dyddiau yma yn dyfod i etifeddiaethau trwy bryniad. Dynion o'r dosbarth gweithiol yn ymgodi trwy ddiwydrwydd, a sobrwydd, a gonestrwydd, ac yn prynu etifeddiaethau iddynt eu hunain, y rhai y gorfodid hen ystadwyr pendefigol i'w gwerthu, oblegid iddynt trwy wastraff ac afradlonedd redeg trwyddynt; ac yn wir, y mae hono yn ffordd anrhydeddus iawn i ddyfod i etifeddiaeth, y gall dyn edrych arni a'i mwynhau fel ffrwyth llafur caled ei feddwl a'i ddwylaw ei hun. Mae y Cristion yn etifedd yn y tair ffordd yma. Mae yn etifedd yn achyddol trwy hawlfraint berthynasol;—"Ac os plant, etifeddion hefyd." "Os plant," nid oes dim dadl am yr etifeddiaeth. Os ydych yn sicr eich bod yn blant, yr wyf yn sicr eich bod yn etifeddion. Mae yn y berthynas i'r holl blant. Maent yn etifeddion trwy ewyllys;—"Y Tad cyfiawn, yr wyf yn ewyllysio lle yr wyf fi fod o honynt hwythau hefyd gyda myfi." Ni bydd Iesu Grist yn foddlawn yn y nefoedd nes cael ei deulu yno ato. Ac y maent yn etifeddion trwy bryniad; talodd y Meichiau yn llawn am dani ar Galfaria un prydnawn wrth farw, ac y mae yr etifeddiaeth yn rhydd o ddyled i'r etifeddion. "Yr hwn yw ernes ein hetifeddiaeth hyd bryniad y pwrcas i fawl ei ogoniant ef." Y maent yn etifeddion triphlyg; a "rhaff dair cainc ni thorir ar frys."

*Sefyllfa yr etifeddiaeth* ;—" etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Mae ymadrodd cyfystr gan yr Apostol Pedr,—"I etifeddiaeth anllygredig, a dihalogedig, a diddiflanedig; ac yn nghadw yn y nefoedd i chwi." Yn wir, y mae yn dda i ni mai yn y nefoedd y mae yn nghadw; oblegid pe cawsem ni yr etifeddiaeth dan ein llaw ein hunain, buasem yn lled debyg o fyned trwyddi er cymaint ydyw. Rhoddwyd etifeddiaeth ëang iawn i'n rhieni cyntaf i ddechreu eu byd yn Eden; ond ni bu yr hen bobl fawr o dro cyn myned trwy y cwbl; mae eu plant wedi myn'd heb ddim; ond yn nhrefn y cyfamod newydd cadwodd Duw yr etifeddiaeth dan ei law ei hun, yn y nefoedd; ond y mae yn rhoddi ei llog i fagu yr etifeddion tra y maent o dan oed; dyma y can' cymaint yn y byd hwn; ond y mae yr etifeddiaeth yn nghadw yn y nefoedd i chwi:— "etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Goleuni yn gosod allan burdeb y nefoedd. Yr elfen buraf yw y goleuni. "Goleuni yw Duw," i osod allan burdeb ei natur; ac etifeddiaeth yn y goleuni yw etifeddiaeth y saint. Goleuni yn gosod allan eglurdeb y nefoedd; "oblegid beth bynag sydd yn egluro, goleuni yw." Yno nis gellir camgymeryd, bydd pob goruchwyliaeth wedi ei hesbonio; ac yno "yr adnabyddaf megis y'm hadwaenir." Goleuni i ddangos sirioldeb y nefoedd;—"Melus yn ddiau yw y goleuni, a hyfryd yw i'r llygaid weled yr haul." Yn y nefoedd bydd yno bawb wrth eu bodd, oblegid bydd yno bawb yn y goleu. Digonolrwydd llawenydd sydd ger dy fron, ac ar dy ddeheulaw y mae digrifwch yn dragywydd." "Etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Rhodded yr Arglwydd i ni gael rhan ynddi.

Yr oruchwyliaeth ar yr etifeddion er eu cymhwyso iddi. "Gan ddiolch i'r Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys."

*Yr oruchwyliaeth yn ei natur* ;—"gwnaeth ni yn gymhwys." Mae cymhwyso i fod ar bechadur cyn myned ag ef i'r nefoedd. Nid yw dyn yn ei gyflwr naturiol ddim yn gymwys i fyned yno; nid yw y nefoedd ac yntau ddim yn taro

;u gilydd. Mae y cymhwysder yma yn gynwysedig mewn lau beth; sef rhyddhad y person odditan ddedfryd condemnad, ac adferiad ei natur ar ddelw Duw; yr hyn a elwir mewn luwinyddiaeth yn gyfiawnhad a sancteiddhad. Yn y cyfiawnnad y mae y person yn cael ei ryddhau oddiwrth ddedfryd gondemniol y gyfraith; yn y sancteiddhad y mae natur ddi-:ywedig dyn yn cael ei hadferu ar ddelw Duw. Yn y cyfawnhad y mae yr enaid yn cael hawl i'r nefoedd; yn y sancteiddhad y mae yn cael cymhwysder i'r nefoedd. Yn y cyfawnhad y mae yn cael *title* i'r etifeddiaeth; yn y sancteiddiad y mae yn cael parotoad i'r etifeddiaeth. "Yr hwn sydd 'n maddeu dy holl anwireddau"—yn y cyfiawnhad; "Yr ıwn sydd yn iachau dy holl lesgedd"—yn y sancteiddiad. Ac y mae adferiad ein natur i ddelw Duw yn llawn nor angenrheidiol er ein cymhwyso i'r nefoedd, ag ydyw cymradwyo ein personau ger bron Duw:—"gwnaeth ni yn gym ıwys."

Yr oedd Iesu Grist yn dyweyd wrth ei ddysgyblion ychydig yn gadael y ddaear, "Yr wyf fi yn myned i barotoi lle i hwi." Nis gwn pa barotoi oedd ganddo i wneyd ar y nefedd chwaith, os nad cymeryd meddiant o honi; oblegid yr edd y deyrnas wedi ei pharotoi er cyn seiliad y byd;—ond y nae yn dyweyd ei fod ef yn myned i barotoi lle iddynt; ac n ymyl hyny y mae yn sicrhau, ar ol ei fyned, yr anfonai yr Ysbryd Glan, y Diddanydd arall, i'w parotoi hwythau i'r lle. Gwelwch yma—mae Iesu Grist yn y nef yn parotoi y lle iddnt hwy, a'r Ysbryd ar y ddaear yn eu parotoi hwythau i'r e; ac erbyn y byddo y lle yn barod gan Grist, a hwythau n barod gan yr Ysbryd, dyna fydd yn nefoedd fendigedig redi hyny. Ac yn wir, pe cai y Cristion fyned i'r nefoedd eb ei gymhwyso, ni byddai wrth ei fodd yno; oblegid nid od yn y nefoedd yn unig a wna ddyn yn ddedwydd; ond haid iddo feddu egwyddorion y nefoedd yn ei enaid, a'r egyddorion hyny yn awyr glir y nefoedd yn ymddadblygu, yny fydd perffeithiad ei ddedwyddwch. Gwyddom yn natur-

iol fod yn rhaid i ddyn deimlo fod y fan lle y byddo, yn ei daro, onide ni bydd wrth ni fodd yno. Beth feddylid am y gweithiwr bach tlawd, oddiar lechwedd un o fynyddoedd Cymru, yn cael ei wahodd i fynu i balas ei mawrhydi, ein brenhines, i giniaw at y teulu brenhinol?—Mae y bwrdd wedi ei hulio o'r danteithion brasaf; a phrif bendefigion y deyrnas i gydeistedd wrth y bwrdd i wledda. Arweiniwch y gweithiwr yn ei wisg lom i'r ystafell wledd at y cwmni urddasol; druan o hono, byddai yn well ganddo lechu yn nghil y drws na myned i mewn atynt. Nid am fod ganddo ddim yn erbyn neb o honynt; ac nid, yn wir, am na hoffai gael rhan o'r wledd, ond y mae cymaint o ddefodau yn nglyn â'u gwledda, fel y byddai yn well gan yr hen weithiwr eistedd yn môn y clawdd, dan gysgod y berth dewfrig, gyda'i grystyn sych a'i dynied llaeth; byddai y fan hono yn ei daro yn well na bod yn y palas brenhinol, gyda'r cwmni urddasol, wrth y bwrdd llawn. Rhaid i'r fan a ninau ateb ein gilydd cyn y byddwn yn ddedwydd. Ond byddai pechadur, pe cai fyned i'r nefoedd yn ei gyflwr gwreiddiol, yn fil annedwyddach; byddai presenoldeb yr orsedd yn boen iddo—dysgleirdeb wynebpryd y Gwr sydd ar yr orseddfainc yn arogl marwolaeth iddo—a gwisgoedd gwynion y dyrfa berffeithiedig yn adlewyrchu gwarth ar ei fratiau budron. Byddai yn well gan yr annuwiol gael llechu yn nghilfachau dyfnaf ogofau tywyllaf yr ail farwolaeth, na bod yn ymyl gorsedd Duw yn y nefoedd heb ei gymhwyso i fwynhau y lle. Rhaid cael y nefoedd ynom ni, cyn y byddwn ni yn gymhwys i'r nefoedd. Mae y môr yn rhedeg i fynu i'r afon cyn i'r afon gyrhaedd i'r môr. Rhaid cael egwyddorion ac ysbryd y nefoedd yn ein heneidiau ni ar y ddaear; a'r egwyddorion mawrion hyny yn awyr glir y nefoedd yn ymddadblygu, fydd perffeithiad ein dedwyddwch. A phan y deuwn ni yn gymhwys i'r nefoedd, cymer Duw ni yno. Cymeryd y goreu o'r ddaear y mae y nefoedd. Dywedai yr hybarch John Jones, Talsarn, "fod y nefoedd yn trin y ddaear yn galed iawn, trwy gymeryd y rhai goreu oddi-

arni; fel ambell i arolygwr yn yr Ysgol Sul, os bydd gan yr athraw ryw fachgen gwell am ddysgu na'r lleill, cymer hwnw i ddosbarth uwch, a gadael yr athraw i boeni gyda'r rhai salaf; fel yna y mae y nefoedd yn yspeilio y ddaear o'i goreuon." Os bydd rhyw blentyn anwylach na'i gilydd mewn teulu, rhaid i'r nefoedd ei gael. Os bydd rhyw wr ieuanc mwy gobeithiol na'i gyfoedion, cymer y nefoedd ef i ffwrdd. Os bydd rhyw ddiacon mwy gwerthfawr na'i gilydd yn yr eglwys, yspeilia y nefoedd ni o hono. Os bydd rhyw bregethwr mwy nodedig na'i frodyr yn y pwlpud, geilw y nefoedd arno gartref. Yn wir, y mae y nefoedd yn trin y ddaear yn lled arw, onid yw? Ond er hyny, y maent yn y teulu—" O'r hwn yr enwir yr holl deulu, yn y nefoedd ac ar y ddaear;"—a phan y deuwn ninau yn gymhwys, cawn ninau fyned hefyd.

" Gwnaeth ni yn gymhwys."

*Yr oruchwyliaeth yn ei gwrthddrychau*:—" *ni* yn gymhwys." Beth, ai tybed fod yn bosibl ein gwneyd "*ni*" yn gymhwys i'r goleuni? Beth oeddym ni? Pob peth gwaeth na'i gilydd y gellwch chwi feddwl am dano;—" plant digofaint megis eraill"—" gelynion mewn meddwl trwy weithredoedd drwg"—" halogedig o wadn y troed hyd goryn y pen" —" halogedig hyd yn nod eu meddwl a'u cydwybod." Ac a ydyw yn bosibl gwneyd y fath gymeriadau yn gymhwys i'w dangos yn y goleu? Gras mawr fuasai arbed pechadur rhag cael ei ddamnio; ond gras anfeidrol fwy ydyw gwneyd pechadur a dynwyd gan ddiafol trwy ffosydd ffieiddiaf llygredigaeth mor lân na wel sancteiddrwydd yr un ysmotyn arno; " yn ddifai ger bron gorseddfainc Duw," yn gymhwys i'w ddal yn y goleuni pur,—" *ni* yn gymhwys i'r goleuni."

*Yr oruchwyliaeth yn ei phrif weithydd*,—" y Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys." "*Gwnaeth* ni yn gymhwys." Mae gwneyd i fod ar bechadur cyn myned ag ef i'r nefoedd. Mae swn gwneyd mawr drwy y Beibl i gyd. Bu gwneyd mawr ar Grist mewn trefn i'w wneyd yn Waredwr cymhwys i bechadur:—ei wneyd o wraig; a'i wneyd dan y ddeddf;

mor agos i'w gilydd, ac wedi ymblethu yn eu gilydd, fel y mae perygl wrth gasglu yr efrau ddiwreiddio y gwenith gyda hwy; gan hyny, "Gadewch i'r ddau gyd dyfu hyd y cynhauaf,"—yna nis gellir camgymeryd y naill am y llall, na *pherygl* diwreiddio y naill wrth dynu y llall. Y cynhauaf a *ddengys* yr efrau a'r gwenith heb berygl eu camgymeryd. Felly y *bydd* yn niwedd y byd. Yma y mae y drwg a'r da, y duwiol a'r annuwiol, y cyfiawn a'r drygionus yn gymysgedig fel efrau a gwenith yn yr un maes, neu us a gwenith ar yr un llawr dyrnu. Y mae gwahaniaeth hanfodol rhyngddynt; ond y mae yn anhawdd yn fynych yn y byd hwn ei adnabod. Mae tri pheth yn ei gwneyd yn anhawdd, sef llygredd y duwiol rhagrith yr annuwiol; a chyffredinedd goruchwyliaethau Rhagluniaeth tuag at y ddau. Mae y duwiol yn disgyn mor debyg i'r annuwiol; mae yr annuwiol yn gallu ymddangos mor debyg i'r duwiol; ac y mae Duw yn ei Ragluniaeth yn gwneyd cyn lleied o ragor rhyngddynt fel y mae yn hawdd iawn camgymeryd y naill am y llall. Mae Judas yn ymddangos mor debyg i sant, a Phedr yn tyngu a rhegu mor debyg ddyn annuwiol fel y mae yn anhawdd eu gwahaniaethu. Yr oedd yr agwedd gymysglyd yma ar bethau yn nyddiau Malachi yn peri i annuwiolion ymhyfau, ac i'r saint ddigaloni "Oferedd yw gwasanaethu Duw; a pha lesiant sydd er i ni gadw ei orchymynion ef, ac er i ni rodio yn alarus ger bron Arglwydd y lluoedd? ac yr awr hon yr ydym yn galw y beilchion yn wynfydedig; ïe, gweithredwyr drygioni a adeiladwyd; ïe, y rhai a demtiant Dduw a waredwyd." Y dynion annuwiolaf sydd yn byw oreu; gweithredwyr drygioni sydd yn llwyddo fwyaf; yr anffyddwyr gwaethaf sydd yn ymddangos yn cael eu ffafrio benaf; a'r bobl dduwiolaf sydd yn cael y cwpanau chwerwaf. Ond aroswch, ar y maes y maent yn awr, yn y cynhauaf y gwelir y gwahaniaeth. "Yna y dychwelwch ac y gwelwch ragor rhwng y cyfiawn a'r drygionus, rhwng yr hwn a wasanaetho Dduw a'r hwn nis gwasanaetho ef; canys wele y dydd yn dyfod yn llosgi megis ffwrn

a'r holl feilchion a holl weithredwyr anwiredd a fyddant sofl, a'r dydd sydd yn dyfod a'u llysg hwynt, fel nas gadawo iddynt na gwreiddyn na changen." Dyma y drygionus yn ei wir gymeriad. "Ond haul cyfiawnder a gyfyd i chwi y rhai ydych yn ofni fy enw a meddyginiaeth yn ei esgyll; a chwi a ewch allan ac a gynnyddwch megis lloi pasgedig." "A byddant eiddof fi, medd Arglwydd y lluoedd, y dydd y gwnelwyf briodoledd; arbedaf hwynt hefyd fel yr arbed gwr ei fab sydd yn ei wasanaethu." Dyma y cyfiawn yn ei ogoniant. Mae terfyniad y ddameg hon yn dangos y ddau yn eu diwedd. Bwrir y drygionus "i'r ffwrn dân; yno y bydd wylofain a rhincian dannedd; a llewyrcha y rhai cyfiawn fel yr haul yn nheyrnas eu tad." Dyma y pryd y gwelir pob cymeriad y peth ydyw mewn gwirionedd. "Y cynhauaf yw diwedd y byd."

3. *Mae y cynhauaf yn adeg o ad-daliad; felly y bydd diwedd y byd.* Yn y cynhauaf fel rheol y mae pob un yn cael yn ol ei lafur blaenorol, "Y diog nid ardd o herwydd oerder y gauaf." Nid â yr amaethwr diog ddim allan i aredig yn y gauaf am ei bod yn oer. Gwell ganddo ef orwedd yn ei wely; neu eistedd ar yr aelwyd; neu lechu ynghysgod y fegin ar bentan yr efail, nag aredig ei faes; ond fe'i cospir am ei segurdod, "am hyny y cardota efe y cynhauaf, ac ni chaiff ddim." Mae natur yn onest iawn; mae yn talu yn dda i'r rhai sydd yn llafurio, ac yn cospi y rhai sydd yn esgeuluso. Yn y cynhauaf caiff pob un sefyll yn ei ran. Felly y bydd yn niwedd y byd. Bydd pob un yn "derbyn yn ol yr hyn a wnaeth pa un bynag fyddo ai da ai drwg." "Na thwyller chwi, ni watwarir Duw, canys beth bynag a hauo dyn hyny a fed efe. Yr hwn sydd yn hau i'r cnawd, o'r cnawd a fed lygredigaeth; a'r hwn sydd yn hau i'r ysbryd, o'r ysbryd a fed fywyd tragywyddol." Bydd y medi yn ol yr hau mewn rhyw a gradd; "beth bynag a hauo dyn hyny hefyd a fed efe;" "a'r hwn sydd yn hau yn brin a fed yn brin; a'r hwn sydd yn hau yn helaeth a fed hefyd yn helaeth." Dywedir yn awr wrth ryw rai sydd yn dyoddef anmharch, ac yn gwneyd aberth er mwyn

ei enw ef, "fe a delir i chwi yn adgyfodiad y rhai cyfiawn;" a bygythir ei ddyfodiad ar ryw rai, "a thân fflamllyd, gan roddi dial i'r sawl nid adwaenant Dduw, ac nid ydynt yn ufuddhau i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist." Fel y mae y cynhauaf yn adeg o adaliad y mae hefyd yn adeg o gymysg deimladau. "Llawenydd amser cynhauaf," ydyw llawenydd mwyaf yr amaethwr. Llawenydd "amlhad eu hŷd a'u gwin hwynt;" a thristwch mwyaf bywyd yr amaethwr ydyw cynhauaf methiedig. Nis gallasai Habacuc ddychmygu am drallod mwy na holl gynyrch y flwyddyn yn methu. A thra y mae y diwyd yn casglu ei ysgubau gyda llawenydd amser cynhauaf, y mae y diog yn newynog o ddrws i ddrws yn cardota, heb gael dim. Felly y bydd yn niwedd y byd hwn, "Eithr i'r rhai sydd gynhenus ac anufudd i'r gwirionedd, eithr ufudd i anghyfiawnder y bydd llid a digofaint, trallod ac ing ar bob enaid dyn sydd yn gwneuthur drwg; eithr gogoniant, anrhydedd, a thangnefedd i bob un sydd yn gwneuthur daioni." Saif pob un yn ei ran yn niwedd y dyddiau. "A'r cynhauaf yw diwedd y byd."

4. *Mae y cynhauaf yn rhoddi rhagolygon clir ar y dyfodol: felly y bydd yn niwedd y byd.* Mae pryder mawr yn meddwl yr amaethwr nes cael y cynhauaf. Y mae yn dal ar bob gwynt—yn edrych ar bob cwmwl—yn ofni pob cyfnewidiad, oblegid y mae cynhaliaeth yn yr amser a ddaw yn ymddibynu ar y cynhauaf a geir. Os prin a methianus a fydd y cynhauaf, pruddaidd fydd y rhagolygon erbyn y dyfodol; ond os ceir cynhauaf da, gellir edrych yn ddiofn ar y gauaf du. Felly y bydd yn niwedd y byd. Dyma yr adeg y deuwn i ddeall yn eglur beth a fyddwn am dragywyddoldeb. Byddwn naill ai wedi ei cholli am byth, neu ynte wedi ein gwneyd am dragywyddoldeb. Oh! y rhagolygon pruddaidd fydd yn ymagor o flaen miloedd. Bydd y geiriau dwys sydd yn llyfr y proffwyd Jeremiah wedi dyfod yn brofiad chwerw yn eu heneidiau;—"Y cynhauaf a aeth heibio, darfu yr haf, ac nid ydym ni gadwedig!" Bydd cynwysiad y geiriau yna wedi

eu golchi o'r llyfr i gydwybod yr annuwiol, ac yn ei llenwi âg euogrwydd chwerw. Hafddydd bywyd wedi myned heibio, cynhauaf yr enaid wedi darfod, a dim wedi ei ddarparu ar gyfer y gauaf tragywyddol. Crwydro creigydd moelion, oerllyd, Gehena yn gardotyn newynog, ac heb gael dim. O! y dyfodol tlawd.

Ond y mae yna filoedd wedi ei gwneyd hi; gallant edrych yn mlaen yn ddiofn. Agored tragywyddoldeb ei fynwes, estyned ei freichiau, y mae "daioni yn nghadw iddynt dros ddyddiau lawer." Mae "digonolrwydd llawenydd" yn eu haros; "a digrifwch yn dragywydd" o'u blaen. Edrychant ar angau yn ddiofn—wynebant y frawdle yn ddiarswyd—croesawant ddyfodiad y Barnwr gyda gorfoledd—a derbyniant o'i enau y gwahoddiad anrhydeddus,—"Deuwch, chwi fendigedigion blant fy Nhad; etifeddwch y deyrnas a barotowyd i chwi er cyn seiliad y byd." "A'r cynhauaf yw diwedd y byd."

Mae ystyr arall hefyd yn yr hon y mae yn awr yn gynhauaf arnom. Cynhauaf breintiau yr efengyl ydyw ein dydd hwn; a chyfle genym i barotoi erbyn yr amser a ddaw; a "Mab gwaradwyddus yw yr hwn a gwsg yn amser cynhauaf." O! wrandawyr anwyl, gwyliwch golli y cyfle, eich "dydd hwn!" Mae eich tragywyddoldeb yn troi ar y defnydd u wnewch o hono. Y diwedd!—Mae rhyw ddifrifwch yn y gair; diwedd dydd—diwedd blwyddyn—diwedd bywyd—diwedd y byd! O! beth a fyddwn yn y diwedd? "Ystyr y perffaith, ac edrych ar yr uniawn, canys diwedd y gwr hwnw fydd tangnefedd."

## PREGETH XIII.

### ETIFEDDIAETH Y SAINT.

COLOSSIAID i. 12.

**"Gan ddiolch i'r Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni."**

Mae y testyn yn galw ein sylw at etifeddiaeth y saint yn y goleuni; a'r oruchwyliaeth ar yr etifeddion er eu cymhwyso iddi.

"ETIFEDDIAETH Y SAINT YN Y GOLEUNI." *Yr etifeddiaeth—Yr etifeddion*—a *Sefyllfa yr etifeddiaeth*:—"Etifeddiaeth y saint yn y goleuni."

*Yr etifeddiaeth.* Beth ydyw? Cynwysir ynddi holl freintiau crefydd yn y byd yma, a holl wobrau crefydd yn y byd nesaf, "can' cymaint" yn y byd hwn, "ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol." Nis gwn pa faint sydd yn gynwysedig yn yn y can' cymaint" yn y byd yma, llawer llai y gwn pa faint sydd yn gynwysedig yn y "bywyd tragywyddol," yn y byd nesaf; ond pa faint bynag sydd yn gynwysedig ynddynt, y mae y cwbl wedi ei gynwys yn gryno yn yr ymadrodd hwn —"*etifeddiaeth.*" Mae etifeddiaeth yn dwyn tri pheth i'n meddwl,—mawredd, gwychder, a pharhad; ac y mae y tri pheth yna yn gyflawn yn etifeddiaeth y testyn. Am ei mawredd, y mae eto heb ei mesur, o leiaf, y mae ei mesuriad heb ei roddi i ni. Am ei gwychder, y mae uwchlaw darluniad; gwelodd Paul hi, ond yr oedd yn rhy fawreddog i gynyg tynu darlun o honi; nid oedd ganddo ddim ond gwaeddi, "Annhraethadwy a gogoneddus." Ac am ei pharhad, digon yw dyweyd, "a bywyd tragywyddol a etifedda efe." Dyna i

chwi rywbeth a gydreda yn gyfochrog â'r enaid am oes y Duwdod.

*Yr etifeddion* :—"etifeddiaeth y saint." Y saint, dyma yr etifeddion; y maent "yn etifeddion i Dduw, ac yn gyd-etifeddion â Christ;" ac y mae pob dyn duwiol yn "etifedd i Dduw trwy Grist." Mae dynion yn dyfod i etifeddiaethau yn y byd trwy un o dair ffordd; trwy achyddiaeth—trwy ewyllys—a thrwy bryniad. Mae y cyntaf-anedig yn dyfod i'w etifeddiaeth yn achyddol; efe yw yr etifedd; ac os oes etifeddiaeth, y mae yn dyfod iddo trwy hawlfraint berthynasol. Mae ambell un yn dyfod i etifeddiaeth trwy ewyllys. Rhyw hen ewythyr cyfoethog yn marw yn ddiblant, ac yn gadael ei etifeddiaeth ar ei ol yn ei ewyllys i'w nai. Ac y mae llawer iawn yn y dyddiau yma yn dyfod i etifeddiaethau trwy bryniad. Dynion o'r dosbarth gweithiol yn ymgodi trwy ddiwydrwydd, a sobrwydd, a gonestrwydd, ac yn prynu etifeddiaethau iddynt eu hunain, y rhai y gorfodid hen ystadwyr pendefigol i'w gwerthu, oblegid iddynt trwy wastraff ac afradlonedd redeg trwyddynt; ac yn wir, y mae hono yn ffordd anrhydeddus iawn i ddyfod i etifeddiaeth, y gall dyn edrych arni a'i mwynhau fel ffrwyth llafur caled ei feddwl a'i ddwylaw ei hun. Mae y Cristion yn etifedd yn y tair ffordd yma. Mae yn etifedd yn achyddol trwy hawlfraint berthynasol;—"Ac os plant, etifeddion hefyd." "Os plant," nid oes dim dadl am yr etifeddiaeth. Os ydych yn sicr eich bod yn blant, yr wyf yn sicr eich bod yn etifeddion. Mae yn y berthynas i'r holl blant. Maent yn etifeddion trwy ewyllys;—"Y Tad cyfiawn, yr wyf yn ewyllysio lle yr wyf fi fod o honynt hwythau hefyd gyda myfi." Ni bydd Iesu Grist yn foddlawn yn y nefoedd nes cael ei deulu yno ato. Ac y maent yn etifeddion trwy bryniad; talodd y Meichiau yn llawn am dani ar Galfaria un prydnawn wrth farw, ac y mae yr etifeddiaeth yn rhydd o ddyled i'r etifeddion. "Yr hwn yw ernes ein hetifeddiaeth hyd bryniad y pwrcas i fawl ei ogoniant ef." Y maent yn etifeddion triphlyg; a "rhaff dair cainc ni thorir ar frys."

*Sefyllfa yr etifeddiaeth*;—"etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Mae ymadrodd cyfystr gan yr Apostol Pedr,—"I etifeddiaeth anllygredig, a dihalogedig, a diddiflanedig; ac yn nghadw yn y nefoedd i chwi." Yn wir, y mae yn dda i ni mai yn y nefoedd y mae yn nghadw; oblegid pe cawsem ni yr etifeddiaeth dan ein llaw ein hunain, buasem yn lled debyg o fyned trwyddi er cymaint ydyw. Rhoddwyd etifeddiaeth ëang iawn i'n rhieni cyntaf i ddechreu eu byd yn Eden; ond ni bu yr hen bobl fawr o dro cyn myned trwy y cwbl; mae eu plant wedi myn'd heb ddim; ond yn nhrefn y cyfamod newydd cadwodd Duw yr etifeddiaeth dan ei law ei hun, yn y nefoedd; ond y mae yn rhoddi ei llog i fagu yr etifeddion tra y maent o dan oed; dyma y can' cymaint yn y byd hwn; ond y mae yr etifeddiaeth yn nghadw yn y nefoedd i chwi:—"etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Goleuni yn gosod allan burdeb y nefoedd. Yr elfen buraf yw y goleuni. "Goleuni yw Duw," i osod allan burdeb ei natur; ac etifeddiaeth yn y goleuni yw etifeddiaeth y saint. Goleuni yn gosod allan eglurdeb y nefoedd; "oblegid beth bynag sydd yn egluro, goleuni yw." Yno nis gellir camgymeryd, bydd pob goruchwyliaeth wedi ei hesbonio; ac yno "yr adnabyddaf megis y'm hadwaenir." Goleuni i ddangos sirioldeb y nefoedd;—"Melus yn ddiau yw y goleuni, a hyfryd yw i'r llygaid weled yr haul." Yn y nefoedd bydd yno bawb wrth eu bodd, oblegid bydd yno bawb yn y goleu. Digonolrwydd llawenydd sydd ger dy fron, ac ar dy ddeheulaw y mae digrifwch yn dragywydd." "Etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Rhodded yr Arglwydd i ni gael rhan ynddi.

YR ORUCHWYLIAETH AR YR ETIFEDDION ER EU CYMHWYSO IDDI. "Gan ddiolch i'r Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys."

*Yr oruchwyliaeth yn ei natur*;—"gwnaeth ni yn gymhwys." Mae cymhwyso i fod ar bechadur cyn myned ag ef i'r nefoedd. Nid yw dyn yn ei gyflwr naturiol ddim yn gymhwys i fyned yno; nid yw y nefoedd ac yntau ddim yn taro

gilydd. Mae y cymhwysder yma yn gynwysedig mewn u beth; sef rhyddhad y person oddidan ddedfryd condemnd, ac adferiad ei natur ar ddelw Duw; yr hyn a elwir mewn iwinyddiaeth yn gyfiawnhad a sancteiddhad. Yn y cyfiawnd y mae y person yn cael ei ryddhau oddiwrth ddedfryd ndemniol y gyfraith; yn y sancteiddhad y mae natur ddiwedig dyn yn cael ei hadferu ar ddelw Duw. Yn y cyfwnhad y mae yr enaid yn cael hawl i'r nefoedd; yn y sanctddhad y mae yn cael cymhwysder i'r nefoedd. Yn y cyfwnhad y mae yn cael *title* i'r etifeddiaeth; yn y sancteiddd y mae yn cael parotoad i'r etifeddiaeth. "Yr hwn sydd madden dy holl anwireddau"—yn y cyfiawnhad; "Yr vn sydd yn iachau dy holl lesgedd"—yn y sancteidd d. Ac y mae adferiad ein natur i ddelw Duw yn llawn or angenrheidiol er ein cymhwyso i'r nefoedd, ag ydyw cymadwyo ein personau ger bron Duw:—"gwnaeth ni yn gym vys."

Yr oedd Iesu Grist yn dyweyd wrth ei ddysgyblion ychydig n gadael y ddaear, "Yr wyf fi yn myned i barotoi lle i wi." Nis gwn pa barotoi oedd ganddo i wneyd ar y nefdd chwaith, os nad cymeryd meddiant o honi; oblegid yr dd y deyrnas wedi ei pharotoi er cyn seiliad y byd;—ond y ae yn dyweyd ei fod ef yn myned i barotoi lle iddynt; ac ymyl hyny y mae yn sicrhau, ar ol ei fyned, yr anfonai yr sbryd Glan, y Diddanydd arall, i'w parotoi hwythau i'r lle. welwch yma—mae Iesu Grist yn y nef yn parotoi y lle iddt hwy, a'r Ysbryd ar y ddaear yn eu parotoi hwythau i'r ; ac erbyn y byddo y lle yn barod gan Grist, a hwythau barod gan yr Ysbryd, dyna fydd yn nefoedd fendigedig di hyny. Ac yn wir, pe cai y Cristion fyned i'r nefoedd b ei gymhwyso, ni byddai wrth ei fodd yno; oblegid nid d yn y nefoedd yn unig a wna ddyn yn ddedwydd; ond aid iddo feddu egwyddorion y nefoedd yn ei enaid, a'r egyddorion hyny yn awyr glir y nefoedd yn ymddadblygu, ny fydd perffeithiad ei ddedwyddwch. Gwyddom yn natur-

iol fod yn rhaid i ddyn deimlo fod y fan lle y byddo, yn ei daro, onide ni bydd wrth ni fodd yno. Beth feddylid am y gweithiwr bach tlawd, oddiar lechwedd un o fynyddoedd Cymru, yn cael ei wahodd i fynu i balas ei mawrhydi, ein brenhines, i giniaw at y teulu brenhinol?—Mae y bwrdd wedi ei hulio o'r danteithion brasaf; a phrif bendefigion y deyrnas i gydeistedd wrth y bwrdd i wledda. Arweiniwch y gweithiwr yn ei wisg lom i'r ystafell wledd at y cwmni urddasol; druan o hono, byddai yn well ganddo lechu yn nghil y drws na myned i mewn atynt. Nid am fod ganddo ddim yn erbyn neb o honynt; ac nid, yn wir, am na hoffai gael rhan o'r wledd, ond y mae cymaint o ddefodau yn nglyn â'u gwledda, fel y byddai yn well gan yr hen weithiwr eistedd yn môn y clawdd, dan gysgod y berth dewfrig, gyda'i grystyn sych a'i dynied llaeth; byddai y fan hono yn ei daro yn well na bod yn y palas brenhinol, gyda'r cwmni urddasol, wrth y bwrdd llawn. Rhaid i'r fan a ninau ateb ein gilydd cyn y byddwn yn ddedwydd. Ond byddai pechadur, pe cai fyned i'r nefoedd yn ei gyflwr gwreiddiol, yn fil annedwyddach; byddai presenoldeb yr orsedd yn boen iddo—dysgleirdeb wynebpryd y Gwr sydd ar yr orseddfainc yn arogl marwolaeth iddo—a gwisgoedd gwynion y dyrfa berffeithiedig yn adlewyrchu gwarth ar ei fratiau budron. Byddai yn well gan yr annuwiol gael llechu yn nghilfachau dyfnaf ogofau tywyllaf yr ail farwolaeth, na bod yn ymyl gorsedd Duw yn y nefoedd heb ei gymhwyso i fwynhau y lle. Rhaid cael y nefoedd ynom ni, cyn y byddwn ni yn gymhwys i'r nefoedd. Mae y môr yn rhedeg i fynu i'r afon cyn i'r afon gyrhaedd i'r môr. Rhaid cael egwyddorion ac ysbryd y nefoedd yn ein heneidiau ni ar y ddaear; a'r egwyddorion mawrion hyny yn awyr glir y nefoedd yn ymddadblygu, fydd perffeithiad ein dedwyddwch. A phan y deuwn ni yn gymhwys i'r nefoedd, cymer Duw ni yno. Cymeryd y goreu o'r ddaear y mae y nefoedd. Dywedai yr hybarch John Jones, Talsarn, "fod y nefoedd yn trin y ddaear yn galed iawn, trwy gymeryd y rhai goreu oddi-

arni; fel ambell i arolygwr yn yr Ysgol Sul, os bydd gan yr athraw ryw fachgen gwell am ddysgu na'r lleill, cymer hwnw i ddosbarth uwch, a gadael yr athraw i boeni gyda'r rhai salaf; fel yna y mae y nefoedd yn yspeilio y ddaear o'i goreuon." Os bydd rhyw blentyn anwylach na'i gilydd mewn teulu, rhaid i'r nefoedd ei gael. Os bydd rhyw wr ieuanc mwy gobeithiol na'i gyfoedion, cymer y nefoedd ef i ffwrdd. Os bydd rhyw ddiacon mwy gwerthfawr na'i gilydd yn yr eglwys, yspeilia y nefoedd ni o hono. Os bydd rhyw bregethwr mwy nodedig na'i frodyr yn y pwlpud, geilw y nefoedd arno gartref. Yn wir, y mae y nefoedd yn trin y ddaear yn lled arw, onid yw? Ond er hyny, y maent yn y teulu—"O'r hwn yr enwir yr holl deulu, yn y nefoedd ac ar y ddaear;"—a phan y deuwn ninau yn gymhwys, cawn ninau fyned hefyd.

"Gwnaeth ni yn gymhwys."

*Yr oruchwyliaeth yn ei gwrthddrychau*:—"*ni* yn gymhwys." Beth, ai tybed fod yn bosibl ein gwneyd "*ni*" yn gymhwys i'r goleuni? Beth oeddym ni? Pob peth gwaeth na'i gilydd y gellwch chwi feddwl am dano;—"plant digofaint megis eraill"—"gelynion mewn meddwl trwy weithredoedd drwg"—"halogedig o wadn y troed hyd goryn y pen"—"halogedig hyd yn nod eu meddwl a'u cydwybod." Ac a ydyw yn bosibl gwneyd y fath gymeriadau yn gymhwys i'w dangos yn y goleu? Gras mawr fuasai arbed pechadur rhag cael ei ddamnio; ond gras anfeidrol fwy ydyw gwneyd pechadur a dynwyd gan ddiafol trwy ffosydd ffieiddiaf llygredigaeth mor lân na wel sancteiddrwydd yr un ysmotyn arno; "yn ddifai ger bron gorseddfainc Duw," yn gymhwys i'w ddal yn y goleuni pur,—"*ni* yn gymhwys i'r goleuni."

*Yr oruchwyliaeth yn ei phrif weithydd*,—"y Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys." "*Gwnaeth* ni yn gymhwys." Mae gwneyd i fod ar bechadur cyn myned ag ef i'r nefoedd. Mae swn gwneyd mawr drwy y Beibl i gyd. Bu gwneyd mawr ar Grist mewn trefn i'w wneyd yn Waredwr cymhwys i bechadur:—ei wneyd o wraig; a'i wneyd dan y ddeddf;

mor agos i'w gilydd, ac wedi ymblethu yn eu gilydd, fel y mae perygl wrth gasglu yr efrau ddiwreiddio y gwenith gyda hwy; gan hyny, "Gadewch i'r ddau gyd dyfu hyd y cynhauaf,"—yna nis gellir camgymeryd y naill am y llall, na pherygl diwreiddio y naill wrth dynu y llall. Y cynhauaf a ddengys yr efrau a'r gwenith heb berygl eu camgymeryd. Felly y bydd yn niwedd y byd. Yma y mae y drwg a'r da, y duwiol a'r annuwiol, y cyfiawn a'r drygionus yn gymysgedig fel efrau a gwenith yn yr un maes, neu us a gwenith ar yr un llawr dyrnu. Y mae gwahaniaeth hanfodol rhyngddynt; ond y mae yn anhawdd yn fynych yn y byd hwn ei adnabod. Mae tri pheth yn ei gwneyd yn anhawdd, sef llygredd y duwiol; rhagrith yr annuwiol; a chyffredinedd goruchwyliaethau Rhagluniaeth tuag at y ddau. Mae y duwiol yn disgyn mor debyg i'r annuwiol; mae yr annuwiol yn gallu ymddangos mor debyg i'r duwiol; ac y mae Duw yn ei Ragluniaeth yn gwneyd cyn lleied o ragor rhyngddynt fel y mae yn hawdd iawn camgymeryd y naill am y llall. Mae Judas yn ymddangos mor debyg i sant, a Phedr yn tyngu a rhegu mor debyg i ddyn annuwiol fel y mae yn anhawdd eu gwahaniaethu. Yr oedd yr agwedd gymysglyd yma ar bethau yn nyddiau Malachi yn peri i annuwiolion ymhyfau, ac i'r saint ddigaloni. "Oferedd yw gwasanaethu Duw; a pha lesiant sydd er i ni gadw ei orchymynion ef, ac er i ni rodio yn alarus ger bron Arglwydd y lluoedd? ac yr awr hon yr ydym yn galw y beilchion yn wynfydedig; ïe, gweithredwyr drygioni a adeiladwyd; ïe, y rhai a demtiant Dduw a waredwyd." Y dynion annuwiolaf sydd yn byw oreu; gweithredwyr drygioni sydd yn llwyddo fwyaf; yr anffyddwyr gwaethaf sydd yn ymddangos yn cael eu ffafrio benaf; a'r bobl dduwiolaf sydd yn cael y cwpanau chwerwaf. Ond aroswch, ar y maes y maent yn awr, yn y cynhauaf y gwelir y gwahaniaeth. "Yna y dychwelwch ac y gwelwch ragor rhwng y cyfiawn a'r drygionus, rhwng yr hwn a wasanaetho Dduw a'r hwn nis gwasanaetho ef; canys wele y dydd yn dyfod yn llosgi megis ffwrn,

a'r holl feilchion a holl weithredwyr anwiredd a fyddant sofl, a'r dydd sydd yn dyfod a'u llysg hwynt, fel nas gadawo iddynt na gwreiddyn na changen." Dyma y drygionus yn ei wir gymeriad. "Ond haul cyfiawnder a gyfyd i chwi y rhai ydych yn ofni fy enw a meddyginiaeth yn ei esgyll; a chwi a ewch allan ac a gynnyddwch megis lloi pasgedig." "A byddant eiddof fi, medd Arglwydd y lluoedd, y dydd y gwnelwyf briodoledd; arbedaf hwynt hefyd fel yr arbed gwr ei fab sydd yn ei wasanaethu." Dyma y cyfiawn yn ei ogoniant. Mae terfyniad y ddameg hon yn dangos y ddau yn eu diwedd. Bwrir y drygionus "i'r ffwrn dân; yno y bydd wylofain a rhincian dannedd; a llewyrcha y rhai cyfiawn fel yr haul yn nheyrnas eu tad." Dyma y pryd y gwelir pob cymeriad y peth ydyw mewn gwirionedd. "Y cynhauaf yw diwedd y byd."

3. *Mae y cynhauaf yn adeg o ad-daliad; felly y bydd diwedd y byd.* Yn y cynhauaf fel rheol y mae pob un yn cael yn ol ei lafur blaenorol, "Y diog nid ardd o herwydd oerder y gauaf." Nid â yr amaethwr diog ddim allan i aredig yn y gauaf am ei bod yn oer. Gwell ganddo ef orwedd yn ei wely; neu eistedd ar yr aelwyd; neu lechu ynghysgod y fegin ar bentan yr efail, nag aredig ei faes; ond fe'i cospir am ei segurdod, "am hyny y cardota efe y cynhauaf, ac ni chaiff ddim." Mae natur yn onest iawn; mae yn talu yn dda i'r rhai sydd yn llafurio, ac yn cospi y rhai sydd yn esgeuluso. Yn y cynhauaf caiff pob un sefyll yn ei ran. Felly y bydd yn niwedd y byd. Bydd pob un yn "derbyn yn ol yr hyn a wnaeth pa un bynag fyddo ai da ai drwg." "Na thwyller chwi, ni watwarir Duw, canys beth bynag a hauo dyn hyny a fed efe. Yr hwn sydd yn hau i'r cnawd, o'r cnawd a fed lygredigaeth; a'r hwn sydd yn hau i'r ysbryd, o'r ysbryd a fed fywyd tragywyddol." Bydd y medi yn ol yr hau mewn rhyw a gradd; "beth bynag a hauo dyn hyny hefyd a fed efe;" "a'r hwn sydd yn hau yn brin a fed yn brin; a'r hwn sydd yn hau yn helaeth a fed hefyd yn helaeth." Dywedir yn awr wrth ryw rai sydd yn dyoddef anmharch, ac yn gwneyd aberth er mwyn

ei enw ef, "fe a delir i chwi yn adgyfodiad y rhai cyfiawn;" a bygythir ei ddyfodiad ar ryw rai, "a thân fflamllyd, gan roddi dial i'r sawl nid adwaenant Dduw, ac nid ydynt yn ufuddhou i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist." Fel y mae y cynhauaf yn adeg o adaliad y mae hefyd yn adeg o gymysg deimladau. "Llawenydd amser cynhauaf," ydyw llawenydd mwyaf yr amaethwr. Llawenydd "amlhad eu hŷd a'u gwin hwynt;" a thristwch mwyaf bywyd yr amaethwr ydyw cynhauaf methiedig. Nis gallasai Habacuc ddychmygu am drallod mwy na holl gynyrch y flwyddyn yn methu. A thra y mae y diwyd yn casglu ei ysgubau gyda llawenydd amser cynhauaf, y mae y diog yn newynog o ddrws i ddrws yn cardota, heb gael dim. Felly y bydd yn niwedd y byd hwn, "Eithr i'r rhai sydd gynhenus ac anufudd i'r gwirionedd, eithr ufudd i anghyfiawnder y bydd llid a digofaint, trallod ac ing ar bob enaid dyn sydd yn gwneuthur drwg; eithr gogoniant, anrhydedd, a thangnefedd i bob un sydd yn gwneuthur daioni." Saif pob un yn ei ran yn niwedd y dyddiau. "A'r cynhauaf yw diwedd y byd."

4. *Mae y cynhauaf yn rhoddi rhagolygon clir ar y dyfodol: felly y bydd yn niwedd y byd.* Mae pryder mawr yn meddwl yr amaethwr nes cael y cynhauaf. Y mae yn dal ar bob gwynt—yn edrych ar bob cwmwl—yn ofni pob cyfnewidiad, oblegid y mae cynhaliaeth yn yr amser a ddaw yn ymddibynu ar y cynhauaf a geir. Os prin a methianus a fydd y cynhauaf, pruddaidd fydd y rhagolygon erbyn y dyfodol; ond os ceir cynhauaf da, gellir edrych yn ddiofn ar y gauaf du. Felly y bydd yn niwedd y byd. Dyma yr adeg y deuwn i ddeall yn eglur beth a fyddwn am dragywyddoldeb. Byddwn naill ai wedi ei cholli am byth, neu ynte wedi ein gwneyd am dragywyddoldeb. Oh! y rhagolygon pruddaidd fydd yn ymagor o flaen miloedd. Bydd y geiriau dwys sydd yn llyfr y proffwyd Jeremiah wedi dyfod yn brofiad chwerw yn eu heneidiau;—"Y cynhauaf a aeth heibio, darfu yr haf, ac nid ydym ni gadwedig!" Bydd cynwysiad y geiriau yna wedi

eu golchi o'r llyfr i gydwybod yr annuwiol, ac yn ei llenwi âg euogrwydd chwerw. Hafddydd bywyd wedi myned heibio, cynhauaf yr enaid wedi darfod, a dim wedi ei ddarparu ar gyfer y gauaf tragywyddol. Crwydro creigydd moelion, oerllyd, Gehena yn gardotyn newynog, ac heb gael dim. O ! y dyfodol tlawd.

Ond y mae yna filoedd wedi ei gwneyd hi ; gallant edrych yn mlaen yn ddiofn. Agored tragywyddoldeb ei fynwes, estyned ei freichiau, y mae "daioni yn nghadw iddynt dros ddyddiau lawer." Mae "digonolrwydd llawenydd" yn eu haros ; "a digrifwch yn dragywydd" o'u blaen. Edrychant ar angau yn ddiofn—wynebant y frawdle yn ddiarswyd—croesawant ddyfodiad y Barnwr gyda gorfoledd—a derbyn iant o'i enau y gwahoddiad anrhydeddus,—"Deuwch, chwi fendigedigion blant fy Nhad ; etifeddwch y deyrnas a barotowyd i chwi er cyn seiliad y byd." "A'r cynhauaf yw diwedd y byd."

Mae ystyr arall hefyd yn yr hon y mae yn awr yn gynhauaf arnom. Cynhauaf breintiau yr efengyl ydyw ein dydd hwn ; a chyfle genym i barotoi erbyn yr amser a ddaw ; a "Mab gwaradwyddus yw yr hwn a gwsg yn amser cynhauaf." O ! wrandawyr anwyl, gwyliwch golli y cyfle, eich "dydd hwn !" Mae eich tragywyddoldeb yn troi ar y defnydd a wnewch o hono. Y diwedd !—Mae rhyw ddifrifwch yn y gair ; diwedd dydd—diwedd blwyddyn—diwedd bywyd—diwedd y byd ! O ! beth a fyddwn yn y diwedd ? "Ystyr y perffaith, ac edrych ar yr uniawn, canys diwedd y gwr hwnw fydd tangnefedd."

# PREGETH XIII.

## ETIFEDDIAETH Y SAINT.

COLOSSIAID i. 12.

"Gan ddiolch i'r Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni."

Mae y testyn yn galw ein sylw at etifeddiaeth y saint yn y goleuni; a'r oruchwyliaeth ar yr etifeddion er eu cymhwyso iddi.

"ETIFEDDIAETH Y SAINT YN Y GOLEUNI." *Yr etifeddiaeth*—*Yr etifeddion*—a *Sefyllfa yr etifeddiaeth*:—"Etifeddiaeth y saint yn y goleuni."

*Yr etifeddiaeth.* Beth ydyw? Cynwysir ynddi holl freintiau crefydd yn y byd yma, a holl wobrau crefydd yn y byd nesaf, "can' cymaint" yn y byd hwn, "ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol." Nis gwn pa faint sydd yn gynwysedig yn yn y can' cymaint" yn y byd yma, llawer llai y gwn pa faint sydd yn gynwysedig yn y "bywyd tragywyddol," yn y byd nesaf; ond pa faint bynag sydd yn gynwysedig ynddynt, y mae y cwbl wedi ei gynwys yn gryno yn yr ymadrodd hwn —"*etifeddiaeth.*" Mae etifeddiaeth yn dwyn tri pheth i'n meddwl,—mawredd, gwychder, a pharhad; ac y mae y tri pheth yna yn gyflawn yn etifeddiaeth y testyn. Am ei mawredd, y mae eto heb ei mesur, o leiaf, y mae ei mesuriad heb ei roddi i ni. Am ei gwychder, y mae uwchlaw darluniad; gwelodd Paul hi, ond yr oedd yn rhy fawreddog i gynyg tynu darlun o honi; nid oedd ganddo ddim ond gwaeddi, "Annhraethadwy a gogoneddus." Ac am ei pharhad, digon yw dyweyd, "a bywyd tragywyddol a etifedda efe." Dyna i

chwi rywbeth a gydreda yn gyfochrog â'r enaid am oes y Duwdod.

*Yr etifeddion* :—"etifeddiaeth y saint." Y saint, dyma yr etifeddion; y maent "yn etifeddion i Dduw, ac yn gyd-etifeddion â Christ;" ac y mae pob dyn duwiol yn "etifedd i Dduw trwy Grist." Mae dynion yn dyfod i etifeddiaethau yn y byd trwy un o dair ffordd; trwy achyddiaeth—trwy ewyllys—a thrwy bryniad. Mae y cyntaf-anedig yn dyfod i'w etifeddiaeth yn achyddol; efe yw yr etifedd; ac os oes etifeddiaeth, y mae yn dyfod iddo trwy hawlfraint berthynasol. Mae ambell un yn dyfod i etifeddiaeth trwy ewyllys. Rhyw hen ewythyr cyfoethog yn marw yn ddiblant, ac yn gadael ei etifeddiaeth ar ei ol yn ei ewyllys i'w nai. Ac y mae llawer iawn yn y dyddiau yma yn dyfod i etifeddiaethau trwy bryniad. Dynion o'r dosbarth gweithiol yn ymgodi trwy ddiwydrwydd, a sobrwydd, a gonestrwydd, ac yn prynu etifeddiaethau iddynt eu hunain, y rhai y gorfodid hen ystadwyr pendefigol i'w gwerthu, oblegid iddynt trwy wastraff ac afradlonedd redeg trwyddynt; ac yn wir, y mae hono yn ffordd anrhydeddus iawn i ddyfod i etifeddiaeth, y gall dyn edrych arni a'i mwynhau fel ffrwyth llafur caled ei feddwl a'i ddwylaw ei hun. Mae y Cristion yn etifedd yn y tair ffordd yma. Mae yn etifedd yn achyddol trwy hawlfraint berthynasol;—"Ac os plant, etifeddion hefyd." "Os plant," nid oes dim dadl am yr etifeddiaeth. Os ydych yn sicr eich bod yn blant, yr wyf yn sicr eich bod yn etifeddion. Mae yn y berthynas i'r holl blant. Maent yn etifeddion trwy ewyllys;—"Y Tad cyfiawn, yr wyf yn ewyllysio lle yr wyf fi fod o honynt hwythau hefyd gyda myfi." Ni bydd Iesu Grist yn foddlawn yn y nefoedd nes cael ei deulu yno ato. Ac y maent yn etifeddion trwy bryniad; talodd y Meichiau yn llawn am dani ar Galfaria un prydnawn wrth farw, ac y mae yr etifeddiaeth yn rhydd o ddyled i'r etifeddion. "Yr hwn yw ernes ein hetifeddiaeth hyd bryniad y pwrcas i fawl ei ogoniant ef." Y maent yn etifeddion triphlyg; a "rhaff dair cainc ni thorir ar frys."

*Sefyllfa yr etifeddiaeth*;—"etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Mae ymadrodd cyfystr gan yr Apostol Pedr,—"I etifeddiaeth anllygredig, a dihalogedig, a diddiflanedig; ac yn nghadw yn y nefoedd i chwi." Yn wir, y mae yn dda i ni mai yn y nefoedd y mae yn nghadw; oblegid pe cawsem ni yr etifeddiaeth dan ein llaw ein hunain, buasem yn lled debyg o fyned trwyddi er cymaint ydyw. Rhoddwyd etifeddiaeth eang iawn i'n rhieni cyntaf i ddechreu eu byd yn Eden; ond ni bu yr hen bobl fawr o dro cyn myned trwy y cwbl; mae eu plant wedi myn'd heb ddim; ond yn nhrefn y cyfamod newydd cadwodd Duw yr etifeddiaeth dan ei law ei hun, yn y nefoedd; ond y mae yn rhoddi ei llog i fagu yr etifeddion tra y maent o dan oed; dyma y can' cymaint yn y byd hwn; ond y mae yr etifeddiaeth yn nghadw yn y nefoedd i chwi:—"etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Goleuni yn gosod allan burdeb y nefoedd. Yr elfen buraf yw y goleuni. "Goleuni yw Duw," i osod allan burdeb ei natur; ac etifeddiaeth yn y goleuni yw etifeddiaeth y saint. Goleuni yn gosod allan eglurdeb y nefoedd; "oblegid beth bynag sydd yn egluro, goleuni yw." Yno nis gellir camgymeryd, bydd pob goruchwyliaeth wedi ei hesbonio; ac yno "yr adnabyddaf megis y'm hadwaenir." Goleuni i ddangos sirioldeb y nefoedd;—"Melus yn ddiau yw y goleuni, a hyfryd yw i'r llygaid weled yr haul." Yn y nefoedd bydd yno bawb wrth eu bodd, oblegid bydd yno bawb yn y goleu. Digonolrwydd llawenydd sydd ger dy fron, ac ar dy ddeheulaw y mae digrifwch yn dragywydd." "Etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Rhodded yr Arglwydd i ni gael rhan ynddi.

YR ORUCHWYLIAETH AR YR ETIFEDDION ER EU CYMHWYSO IDDI. "Gan ddiolch i'r Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys."

*Yr oruchwyliaeth yn ei natur*;—"gwnaeth ni yn gymhwys." Mae cymhwyso i fod ar bechadur cyn myned ag ef i'r nefoedd. Nid yw dyn yn ei gyflwr naturiol ddim yn gymhwys i fyned yno; nid yw y nefoedd ac yntau ddim yn taro

u gilydd. Mae y cymhwysder yma yn gynwysedig mewn au beth; sef rhyddhad y person oddiwrth ddedfryd condemn-ıd, ac adferiad ei natur ar ddelw Duw; yr hyn a elwir mewn uwinyddiaeth yn gyfiawnhad a sancteiddhad. Yn y cyfiawn-ad y mae y person yn cael ei ryddhau oddiwrth ddedfryd ondemniol y gyfraith; yn y sancteiddhad y mae natur ddi-ywedig dyn yn cael ei hadferu ar ddelw Duw. Yn y cyf-ıwnhad y mae yr enaid yn cael hawl i'r nefoedd; yn y sanct-iddhad y mae yn cael cymhwysder i'r nefoedd. Yn y cyf-ıwnhad y mae yn cael *title* i'r etifeddiaeth; yn y sancteidd-ad y mae yn cael parotoad i'r etifeddiaeth. "Yr hwn sydd n maddeu dy holl anwireddau"—yn y cyfiawnhad; "Yr wn sydd yn iachau dy holl lesgedd"—yn y sancteidd-ıd. Ac y mae adferiad ein natur i ddelw Duw yn llawn ıor angenrheidiol er ein cymhwyso i'r nefoedd, ag ydyw cym-'adwyo ein personau ger bron Duw:—"gwnaeth ni yn gym wys."

Yr oedd Iesu Grist yn dyweyd wrth ei ddysgyblion ychydig yn gadael y ddaear, "Yr wyf fi yn myned i barotoi lle i ıwi." Nis gwn pa barotoi oedd ganddo i wneyd ar y nef-ədd chwaith, os nad cymeryd meddiant o honi; oblegid yr ədd y deyrnas wedi ei pharotoi er cyn seiliad y byd;—ond y ıae yn dyweyd ei fod ef yn myned i barotoi lle iddynt; ac ı ymyl hyny y mae yn sicrhau, ar ol ei fyned, yr anfonai yr 'sbryd Glan, y Diddanydd arall, i'w parotoi hwythau i'r lle. welwch yma—mae Iesu Grist yn y nef yn parotoi y lle idd-ıt hwy, a'r Ysbryd ar y ddaear yn eu parotoi hwythau i'r ə; ac erbyn y byddo y lle yn barod gan Grist, a hwythau n barod gan yr Ysbryd, dyna fydd yn nefoedd fendigedig edi hyny. Ac yn wir, pe cai y Cristion fyned i'r nefoedd ab ei gymhwyso, ni byddai wrth ei fodd yno; oblegid nid od yn y nefoedd yn unig a wna ddyn yn ddedwydd; ond aid iddo feddu egwyddorion y nefoedd yn ei enaid, a'r eg-'yddorion hyny yn awyr glir y nefoedd yn ymddadblygu, yny fydd perffeithiad ei ddedwyddwch. Gwyddom yn natur-

iol fod yn rhaid i ddyn deimlo fod y fan lle y byddo, yn ei daro, onide ni bydd wrth ni fodd yno. Beth feddylid am y gweithiwr bach tlawd, oddiar lechwedd un o fynyddoedd Cymru, yn cael ei wahodd i fynu i balas ei mawrhydi, ein brenhines, i giniaw at y teulu brenhinol ?—Mae y *bwrdd wedi* ei hulio o'r danteithion brasaf ; a phrif bendefigion y deyrnas i gydeistedd wrth y bwrdd i wledda. Arweiniwch y gweithiwr yn ei wisg lom i'r ystafell wledd at y cwmni urddasol ; druan o hono, byddai yn well ganddo lechu yn nghil y drws na myned i mewn atynt. Nid am fod ganddo ddim yn erbyn neb o honynt ; ac nid, yn wir, am na hoffai gael rhan o'r wledd, ond y mae cymaint o ddefodau yn nglyn â'u gwledda, fel y byddai yn well gan yr hen weithiwr eistedd yn môn y clawdd, dan gysgod y berth dewfrig, gyda'i grystyn sych a'i dynied llaeth ; byddai y fan hono yn ei daro yn well na bod yn y palas brenhinol, gyda'r cwmni urddasol, wrth y bwrdd llawn. Rhaid i'r fan a ninau ateb ein gilydd cyn y byddwn yn ddedwydd. Ond byddai pechadur, pe cai fyned i'r nefoedd yn ei gyflwr gwreiddiol, yn fil annedwyddach ; byddai presenoldeb yr orsedd yn boen iddo—dysgleirdeb wynebpryd y Gwr sydd ar yr orseddfainc yn arogl marwolaeth iddo—a gwisgoedd gwynion y dyrfa berffeithiedig yn adlewyrchu gwarth ar ei fratiau budron. Byddai yn well gan yr annuwiol gael llechu yn nghilfachau dyfnaf ogofau tywyllaf yr ail farwolaeth, na bod yn ymyl gorsedd Duw yn y nefoedd heb ei gymhwyso i fwynhau y lle. Rhaid cael y nefoedd ynom ni, cyn y byddwn ni yn gymhwys i'r nefoedd. Mae y môr yn rhedeg i fynu i'r afon cyn i'r afon gyrhaedd i'r môr. Rhaid cael egwyddorion ac ysbryd y nefoedd yn ein heneidiau ni ar y ddaear ; a'r egwyddorion mawrion hyny yn awyr glir y nefoedd yn ymddadblygu, fydd perffeithiad ein dedwyddwch. A phan y deuwn ni yn gymhwys i'r nefoedd, cymer Duw ni yno. Cymeryd y goreu o'r ddaear y mae y nefoedd. Dywedai yr hybarch John Jones, Talsarn, "fod y nefoedd yn trin y ddaear yn galed iawn, trwy gymeryd y rhai goreu oddi-

arni; fel ambell i arolygwr yn yr Ysgol Sul, os bydd gan yr athraw ryw fachgen gwell am ddysgu na'r lleill, cymer hwnw i ddosbarth uwch, a gadael yr athraw i boeni gyda'r rhai salaf; fel yna y mae y nefoedd yn yspeilio y ddaear o'i goreuon." Os bydd rhyw blentyn anwylach na'i gilydd mewn teulu, rhaid i'r nefoedd ei gael. Os bydd rhyw wr ieuanc mwy gobeithiol na'i gyfoedion, cymer y nefoedd ef i ffwrdd. Os bydd rhyw ddiacon mwy gwerthfawr na'i gilydd yn yr eglwys, yspeilia y nefoedd ni o hono. Os bydd rhyw bregethwr mwy nodedig na'i frodyr yn y pwlpud, geilw y nefoedd arno gartref. Yn wir, y mae y nefoedd yn trin y ddaear yn lled arw, onid yw? Ond er hyny, y maent yn y teulu—"O'r hwn yr enwir yr holl deulu, yn y nefoedd ac ar y ddaear;"—a phan y deuwn ninau yn gymhwys, cawn ninau fyned hefyd.

"Gwnaeth ni yn gymhwys."

*Yr oruchwyliaeth yn ei gwrthddrychau*:—"*ni* yn gymhwys." Beth, ai tybed fod yn bosibl ein gwneyd "*ni*" yn gymhwys i'r goleuni? Beth oeddym ni? Pob peth gwaeth na'i gilydd y gellwch chwi feddwl am dano;—"plant digofaint megis eraill"—"gelynion mewn meddwl trwy weithredoedd drwg"—"halogedig o wadn y troed hyd goryn y pen"—"halogedig hyd yn nod eu meddwl a'u cydwybod." Ac a ydyw yn bosibl gwneyd y fath gymeriadau yn gymhwys i'w dangos yn y goleu? Gras mawr fuasai arbed pechadur rhag cael ei ddamnio; ond gras anfeidrol fwy ydyw gwneyd pechadur a dynwyd gan ddiafol trwy ffosydd ffieiddiaf llygredigaeth mor lân na wel sancteiddrwydd yr un ysmotyn arno; "yn ddifai ger bron gorseddfainc Duw," yn gymhwys i'w ddal yn y goleuni pur,—"*ni* yn gymhwys i'r goleuni."

*Yr oruchwyliaeth yn ei phrif weithydd*,—"y Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys." "*Gwnaeth* ni yn gymhwys." Mae gwneyd i fod ar bechadur cyn myned ag ef i'r nefoedd. Mae swn gwneyd mawr drwy y Beibl i gyd. Bu gwneyd mawr ar Grist mewn trefn i'w wneyd yn Waredwr cymhwys i bechadur:—ei wneyd o wraig; a'i wneyd dan y ddeddf;

mor agos i'w gilydd, ac wedi ymblethu yn eu gilydd, fel y *mae* perygl wrth gasglu yr efrau ddiwreiddio y gwenith gyda hwy; gan hyny, "Gadewch i'r ddau gyd dyfu hyd y cynhauaf,"— yna nis gellir camgymeryd y naill am y llall, na *pherygl* diwreiddio y naill wrth dynu y llall. Y cynhauaf a *ddengys* yr efrau a'r gwenith heb berygl eu camgymeryd. Felly y *bydd* yn niwedd y byd. Yma y mae y drwg a'r da, y duwiol a'r annuwiol, y cyfiawn a'r drygionus yn gymysgedig fel efrau a gwenith yn yr un maes, neu us a gwenith ar yr un llawr dyrnu. Y mae gwahaniaeth hanfodol rhyngddynt; ond y mae yn anhawdd yn fynych yn y byd hwn ei adnabod. Mae tri pheth yn ei gwneyd yn anhawdd, sef llygredd y duwiol; rhagrith yr annuwiol; a chyffredinedd goruchwyliaethau Rhagluniaeth tuag at y ddau. Mae y duwiol yn disgyn mor debyg i'r annuwiol; mae yr annuwiol yn gallu ymddangos mor debyg i'r duwiol; ac y mae Duw yn ei Ragluniaeth yn gwneyd cyn lleied o ragor rhyngddynt fel y mae yn hawdd iawn camgymeryd y naill am y llall. Mae Judas yn ymddangos mor debyg i sant, a Phedr yn tyngu a rhegu mor debyg i ddyn annuwiol fel y mae yn anhawdd eu gwahaniaethu. Yr oedd yr agwedd gymysglyd yma ar bethau yn nyddiau Malachi yn peri i annuwiolion ymhyfau, ac i'r saint ddigaloni. "Oferedd yw gwasanaethu Duw; a pha lesiant sydd er i ni gadw ei orchymynion ef, ac er i ni rodio yn alarus ger bron Arglwydd y lluoedd? ac yr awr hon yr ydym yn galw y beilchion yn wynfydedig; ïe, gweithredwyr drygioni a adeiladwyd; ïe, y rhai a demtiant Dduw a waredwyd." Y dynion annuwiolaf sydd yn byw oreu; gweithredwyr drygioni sydd yn llwyddo fwyaf; yr anffyddwyr gwaethaf sydd yn ymddangos yn cael eu ffafrio benaf; a'r bobl dduwiolaf sydd yn cael y cwpanau chwerwaf. Ond aroswch, ar y maes y maent yn awr, yn y cynhauaf y gwelir y gwahaniaeth. "Yna y dychwelwch ac y gwelwch ragor rhwng y cyfiawn a'r drygionus, rhwng yr hwn a wasanaetho Dduw a'r hwn nis gwasanaetho ef; canys wele y dydd yn dyfod yn llosgi megis ffwrn,

a'r holl feilchion a holl weithredwyr anwiredd a fyddant sofl, a'r dydd sydd yn dyfod a'u llysg hwynt, fel nas gadawo iddynt na gwreiddyn na changen." Dyma y drygionus yn ei wir gymeriad. "Ond haul cyfiawnder a gyfyd i chwi y rhai ydych yn ofni fy enw a meddyginiaeth yn ei esgyll; a chwi a ewch allan ac a gynnyddwch megis lloi pasgedig." "A byddant eiddof fi, medd Arglwydd y lluoedd, y dydd y gwnelwyf briodoledd; arbedaf hwynt hefyd fel yr arbed gwr ei fab sydd yn ei wasanaethu." Dyma y cyfiawn yn ei ogoniant. Mae terfyniad y ddameg hon yn dangos y ddau yn eu diwedd. Bwrir y drygionus "i'r ffwrn dân; yno y bydd wylofain a rhincian dannedd; a llewyrcha y rhai cyfiawn fel yr haul yn nheyrnas eu tad." Dyma y pryd y gwelir pob cymeriad y peth ydyw mewn gwirionedd. "Y cynhauaf yw diwedd y byd."

3. *Mae y cynhauaf yn adeg o ad-daliad; felly y bydd diwedd y byd.* Yn y cynhauaf fel rheol y mae pob un yn cael yn ol ei lafur blaenorol, "Y diog nid ardd o herwydd oerder y gauaf." Nid â yr amaethwr diog ddim allan i aredig yn y gauaf am ei bod yn oer. Gwell ganddo ef orwedd yn ei wely; neu eistedd ar yr aelwyd; neu lechu ynghysgod y fegin ar bentan yr efail, nag aredig ei faes; ond fe'i cospir am ei segurdod, "am hyny y cardota efe y cynhauaf, ac ni chaiff ddim." Mae natur yn onest iawn; mae yn talu yn dda i'r rhai sydd yn llafurio, ac yn cospi y rhai sydd yn esgeuluso. Yn y cynhauaf caiff pob un sefyll yn ei ran. Felly y bydd yn niwedd y byd. Bydd pob un yn "derbyn yn ol yr hyn a wnaeth pa un bynag fyddo ai da ai drwg." "Na thwyller chwi, ni watwarir Duw, canys beth bynag a hauo dyn hyny a fed efe. Yr hwn sydd yn hau i'r cnawd, o'r cnawd a fed lygredigaeth; a'r hwn sydd yn hau i'r ysbryd, o'r ysbryd a fed fywyd tragywyddol." Bydd y medi yn ol yr hau mewn rhyw a gradd; "beth bynag a hauo dyn hyny hefyd a fed efe;" "a'r hwn sydd yn hau yn brin a fed yn brin; a'r hwn sydd yn hau yn helaeth a fed hefyd yn helaeth." Dywedir yn awr wrth ryw rai sydd yn dyoddef anmharch, ac yn gwneyd aberth er mwyn

ei enw ef, "fe a delir i chwi yn adgyfodiad y rhai cyfiawn;" a bygythir ei ddyfodiad ar ryw rai, "a thân fflamllyd, gan roddi dial i'r sawl nid adwaenant Dduw, ac nid ydynt yn ufuddhau i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist." Fel y mae y cynhauaf yn adeg o adaliad y mae hefyd yn adeg o gymysg deimladau. "Llawenydd amser cynhauaf," ydyw llawenydd mwyaf yr amaethwr. Llawenydd "amlhad eu hŷd a'u gwin hwynt;" a thristwch mwyaf bywyd yr amaethwr ydyw cynhauaf methiedig. Nis gallasai Habacuc ddychmygu am drallod mwy na holl gynyrch y flwyddyn yn methu. A thra y mae y diwyd yn casglu ei ysgubau gyda llawenydd amser cynhauaf, y mae y diog yn newynog o ddrws i ddrws yn cardota, heb gael dim. Felly y bydd yn niwedd y byd hwn, "Eithr i'r rhai sydd gynhenus ac anufudd i'r gwirionedd, eithr ufudd i anghyfiawnder y bydd llid a digofaint, trallod ac ing ar bob enaid dyn sydd yn gwneuthur drwg; eithr gogoniant, anrhydedd, a thangnefedd i bob un sydd yn gwneuthur daioni." Saif pob un yn ei ran yn niwedd y dyddiau. "A'r cynhauaf yw diwedd y byd."

4. *Mae y cynhauaf yn rhoddi rhagolygon clir ar y dyfodol: felly y bydd yn niwedd y byd.* Mae pryder mawr yn meddwl yr amaethwr nes cael y cynhauaf. Y mae yn dal ar bob gwynt—yn edrych ar bob cwmwl—yn ofni pob cyfnewidiad, oblegid y mae cynhaliaeth yn yr amser a ddaw yn ymddibynu ar y cynhauaf a geir. Os prin a methianus a fydd y cynhauaf, pruddaidd fydd y rhagolygon erbyn y dyfodol; ond os ceir cynhauaf da, gellir edrych yn ddiofn ar y gauaf du. Felly y bydd yn niwedd y byd. Dyma yr adeg y deuwn i ddeall yn eglur beth a fyddwn am dragywyddoldeb. Byddwn naill ai wedi ei cholli am byth, neu ynte wedi ein gwneyd am dragywyddoldeb. Oh! y rhagolygon pruddaidd fydd yn ymagor o flaen miloedd. Bydd y geiriau dwys sydd yn llyfr y proffwyd Jeremiah wedi dyfod yn brofiad chwerw yn eu heneidiau;—"Y cynhauaf a aeth heibio, darfu yr haf, ac nid ydym ni gadwedig!" Bydd cynwysiad y geiriau yna wedi

eu golchi o'r llyfr i gydwybod yr annuwiol, ac yn ei llenwi âg euogrwydd chwerw. Hafddydd bywyd wedi myned heibio, cynhauaf yr enaid wedi darfod, a dim wedi ei ddarparu ar gyfer y gauaf tragywyddol. Crwydro creigydd moelion, oer-llyd, Gehena yn gardotyn newynog, ac heb gael dim. O! y dyfodol tlawd.

Ond y mae yna filoedd wedi ei gwneyd hi; gallant edrych yn mlaen yn ddiofn. Agored tragywyddoldeb ei fynwes, es-tyned ei freichiau, y mae "daioni yn nghadw iddynt dros ddyddiau lawer." Mae "digonolrwydd llawenydd" yn eu haros; "a digrifwch yn dragywydd" o'u blaen. Edrychant ar angau yn ddiofn—wynebant y frawdle yn ddiarswyd—croesawant ddyfodiad y Barnwr gyda gorfoledd—a derbyn iant o'i enau y gwahoddiad anrhydeddus,—"Deuwch, chwi fendigedigion blant fy Nhad; etifeddwch y deyrnas a barotowyd i chwi er cyn seiliad y byd." "A'r cynhauaf yw diwedd y byd."

Mae ystyr arall hefyd yn yr hon y mae yn awr yn gynhauaf arnom. Cynhauaf breintiau yr efengyl ydyw ein dydd hwn; a chyfle genym i barotoi erbyn yr amser a ddaw; a "Mab gwaradwyddus yw yr hwn a gwsg yn amser cynhauaf." O! wrandawyr anwyl, gwyliwch golli y cyfle, eich "dydd hwn!" Mae eich tragywyddoldeb yn troi ar y defnydd a wnewch o hono. Y diwedd!—Mae rhyw ddifrifwch yn y gair; diwedd dydd—diwedd blwyddyn—diwedd bywyd—diwedd y byd! O! beth a fyddwn yn y diwedd? "Ystyr y perffaith, ac edrych ar yr uniawn, canys diwedd y gwr hwnw fydd tang-nefedd."

# PREGETH XIII.

## ETIFEDDIAETH Y SAINT.

COLOSSIAID i. 12.

"Gan ddiolch i'r Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni."

Mae y testyn yn galw ein sylw at etifeddiaeth y saint yn y goleuni; a'r oruchwyliaeth ar yr etifeddion er eu cymhwyso iddi.

"ETIFEDDIAETH Y SAINT YN Y GOLEUNI." *Yr etifeddiaeth*—*Yr etifeddion*—a *Sefyllfa yr etifeddiaeth*:—"Etifeddiaeth y saint yn y goleuni."

*Yr etifeddiaeth.* Beth ydyw? Cynwysir ynddi holl freintiau crefydd yn y byd yma, a holl wobrau crefydd yn y byd nesaf, "can' cymaint" yn y byd hwn, "ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol." Nis gwn pa faint sydd yn gynwysedig yn yn y can' cymaint" yn y byd yma, llawer llai y gwn pa faint sydd yn gynwysedig yn y "bywyd tragywyddol," yn y byd nesaf; ond pa faint bynag sydd yn gynwysedig ynddynt, y mae y cwbl wedi ei gynwys yn gryno yn yr ymadrodd hwn—"*etifeddiaeth.*" Mae etifeddiaeth yn dwyn tri pheth i'n meddwl,—mawredd, gwychder, a pharhad; ac y mae y tri pheth yna yn gyflawn yn etifeddiaeth y testyn. Am ei mawredd, y mae eto heb ei mesur, o leiaf, y mae ei mesuriad heb ei roddi i ni. Am ei gwychder, y mae uwchlaw darluniad; gwelodd Paul hi, ond yr oedd yn rhy fawreddog i gynyg tynu darlun o honi; nid oedd ganddo ddim ond gwaeddi, "Annhraethadwy a gogoneddus." Ac am ei pharhad, digon yw dyweyd, "a bywyd tragywyddol a etifedda efe." Dyna i

chwi rywbeth a gydreda yn gyfochrog â'r enaid am oes y Duwdod.

*Yr etifeddion* :—"etifeddiaeth y saint." Y saint, dyma yr etifeddion; y maent "yn etifeddion i Dduw, ac yn gyd-etifeddion â Christ;" ac y mae pob dyn duwiol yn "etifedd i Dduw trwy Grist." Mae dynion yn dyfod i etifeddiaethau yn y byd trwy un o dair ffordd; trwy achyddiaeth—trwy ewyllys—a thrwy bryniad. Mae y cyntaf-anedig yn dyfod i'w etifeddiaeth yn achyddol; efe yw yr etifedd; ac os oes etifeddiaeth, y mae yn dyfod iddo trwy hawlfraint berthynasol. Mae ambell un yn dyfod i etifeddiaeth trwy ewyllys. Rhyw hen ewythyr cyfoethog yn marw yn ddiblant, ac yn gadael ei etifeddiaeth ar ei ol yn ei ewyllys i'w nai. Ac y mae llawer iawn yn y dyddiau yma yn dyfod i etifeddiaethau trwy bryniad. Dynion o'r dosbarth gweithiol yn ymgodi trwy ddiwydrwydd, a sobrwydd, a gonestrwydd, ac yn prynu etifeddiaethau iddynt eu hunain, y rhai y gorfodid hen ystadwyr pendefigol i'w gwerthu, oblegid iddynt trwy wastraff ac afradlonedd redeg trwyddynt; ac yn wir, y mae hono yn ffordd anrhydeddus iawn i ddyfod i etifeddiaeth, y gall dyn edrych arni a'i mwynhau fel ffrwyth llafur caled ei feddwl a'i ddwylaw ei hun. Mae y Cristion yn etifedd yn y tair ffordd yma. Mae yn etifedd yn achyddol trwy hawlfraint berthynasol;—"Ac os plant, etifeddion hefyd." "Os plant," nid oes dim dadl am yr etifeddiaeth. Os ydych yn sicr eich bod yn blant, yr wyf yn sicr eich bod yn etifeddion. Mae yn y berthynas i'r holl blant. Maent yn etifeddion trwy ewyllys;—"Y Tad cyfiawn, yr wyf yn ewyllysio lle yr wyf fi fod o honynt hwythau hefyd gyda myfi." Ni bydd Iesu Grist yn foddlawn yn y nefoedd nes cael ei deulu yno ato. Ac y maent yn etifeddion trwy bryniad; talodd y Meichiau yn llawn am dani ar Galfaria un prydnawn wrth farw, ac y mae yr etifeddiaeth yn rhydd o ddyled i'r etifeddion. "Yr hwn yw ernes ein hetifeddiaeth hyd bryniad y pwrcas i fawl ei ogoniant ef." Y maent yn etifeddion triphlyg; a "rhaff dair cainc ni thorir ar frys."

*Sefyllfa yr etifeddiaeth*;—"etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Mae ymadrodd cyfystr gan yr Apostol Pedr,—"I etifeddiaeth anllygredig, a dihalogedig, a diddiflanedig; *ac yn nghadw yn y nefoedd i chwi.*" Yn wir, y mae yn dda i ni mai yn y nefoedd y mae yn nghadw; oblegid pe cawsem ni yr etifeddiaeth dan ein llaw ein hunain, buasem yn lled debyg o fyned trwyddi er cymaint ydyw. Rhoddwyd etifeddiaeth ëang iawn i'n rhieni cyntaf i ddechreu eu byd yn Eden; ond ni bu yr hen bobl fawr o dro cyn myned trwy y cwbl; mae eu plant wedi myn'd heb ddim; ond yn nhrefn y cyfamod newydd cadwodd Duw yr etifeddiaeth dan ei law ei hun, yn y nefoedd; ond y mae yn rhoddi ei llog i fagu yr etifeddion tra y maent o dan oed; dyma y can' cymaint yn y byd hwn; ond y mae yr etifeddiaeth yn nghadw yn y nefoedd i chwi:— "etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Goleuni yn gosod allan burdeb y nefoedd. Yr elfen buraf yw y goleuni. "Goleuni yw Duw," i osod allan burdeb ei natur; ac etifeddiaeth yn y goleuni yw etifeddiaeth y saint. Goleuni yn gosod allan eglurdeb y nefoedd; "oblegid beth bynag sydd yn egluro, goleuni yw." Yno nis gellir camgymeryd, bydd pob goruchwyliaeth wedi ei hesbonio; ac yno "yr adnabyddaf megis y'm hadwaenir." Goleuni i ddangos sirioldeb y nefoedd;—"Melus yn ddiau yw y goleuni, a hyfryd yw i'r llygaid weled yr haul." Yn y nefoedd bydd yno bawb wrth eu bodd, oblegid bydd yno bawb yn y goleu. Digonolrwydd llawenydd sydd ger dy fron, ac ar dy ddeheulaw y mae digrifwch yn dragywydd." "Etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Rhodded yr Arglwydd i ni gael rhan ynddi.

YR ORUCHWYLIAETH AR YR ETIFEDDION ER EU CYMHWYSO IDDI. "Gan ddiolch i'r Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys."

*Yr oruchwyliaeth yn ei natur*;—"gwnaeth ni yn gymhwys." Mae cymhwyso i fod ar bechadur cyn myned ag ef i'r nefoedd. Nid yw dyn yn ei gyflwr naturiol ddim yn gym*hwys i fyned yno*; nid yw y nefoedd ac yntau ddim yn taro

u gilydd. Mae y cymhwysder yma yn gynwysedig mewn au beth; sef rhyddhad y person odditan ddedfryd condemnıd, ac adferiad ei natur ar ddelw Duw; yr hyn a elwir mewn uwinyddiaeth yn gyfiawnhad a sancteiddhad. Yn y cyfiawnad y mae y person yn cael ei ryddhau oddiwrth ddedfryd ondemniol y gyfraith; yn y sancteiddhad y mae natur ddiywedig dyn yn cael ei hadferu ar ddelw Duw. Yn y cyfıwnhad y mae yr enaid yn cael hawl i'r nefoedd; yn y sanctiddhad y mae yn cael cymhwysder i'r nefoedd. Yn y cyfıwnhad y mae yn cael *title* i'r etifeddiaeth; yn y sancteiddad y mae yn cael parotoad i'r etifeddiaeth. "Yr hwn sydd n maddeu dy holl anwireddau"—yn y cyfiawnhad; "Yr wn sydd yn iachau dy holl lesgedd"—yn y sancteiddad. Ac y mae adferiad ein natur i ddelw Duw yn llawn ıor angenrheidiol er ein cymhwyso i'r nefoedd, ag ydyw cym:adwyo ein personau ger bron Duw:—"gwnaeth ni yn gymwys."

Yr oedd Iesu Grist yn dyweyd wrth ei ddysgyblion ychydig yn gadael y ddaear, "Yr wyf fi yn myned i barotoi lle i ıwi." Nis gwn pa barotoi oedd ganddo i wneyd ar y nefədd chwaith, os nad cymeryd meddiant o honi; oblegid yr ədd y deyrnas wedi ei pharotoi er cyn seiliad y byd;—ond y ıae yn dyweyd ei fod ef yn myned i barotoi lle iddynt; ac ı ymyl hyny y mae yn sicrhau, ar ol ei fyned, yr anfonai yr 'sbryd Glan, y Diddanydd arall, i'w parotoi hwythau i'r lle. welwch yma—mae Iesu Grist yn y nef yn parotoi y lle iddıt hwy, a'r Ysbryd ar y ddaear yn eu parotoi hwythau i'r ə; ac erbyn y byddo y lle yn barod gan Grist, a hwythau n barod gan yr Ysbryd, dyna fydd yn nefoedd fendigedig edi hyny. Ac yn wir, pe cai y Cristion fyned i'r nefoedd əb ei gymhwyso, ni byddai wrth ei fodd yno; oblegid nid od yn y nefoedd yn unig a wna ddyn yn ddedwydd; ond haid iddo feddu egwyddorion y nefoedd yn ei enaid, a'r eg'yddorion hyny yn awyr glir y nefoedd yn ymddadblygu, yny fydd perffeithiad ei ddedwyddwch. Gwyddom yn natur-

iol fod yn rhaid i ddyn deimlo fod y fan lle y byddo, yn ei daro, onide ni bydd wrth ni fodd yno. Beth feddylid am y gweithiwr bach tlawd, oddiar lechwedd un o fynyddoedd Cymru, yn cael ei wahodd i fynu i balas ei mawrhydi, ein brenhines, i giniaw at y teulu brenhinol ?—Mae y bwrdd wedi ei hulio o'r danteithion brasaf ; a phrif bendefigion y deyrnas i gydeistedd wrth y bwrdd i wledda. Arweiniwch y gweithiwr yn ei wisg lom i'r ystafell wledd at y cwmni urddasol ; druan o hono, byddai yn well ganddo lechu yn nghil y drws na myned i mewn atynt. Nid am fod ganddo ddim yn erbyn neb o honynt ; ac nid, yn wir, am na hoffai gael rhan o'r wledd, ond y mae cymaint o ddefodau yn nglyn â'u gwledda, fel y byddai yn well gan yr hen weithiwr eistedd yn môn y clawdd, dan gysgod y berth dewfrig, gyda'i grystyn sych a'i dynied llaeth ; byddai y fan hono yn ei daro yn well na bod yn y palas brenhinol, gyda'r cwmni urddasol, wrth y bwrdd llawn. Rhaid i'r fan a ninau ateb ein gilydd cyn y byddwn yn ddedwydd. Ond byddai pechadur, pe cai fyned i'r nefoedd yn ei gyflwr gwreiddiol, yn fil annedwyddach ; byddai presenoldeb yr orsedd yn boen iddo—dysgleirdeb wynebpryd y Gwr sydd ar yr orseddfainc yn arogl marwolaeth iddo—a gwisgoedd gwynion y dyrfa berffeithiedig yn adlewyrchu gwarth ar ei fratiau budron. Byddai yn well gan yr annuwiol gael llechu yn nghilfachau dyfnaf ogofau tywyllaf yr ail farwolaeth, na bod yn ymyl gorsedd Duw yn y nefoedd heb ei gymhwyso i fwynhau y lle. Rhaid cael y nefoedd ynom ni, cyn y byddwn ni yn gymhwys i'r nefoedd. Mae y môr yn rhedeg i fynu i'r afon cyn i'r afon gyrhaedd i'r môr. Rhaid cael egwyddorion ac ysbryd y nefoedd yn ein heneidiau ni ar y ddaear ; a'r egwyddorion mawrion hyny yn awyr glir y nefoedd yn ymddadblygu, fydd perffeithiad ein dedwyddwch. A phan y deuwn ni yn gymhwys i'r nefoedd, cymer Duw ni yno. Cymeryd y goreu o'r ddaear y mae y nefoedd. Dywedai yr hybarch John Jones, Talsarn, "fod y nefoedd yn trin y ddaear yn galed iawn, trwy gymeryd y rhai goreu oddi-

arni; fel ambell i arolygwr yn yr Ysgol Sul, os bydd gan yr athraw ryw fachgen gwell am ddysgu na'r lleill, cymer hwnw i ddosbarth uwch, a gadael yr athraw i boeni gyda'r rhai salaf; fel yna y mae y nefoedd yn yspeilio y ddaear o'i goreuon." Os bydd rhyw blentyn anwylach na'i gilydd mewn teulu, rhaid i'r nefoedd ei gael. Os bydd rhyw wr ieuanc mwy gobeithiol na'i gyfoedion, cymer y nefoedd ef i ffwrdd. Os bydd rhyw ddiacon mwy gwerthfawr na'i gilydd yn yr eglwys, yspeilia y nefoedd ni o hono. Os bydd rhyw bregethwr mwy nodedig na'i frodyr yn y pwlpud, geilw y nefoedd arno gartref. Yn wir, y mae y nefoedd yn trin y ddaear yn lled arw, onid yw? Ond er hyny, y maent yn y teulu—"O'r hwn yr enwir yr holl deulu, yn y nefoedd ac ar y ddaear;"—a phan y deuwn ninau yn gymhwys, cawn ninau fyned hefyd.

"Gwnaeth ni yn gymhwys."

*Yr oruchwyliaeth yn ei gwrthddrychau:*—"*ni* yn gymhwys." Beth, ai tybed fod yn bosibl ein gwneyd "*ni*" yn gymhwys i'r goleuni? Beth oeddym ni? Pob peth gwaeth na'i gilydd y gellwch chwi feddwl am dano;—"plant digofaint megis eraill"—"gelynion mewn meddwl trwy weithredoedd drwg"—"halogedig o wadn y troed hyd goryn y pen"—"halogedig hyd yn nod eu meddwl a'u cydwybod." Ac a ydyw yn bosibl gwneyd y fath gymeriadau yn gymhwys i'w dangos yn y goleu? Gras mawr fuasai arbed pechadur rhag cael ei ddamnio; ond gras anfeidrol fwy ydyw gwneyd pechadur a dynwyd gan ddiafol trwy ffosydd ffieiddiaf llygredigaeth mor lân na wel sancteiddrwydd yr un ysmotyn arno; "yn ddifai ger bron gorseddfainc Duw," yn gymhwys i'w ddal yn y goleuni pur,—"*ni* yn gymhwys i'r goleuni."

*Yr oruchwyliaeth yn ei phrif weithydd,*—"y Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys." "*Gwnaeth* ni yn gymhwys." Mae gwneyd i fod ar bechadur cyn myned ag ef i'r nefoedd. Mae swn gwneyd mawr drwy y Beibl i gyd. Bu gwneyd mawr ar Grist mewn trefn i'w wneyd yn Waredwr cymhwys i bechadur:—ei wneyd o wraig; a'i wneyd dan y ddeddf;

mor agos i'w gilydd, ac wedi ymblethu yn eu gilydd, fel y mae perygl wrth gasglu yr efrau ddiwreiddio y gwenith gyda hwy; gan hyny, "Gadewch i'r ddau gyd dyfu hyd y cynhauaf,"—yna nis gellir camgymeryd y naill am y llall, na pherygl diwreiddio y naill wrth dynu y llall. Y cynhauaf a ddengys yr efrau a'r gwenith heb berygl eu camgymeryd. Felly y bydd yn niwedd y byd. Yma y mae y drwg a'r da, y duwiol a'r annuwiol, y cyfiawn a'r drygionus yn gymysgedig fel efrau a gwenith yn yr un maes, neu us a gwenith ar yr un llawr dyrnu. Y mae gwahaniaeth hanfodol rhyngddynt; ond y mae yn anhawdd yn fynych yn y byd hwn ei adnabod. Mae tri pheth yn ei gwneyd yn anhawdd, sef llygredd y duwiol; rhagrith yr annuwiol; a chyffredinedd goruchwyliaethau Rhagluniaeth tuag at y ddau. Mae y duwiol yn disgyn mor debyg i'r annuwiol; mae yr annuwiol yn gallu ymddangos mor debyg i'r duwiol; ac y mae Duw yn ei Ragluniaeth yn gwneyd cyn lleied o ragor rhyngddynt fel y mae yn hawdd iawn camgymeryd y naill am y llall. Mae Judas yn ymddangos mor debyg i sant, a Phedr yn tyngu a rhegu mor debyg i ddyn annuwiol fel y mae yn anhawdd eu gwahaniaethu. Yr oedd yr agwedd gymysglyd yma ar bethau yn nyddiau Malachi yn peri i annuwiolion ymhyfau, ac i'r saint ddigaloni. "Oferedd yw gwasanaethu Duw; a pha lesiant sydd er i ni gadw ei orchymynion ef, ac er i ni rodio yn alarus ger bron Arglwydd y lluoedd? ac yr awr hon yr ydym yn galw y beilchion yn wynfydedig; ïe, gweithredwyr drygioni a adeiladwyd; ïe, y rhai a demtiant Dduw a waredwyd." Y dynion annuwiolaf sydd yn byw oreu; gweithredwyr drygioni sydd yn llwyddo fwyaf; yr anffyddwyr gwaethaf sydd yn ymddangos yn cael eu ffafrio benaf; a'r bobl dduwiolaf sydd yn cael y cwpanau chwerwaf. Ond aroswch, ar y maes y maent yn awr, yn y cynhauaf y gwelir y gwahaniaeth. "Yna y dychwelwch ac y gwelwch ragor rhwng y cyfiawn a'r drygionus, rhwng yr hwn a wasanaetho Dduw a'r hwn nis gwasanaetho ef; canys wele y dydd yn dyfod yn llosgi megis ffwrn,

a'r holl feilchion a holl weithredwyr anwiredd a fyddant sofl, a'r dydd sydd yn dyfod a'u llysg hwynt, fel nas gadawo iddynt na gwreiddyn na changen." Dyma y drygionus yn ei wir gymeriad. "Ond haul cyfiawnder a gyfyd i chwi y rhai ydych yn ofni fy enw a meddyginiaeth yn ei esgyll; a chwi a ewch allan ac a gynnyddwch megis lloi pasgedig." "A byddant eiddof fi, medd Arglwydd y lluoedd, y dydd y gwnelwyf briodoledd; arbedaf hwynt hefyd fel yr arbed gwr ei fab sydd yn ei wasanaethu." Dyma y cyfiawn yn ei ogoniant. Mae terfyniad y ddameg hon yn dangos y ddau yn eu diwedd. Bwrir y drygionus "i'r ffwrn dân; yno y bydd wylofain a rhincian dannedd; a llewyrcha y rhai cyfiawn fel yr haul yn nheyrnas eu tad." Dyma y pryd y gwelir pob cymeriad y peth ydyw mewn gwirionedd. "Y cynhauaf yw diwedd y byd."

3. *Mae y cynhauaf yn adeg o ad-daliad; felly y bydd diwedd y byd.* Yn y cynhauaf fel rheol y mae pob un yn cael yn ol ei lafur blaenorol, "Y diog nid ardd o herwydd oerder y gauaf." Nid â yr amaethwr diog ddim allan i aredig yn y gauaf am ei bod yn oer. Gwell ganddo ef orwedd yn ei wely; neu eistedd ar yr aelwyd; neu lechu ynghysgod y fegin ar bentan yr efail, nag aredig ei faes; ond fe'i cospir am ei segurdod, "am hyny y cardota efe y cynhauaf, ac ni chaiff ddim." Mae natur yn onest iawn; mae yn talu yn dda i'r rhai sydd yn llafurio, ac yn cospi y rhai sydd yn esgeuluso. Yn y cynhauaf caiff pob un sefyll yn ei ran. Felly y bydd yn niwedd y byd. Bydd pob un yn "derbyn yn ol yr hyn a wnaeth pa un bynag fyddo ai da ai drwg." "Na thwyller chwi, ni watwarir Duw, canys beth bynag a hauo dyn hyny a fed efe. Yr hwn sydd yn hau i'r cnawd, o'r cnawd a fed lygredigaeth; a'r hwn sydd yn hau i'r ysbryd, o'r ysbryd a fed fywyd tragywyddol." Bydd y medi yn ol yr hau mewn rhyw a gradd; "beth bynag a hauo dyn hyny hefyd a fed efe;" "a'r hwn sydd yn hau yn brin a fed yn brin; a'r hwn sydd yn hau yn helaeth a fed hefyd yn helaeth." Dywedir yn awr wrth ryw rai sydd yn dyoddef anmharch, ac yn gwneyd aberth er mwyn

ei enw ef, "fe a delir i chwi yn adgyfodiad y rhai cyfiawn;" a bygythir ei ddyfodiad ar ryw rai, "a thân fflamllyd, gan roddi dial i'r sawl nid adwaenant Dduw, ac nid ydynt yn ufuddhau i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist." Fel y mae y cynhauaf yn adeg o adaliad y mae hefyd yn adeg o gymysg deimladau. "Llawenydd amser cynhauaf," ydyw llawenydd mwyaf yr amaethwr. Llawenydd "amlhad eu hŷd a'u gwin hwynt;" a thristwch mwyaf bywyd yr amaethwr ydyw cynhauaf methiedig. Nis gallasai Habacuc ddychmygu am drallod mwy na holl gynyrch y flwyddyn yn methu. A thra y mae y diwyd yn casglu ei ysgubau gyda llawenydd amser cynhauaf, y mae y diog yn newynog o ddrws i ddrws yn cardota, heb gael dim. Felly y bydd yn niwedd y byd hwn, "Eithr i'r rhai sydd gynhenus ac anufudd i'r gwirionedd, eithr ufudd i anghyfiawnder y bydd llid a digofaint, trallod ac ing ar bob enaid dyn sydd yn gwneuthur drwg; eithr gogoniant, anrhydedd, a thangnefedd i bob un sydd yn gwneuthur daioni." Saif pob un yn ei ran yn niwedd y dyddiau. "A'r cynhauaf yw diwedd y byd."

4. *Mae y cynhauaf yn rhoddi rhagolygon clir ar y dyfodol: felly y bydd yn niwedd y byd.* Mae pryder mawr yn meddwl yr amaethwr nes cael y cynhauaf. Y mae yn dal ar bob gwynt—yn edrych ar bob cwmwl—yn ofni pob cyfnewidiad, oblegid y mae cynhaliaeth yn yr amser a ddaw yn ymddibynu ar y cynhauaf a geir. Os prin a methianus a fydd y cynhauaf, pruddaidd fydd y rhagolygon erbyn y dyfodol; ond os ceir cynhauaf da, gellir edrych yn ddiofn ar y gauaf du. Felly y bydd yn niwedd y byd. Dyma yr adeg y deuwn i ddeall yn eglur beth a fyddwn am dragywyddoldeb. Byddwn naill ai wedi ei cholli am byth, neu ynte wedi ein gwneyd am dragywyddoldeb. Oh! y rhagolygon pruddaidd fydd yn ymagor o flaen miloedd. Bydd y geiriau dwys sydd yn llyfr y proffwyd Jeremiah wedi dyfod yn brofiad chwerw yn eu heneidiau;—"Y cynhauaf a aeth heibio, darfu yr haf, ac nid ydym ni gadwedig!" Bydd cynwysiad y geiriau yna wedi

eu golchi o'r llyfr i gydwybod yr annuwiol, ac yn ei llenwi âg euogrwydd chwerw. Hafddydd bywyd wedi myned heibio, cynhauaf yr enaid wedi darfod, a dim wedi ei ddarparu ar gyfer y gauaf tragywyddol. Crwydro creigydd moelion, oerllyd, Gehena yn gardotyn newynog, ac heb gael dim. O! y dyfodol tlawd.

Ond y mae yna filoedd wedi ei gwneyd hi; gallant edrych yn mlaen yn ddiofn. Agored tragywyddoldeb ei fynwes, estyned ei freichiau, y mae "daioni yn nghadw iddynt dros ddyddiau lawer." Mae "digonolrwydd llawenydd" yn eu haros; "a digrifwch yn dragywydd" o'u blaen. Edrychant ar angau yn ddiofn—wynebant y frawdle yn ddiarswyd—croesawant ddyfodiad y Barnwr gyda gorfoledd—a derbyniant o'i enau y gwahoddiad anrhydeddus,—"Deuwch, chwi fendigedigion blant fy Nhad; etifeddwch y deyrnas a barotowyd i chwi er cyn seiliad y byd." "A'r cynhauaf yw diwedd y byd."

Mae ystyr arall hefyd yn yr hon y mae yn awr yn gynhauaf arnom. Cynhauaf breintiau yr efengyl ydyw ein dydd hwn; a chyfle genym i barotoi erbyn yr amser a ddaw; a "Mab gwaradwyddus yw yr hwn a gwsg yn amser cynhauaf." O! wrandawyr anwyl, gwyliwch golli y cyfle, eich "dydd hwn!" Mae eich tragywyddoldeb yn troi ar y defnydd u wnewch o hono. Y diwedd!—Mae rhyw ddifrifwch yn y gair; diwedd dydd—diwedd blwyddyn—diwedd bywyd—diwedd y byd! O! beth a fyddwn yn y diwedd? "Ystyr y perffaith, ac edrych ar yr uniawn, canys diwedd y gwr hwnw fydd tangnefedd."

# PREGETH XIII.

## ETIFEDDIAETH Y SAINT.

COLOSSIAID i. 12.

"Gan ddiolch i'r Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni."

Mae y testyn yn galw ein sylw at etifeddiaeth y saint yn y goleuni; a'r oruchwyliaeth ar yr etifeddion er eu cymhwyso iddi.

"ETIFEDDIAETH Y SAINT YN Y GOLEUNI." *Yr etifeddiaeth*—*Yr etifeddion*—a *Sefyllfa yr etifeddiaeth*:—"Etifeddiaeth y saint yn y goleuni."

*Yr etifeddiaeth.* Beth ydyw? Cynwysir ynddi holl freintiau crefydd yn y byd yma, a holl wobrau crefydd yn y byd nesaf, "can' cymaint" yn y byd hwn, "ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol." Nis gwn pa faint sydd yn gynwysedig yn yn y can' cymaint" yn y byd yma, llawer llai y gwn pa faint sydd yn gynwysedig yn y "bywyd tragywyddol," yn y byd nesaf; ond pa faint bynag sydd yn gynwysedig ynddynt, y mae y cwbl wedi ei gynwys yn gryno yn yr ymadrodd hwn—"*etifeddiaeth.*" Mae etifeddiaeth yn dwyn tri pheth i'n meddwl,—mawredd, gwychder, a pharhad; ac y mae y tri pheth yna yn gyflawn yn etifeddiaeth y testyn. Am ei mawredd, y mae eto heb ei mesur, o leiaf, y mae ei mesuriad heb ei roddi i ni. Am ei gwychder, y mae uwchlaw darluniad; gwelodd Paul hi, ond yr oedd yn rhy fawreddog i gynyg tynu darlun o honi; nid oedd ganddo ddim ond gwaeddi, "Annhraethadwy a gogoneddus." Ac am ei pharhad, digon yw dyweyd, "a bywyd tragywyddol a etifedda efe." Dyna i

chwi rywbeth a gydreda yn gyfochrog â'r enaid am oes y Duwdod.

*Yr etifeddion* :—"etifeddiaeth y saint." Y saint, dyma yr etifeddion ; y maent "yn etifeddion i Dduw, ac yn gyd-etifeddion â Christ ;" ac y mae pob dyn duwiol yn "etifedd i Dduw trwy Grist." Mae dynion yn dyfod i etifeddiaethau yn y byd trwy un o dair ffordd ; trwy achyddiaeth—trwy ewyllys—a thrwy bryniad. Mae y cyntaf-anedig yn dyfod i'w etifeddiaeth yn achyddol ; efe yw yr etifedd ; ac os oes etifeddiaeth, y mae yn dyfod iddo trwy hawlfraint berthynasol. Mae ambell un yn dyfod i etifeddiaeth trwy ewyllys. Rhyw hen ewythyr cyfoethog yn marw yn ddiblant, ac yn gadael ei etifeddiaeth ar ei ol yn ei ewyllys i'w nai. Ac y mae llawer iawn yn y dyddiau yma yn dyfod i etifeddiaethau trwy bryniad. Dynion o'r dosbarth gweithiol yn ymgodi trwy ddiwydrwydd, a sobrwydd, a gonestrwydd, ac yn prynu etifeddiaethau iddynt eu hunain, y rhai y gorfodid hen ystadwyr pendefigol i'w gwerthu, oblegid iddynt trwy wastraff ac afradlonedd redeg trwyddynt ; ac yn wir, y mae hono yn ffordd anrhydeddus iawn i ddyfod i etifeddiaeth, y gall dyn edrych arni a'i mwynhau fel ffrwyth llafur caled ei feddwl a'i ddwylaw ei hun. Mae y Cristion yn etifedd yn y tair ffordd yma. Mae yn etifedd yn achyddol trwy hawlfraint berthynasol ;—"Ac os plant, etifeddion hefyd." "Os plant," nid oes dim dadl am yr etifeddiaeth. Os ydych yn sicr eich bod yn blant, yr wyf yn sicr eich bod yn etifeddion. Mae yn y berthynas i'r holl blant. Maent yn etifeddion trwy ewyllys ;—"Y Tad cyfiawn, yr wyf yn ewyllysio lle yr wyf fi fod o honynt hwythau hefyd gyda myfi." Ni bydd Iesu Grist yn foddlawn yn y nefoedd nes cael ei deulu yno ato. Ac y maent yn etifeddion trwy bryniad ; talodd y Meichiau yn llawn am dani ar Galfaria un prydnawn wrth farw, ac y mae yr etifeddiaeth yn rhydd o ddyled i'r etifeddion. "Yr hwn yw ernes ein hetifeddiaeth hyd bryniad y pwrcas i fawl ei ogoniant ef." Y maent yn etifeddion triphlyg ; a "rhaff dair cainc ni thorir ar frys."

*Sefyllfa yr etifeddiaeth* ;—" etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Mae ymadrodd cyfystr gan yr Apostol Pedr,—" I etifeddiaeth anllygredig, a dihalogedig, a diddiflanedig ; ac yn nghadw yn y nefoedd i chwi." Yn wir, y mae yn dda i ni mai yn y nefoedd y mae yn nghadw ; oblegid pe cawsem ni yr etifeddiaeth dan ein llaw ein hunain, buasem yn lled debyg o fyned trwyddi er cymaint ydyw. Rhoddwyd etifeddiaeth ëang iawn i'n rhieni cyntaf i ddechreu eu byd yn Eden ; ond ni bu yr hen bobl fawr o dro cyn myned trwy y cwbl ; mae eu plant wedi myn'd heb ddim ; ond yn nhrefn y cyfamod newydd cadwodd Duw yr etifeddiaeth dan ei law ei hun, yn y nefoedd ; ond y mae yn rhoddi ei llog i fagu yr etifeddion tra y maent o dan oed ; dyma y can' cymaint yn y byd hwn ; ond y mae yr etifeddiaeth yn nghadw yn y nefoedd i chwi :— " etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Goleuni yn gosod allan burdeb y nefoedd. Yr elfen buraf yw y goleuni. "Goleuni yw Duw," i osod allan burdeb ei natur ; ac etifeddiaeth yn y goleuni yw etifeddiaeth y saint. Goleuni yn gosod allan eglurdeb y nefoedd ; "oblegid beth bynag sydd yn egluro, goleuni yw." Yno nis gellir camgymeryd, bydd pob goruchwyliaeth wedi ei hesbonio ; ac yno "yr adnabyddaf megis y'm hadwaenir." Goleuni i ddangos sirioldeb y nefoedd ;—" Melus yn ddiau yw y goleuni, a hyfryd yw i'r llygaid weled yr haul." Yn y nefoedd bydd yno bawb wrth eu bodd, oblegid bydd yno bawb yn y goleu. Digonolrwydd llawenydd sydd ger dy fron, ac ar dy ddeheulaw y mae digrifwch yn dragywydd." " Etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Rhodded yr Arglwydd i ni gael rhan ynddi.

Yr oruchwyliaeth ar yr etifeddion er eu cymhwyso iddi. " Gan ddiolch i'r Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys."

*Yr oruchwyliaeth yn ei natur* ;—" gwnaeth ni yn gymhwys." Mae cymhwyso i fod ar bechadur cyn myned ag ef i'r nefoedd. Nid yw dyn yn ei gyflwr naturiol ddim yn gym*hwys i fyned yno* ; nid yw y nefoedd ac yntau ddim yn taro

eu gilydd. Mae y cymhwysder yma yn gynwysedig mewn dau beth; sef rhyddhad y person odditan ddedfryd condemniad, ac adferiad ei natur ar ddelw Duw; yr hyn a elwir mewn duwinyddiaeth yn gyfiawnhad a sancteiddhad. Yn y cyfiawnhad y mae y person yn cael ei ryddhau oddiwrth ddedfryd gondemniol y gyfraith; yn y sancteiddhad y mae natur ddirywedig dyn yn cael ei hadferu ar ddelw Duw. Yn y cyfiawnhad y mae yr enaid yn cael hawl i'r nefoedd; yn y sancteiddhad y mae yn cael cymhwysder i'r nefoedd. Yn y cyfiawnhad y mae yn cael *title* i'r etifeddiaeth; yn y sancteiddhad y mae yn cael parotoad i'r etifeddiaeth. "Yr hwn sydd yn maddeu dy holl anwireddau"—yn y cyfiawnhad; "Yr hwn sydd yn iachau dy holl lesgedd"—yn y sancteiddhad. Ac y mae adferiad ein natur i ddelw Duw yn llawn mor angenrheidiol er ein cymhwyso i'r nefoedd, ag ydyw cymeradwyo ein personau ger bron Duw:—"gwnaeth ni yn gymhwys."

Yr oedd Iesu Grist yn dyweyd wrth ei ddysgyblion ychydig cyn gadael y ddaear, "Yr wyf fi yn myned i barotoi lle i chwi." Nis gwn pa barotoi oedd ganddo i wneyd ar y nefoedd chwaith, os nad cymeryd meddiant o honi; oblegid yr oedd y deyrnas wedi ei pharotoi er cyn seiliad y byd;—ond y mae yn dyweyd ei fod ef yn myned i barotoi lle iddynt; ac yn ymyl hyny y mae yn sicrhau, ar ol ei fyned, yr anfonai yr Ysbryd Glan, y Diddanydd arall, i'w parotoi hwythau i'r lle. Gwelwch yma—mae Iesu Grist yn y nef yn parotoi y lle iddynt hwy, a'r Ysbryd ar y ddaear yn eu parotoi hwythau i'r lle; ac erbyn y byddo y lle yn barod gan Grist, a hwythau yn barod gan yr Ysbryd, dyna fydd yn nefoedd fendigedig wedi hyny. Ac yn wir, pe cai y Cristion fyned i'r nefoedd heb ei gymhwyso, ni byddai wrth ei fodd yno; oblegid nid bod yn y nefoedd yn unig a wna ddyn yn ddedwydd; ond rhaid iddo feddu egwyddorion y nefoedd yn ei enaid, a'r egwyddorion hyny yn awyr glir y nefoedd yn ymddadblygu, hyny fydd perffeithiad ei ddedwyddwch. Gwyddom yn natur-

iol fod yn rhaid i ddyn deimlo fod y fan lle y byddo, yn ei daro, onide ni bydd wrth ni fodd yno. Beth feddylid am y gweithiwr bach tlawd, oddiar lechwedd un o fynyddoedd Cymru, yn cael ei wahodd i fynu i balas ei mawrhydi, ein brenhines, i giniaw at y teulu brenhinol?—Mae y bwrdd wedi ei hulio o'r danteithion brasaf; a phrif bendefigion y deyrnas i gydeistedd wrth y bwrdd i wledda. Arweiniwch y gweithiwr yn ei wisg lom i'r ystafell wledd at y cwmni urddasol; druan o hono, byddai yn well ganddo lechu yn nghil y drws na myned i mewn atynt. Nid am fod ganddo ddim yn erbyn neb o honynt; ac nid, yn wir, am na hoffai gael rhan o'r wledd, ond y mae cymaint o ddefodau yn nglyn â'u gwledda, fel y byddai yn well gan yr hen weithiwr eistedd yn môn y clawdd, dan gysgod y berth dewfrig, gyda'i grystyn sych a'i dynied llaeth; byddai y fan hono yn ei daro yn well na bod yn y palas brenhinol, gyda'r cwmni urddasol, wrth y bwrdd llawn. Rhaid i'r fan a ninau ateb ein gilydd cyn y byddwn yn ddedwydd. Ond byddai pechadur, pe cai fyned i'r nefoedd yn ei gyflwr gwreiddiol, yn fil annedwyddach; byddai presenoldeb yr orsedd yn boen iddo—dysgleirdeb wynebpryd y Gwr sydd ar yr orseddfainc yn arogl marwolaeth iddo—a gwisgoedd gwynion y dyrfa berffeithiedig yn adlewyrchu gwarth ar ei fratiau budron. Byddai yn well gan yr annuwiol gael llechu yn nghilfachau dyfnaf ogofau tywyllaf yr ail farwolaeth, na bod yn ymyl gorsedd Duw yn y nefoedd heb ei gymhwyso i fwynhau y lle. Rhaid cael y nefoedd ynom ni, cyn y byddwn ni yn gymhwys i'r nefoedd. Mae y môr yn rhedeg i fynu i'r afon cyn i'r afon gyrhaedd i'r môr. Rhaid cael egwyddorion ac ysbryd y nefoedd yn ein heneidiau ni ar y ddaear; a'r egwyddorion mawrion hyny yn awyr glir y nefoedd yn ymddadblygu, fydd perffeithiad ein dedwyddwch. A phan y deuwn ni yn gymhwys i'r nefoedd, cymer Duw ni yno. Cymeryd y goreu o'r ddaear y mae y nefoedd. Dywedai yr hybarch John Jones, Talsarn, "fod y nefoedd yn trin y ddaear yn galed iawn, trwy gymeryd y rhai goreu oddi-

arni ; fel ambell i arolygwr yn yr Ysgol Sul, os bydd gan yr athraw ryw fachgen gwell am ddysgu na'r lleill, cymer hwnw i ddosbarth uwch, a gadael yr athraw i boeni gyda'r rhai salaf ; fel yna y mae y nefoedd yn yspeilio y ddaear o'i goreuon." Os bydd rhyw blentyn anwylach na'i gilydd mewn teulu, rhaid i'r nefoedd ei gael. Os bydd rhyw wr ieuanc mwy gobeithiol na'i gyfoedion, cymer y nefoedd ef i ffwrdd. Os bydd rhyw ddiacon mwy gwerthfawr na'i gilydd yn yr eglwys, yspeilia y nefoedd ni o hono. Os bydd rhyw bregethwr mwy nodedig na'i frodyr yn y pwlpud, geilw y nefoedd arno gartref. Yn wir, y mae y nefoedd yn trin y ddaear yn lled arw, onid yw ? Ond er hyny, y maent yn y teulu—" O'r hwn yr enwir yr holl deulu, yn y nefoedd ac ar y ddaear ;"—a phan y deuwn ninau yn gymhwys, cawn ninau fyned hefyd.

" Gwnaeth ni yn gymhwys."

*Yr oruchwyliaeth yn ei gwrthddrychau* :—" *ni* yn gymhwys." Beth, ai tybed fod yn bosibl ein gwneyd "*ni*" yn gymhwys i'r goleuni ? Beth oeddym ni ? Pob peth gwaeth na'i gilydd y gellwch chwi feddwl am dano ;—" plant digofaint megis eraill "—" gelynion mewn meddwl trwy weithredoedd drwg "—" halogedig o wadn y troed hyd goryn y pen " —" halogedig hyd yn nod eu meddwl a'u cydwybod." Ac a ydyw yn bosibl gwneyd y fath gymeriadau yn gymhwys i'w dangos yn y goleu ? Gras mawr fuasai arbed pechadur rhag cael ei ddamnio ; ond gras anfeidrol fwy ydyw gwneyd pechadur a dynwyd gan ddiafol trwy ffosydd ffieiddiaf llygrediaeth mor lân na wel sancteiddrwydd yr un ysmotyn arno ; " yn ddifai ger bron gorseddfainc Duw," yn gymhwys i'w ddal yn y goleuni pur,—" *ni* yn gymhwys i'r goleuni."

*Yr oruchwyliaeth yn ei phrif weithydd*,—" y Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys." " *Gwnaeth* ni yn gymhwys." Mae gwneyd i fod ar bechadur cyn myned ag ef i'r nefoedd. Mae swn gwneyd mawr drwy y Beibl i gyd. Bu gwneyd mawr ar Grist mewn trefn i'w wneyd yn Waredwr cymhwys i bechadur :—ei wneyd o wraig ; a'i wneyd dan y ddeddf ;

gwneyd "yr Hwn nid adnabu bechod yn bechod drosom *ni;*" ei wneyd i "ni gan Dduw yn ddoethineb, ac yn *gyfiawnder,* ac yn sancteiddrwydd, ac yn brynedigaeth." Gyda pharch y dylid ei ddyweyd, nid oedd yr ail Berson yn yr hanfod Ddwyfol yn Waredwr cymhwys i bechadur nes i Dduw *ei* wneyd. Beth oedd y cynllunio yn nhragywyddoldeb—yr *ymgnawdoli* yn Bethlehem—y chwysu yn Gethsemane—a'r marw ar Galfaria? ond Duw yn gwneyd ei Fab yn Waredwr cymhwys i bechadur. Mae gwneyd mawr i fod arnom ninau eto cyn bod yn gymhwys i fyned ato;—gwneyd mawr i wneyd pechadur yn sant, a gwneyd mawr wedi hyny i wneyd sant yn berffaith; —ein "gwneyd ni yn gyfranogion o Grist;" ein gwneyd "yn gyfranogion o'r duwiol anian;" ein gwneyd ni "yn gymeradwy ganddo ef;" ein gwneyd "ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef;" ein gwneyd ni "yn gyfranogion o'i sancteiddrwydd ef;" ac yn y diwedd, ein gwneyd "yn gymhwys i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Ah! y mae lle i ofni fod canoedd yn ein heglwysi yn tybio mai y cwbl sydd eisiau i fyned a dyn i'r nefoedd, ydyw gwella tipyn ar y dyn oddiallan —gwyngalchu yr ymarweddiad—tocio y pechodau mwyaf cyhoeddus—prydferthu felly â moesoldeb allanol; ond "na thwyller chwi," bobl anwyl, ni watworir Duw!" "Oddieithr *geni* dyn drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas Dduw," Rhaid i'r cyfnewidiad fyned yn ddyfnach na'r croen, y cnawd, yr esgyrn, a'r mer—"rhaid ei eni drachefn"—rhaid cael calon newydd ynddo; ac wedi cael hono, fe geir pob peth y tu allan iddo drachefn. Wel, dyna oruchwyliaeth na ddaw byth i ben. Na ddaw, os nad oes rhyw law heblaw llaw dyn i'w chyflawni. Ond y mae yma warantiad am ei chwblhad;— "y Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys." "*Dwylaw* Zorobabel a'i sylfaenasant, a'i ddwylaw ef a'i gorphen." Mae Duw wedi dechreu y gwaith, ac y mae y Duw a'i dechreuodd yn sicr o'i orphen hefyd, erbyn dydd Iesu Grist. Beth yw rhwystrau i'n Duw ni? Dywed yn awdurdodol yn eu gwyneb oll, "Gwnaf, a phwy a'm lluddia."

*Yr oruchwyliaeth yn y deyrnged delir am dani.* "Gan ddiolch i'r Tad." Mae diolch mewn crefydd, fy nghyfeillion; mwy o ddiolch yn wir nag o ofyn. Er fod yn haws cael genym ni ofyn na diolch; "oni lanhawyd y deg? ond pa le y mae y naw? Mae yn haws cael deg i weddio am waredigaeth o gyfyngder na chael dau i ddiolch am dani; ac am bob deg a waredir rhyw un geir i ddiolch; ac y mae y diolch fynychaf yn d'od o'r man annhebycaf i'w ddisgwyl. "A Samariad oedd efe."

Ond y mae diolch mewn crefydd; mae yn dechreu yma, ac i barhau byth yn y nefoedd. Ac nid rhyw beth ddechreuwyd yn ngwres crefyddol y ganrif ddiweddaf gan Gymry haner barbaraidd ydyw gweiddi "Diolch" a "Bendigedig." Ond yr oedd Paul fawr, ddysgedig mewn hwyl yn eu defnyddio. "Bendigedig fyddo Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist." "Gan ddiolch i'r Tad yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys." Diolch iddo am feddwl am danom yn nhragywyddoldeb. Diolch iddo am anfon ei Fab i farw drosom. Diolch iddo am anfon ei Ysbryd i ddechreu y gwaith da ynom; a diolch iddo am holl droion ei Ragluniaeth tuag atom er yn aml yn chwerw, oblegid amcan y cwbl yw ein cymhwyso i'r etifeddiaeth. "Gan ddiolch i'r Tad." Diolcha y Cristion am dani cyn myned iddi; a gall wneyd hyny; oblegid y mae'r etifeddiaeth yn sicr. Etifeddion bywyd tragywyddol, codwch eich penau, nis gwn pa faint o golledion a gewch chwi yn y byd yma, ac yn angau; ond y mae yr etifeddiaeth yn ddiogel, mae y *title deed* am dani yn hen goffr y cyfamod tragywyddol; ac yn ngoddaith cyffredinol y dydd diweddaf, pan y bydd "y nefoedd yn myned heibio gyda thwrf, a'r defnyddiau gan wir wres yn toddi;" bydd yr etifeddion ar ludw yr hen ddaear yn canu—

"Cyfamod fy Nuw i sydd eto, mor gadarn ei dir ag erioed."

Ah! fy ngwrandawyr anwyl, i ba le yr ydych chwi yn d'od yn gymhwys? Pa un ai "llestri digofaint," yn cymhwyso

eich hunain i golledigaeth ; ai "llestri trugaredd," yn cael eu parotoi gan ras i ogoniant? Rhyw ddarnau ar ein haner ydym i gyd eto, heb fod yn eithaf cymhwys i unman ; ond yn fuan byddwn wedi ein ffurfio i'r ddelw hono fydd arnom byth. Parotoer ni trwy bob goruchwyliaeth i "gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni."

# PREGETH XIV.

## TEYRNGED I ENW DUW.

DEUTERONOMIUM xxxii. 2.

"Canys enw yr Arglwydd a gyhoeddaf fi ; rhoddwch fawredd i'n Duw ni."

Enw un yn briodol ydyw yr hyn sydd yn ei ddynodi er ei wahaniaethu oddiwrth eraill ; ond defnyddir y gair *enw* yn fynych yn gyfystyr â chymeriad. "Gwell yw *enw* da na chyfoeth lawer." "Gwell yw *enw* da nag enaint gwerthfawr." Felly hefyd y mae *enw* yr Arglwydd yn myned am ei gymeriad. "Twr cadarn yw *enw* yr Arglwydd." "Yn *enw* yr Arglwydd y gobeithiant hwy." "Canys *enw* yr Arglwydd a gyhoeddaf fi." Llythyrenau enw yr Arglwydd ydyw ei *holl* briodoliaethau, naturiol a moesol ; a'r cwbl yn nghyd a wna ei enw yn llawn.

Yn raddol yr eglurodd Duw ei gymeriad i'r byd. Dechreuodd ysgrifenu ei enw yn ngweithredoedd y greadigaeth ac yr oedd gwaith pob dydd yn olynol yn dangos mwy o'i ogoniant. Gwelir llawer o Dduw yn y greadigaeth faterol

—yn y fywydol gwelir mwy o hono—yn nghyfansoddiad "rhyfedd ac ofnadwy" corff dyn, daeth ychwaneg o hono i'r golwg; ond enaid dyn, dyma yr amlygiad egluraf o hono; mae hwn "ar ei lun a'i ddelw ei hun." Amlygwyd cymaint o Dduw yn mhob peth a wnaeth, ag a allasai y fath bethau ddal o'i ogoniant. Ond nid oedd argraffu ei enw yn ei weithredoedd ddim yn ddigon ganddo, o ganlyniad cyhoeddodd ei enw mewn geiriau, ac esboniodd ef yn ei oruchwyliaethau.

Yr Arglwydd ei hun a gyhoeddodd ei enw gyntaf, ac adgyhoeddi yr enw wedi ei gael yr oedd Moses; a gwneyd yn fawr o'r plyg cyntaf nes cael yr ail, ac felly o'r ail nes cael y trydydd. Yn raddol y cyhoeddodd Duw ei enw mewn geiriau; ac y mae pob amlygiad wedi ei gyfaddasu i ddealltwriaethau a galluoedd dynion. Dangosir y llinellau egluraf yn ei gymeriad gyntaf; a chyda phob dadleniad o hono awgrymir fod yn "Nuw ogoniant mwy ofnadwy."

Mae y testyn yn cyfeirio at gyhoeddiad enw Duw; ac yn galw arnom i roddi y deyrnged ddyledus iddo. "Canys enw yr Arglwydd a gyhoeddaf fi; rhoddwch fawredd i'n Duw ni."

CYHOEDDIAD ENW DUW; neu *y dadblygiad graddol a roddodd o'i gymeriad i'r byd.*

Ymddangosodd yr Arglwydd i Abraham pan wnaeth y cyfamod âg ef, y byddai yn dad llawer o genhedloedd, ac y rhoddai wlad Canaan i'w had yn etifeddiaeth dragywyddol, dan yr enw, "*Myfi yw Duw Hollalluog.*" Dyma yr enw cyntaf a roddodd arno ei hun; ac y mae priodoldeb yn yr enw i'r amgylchiad; gan ei fod yn addaw peth mor fawr, a pheth i olwg ddynol mor annhebyg i gymeryd lle, yr oedd eisiau rhyw sylfaen gref i ffydd i bwyso arni, a dyma hi—"*Myfi yw Duw Hollalluog.*" Ac y mae yn deilwng o'n sylw, bob tro y mae yr Arglwydd yn cyhoeddi ei enw, ei fod yn gwneyd hyny mewn ffurf frenhinol, hyny ydyw, yn dyweyd ei enw yn gyntaf. Pan y bydd dynion cyffredin yn ysgrifenu llythyrau neu anerchiadau, rhoddant eu henwau ar y diwedd;

ond pan y bydd brenhinoedd yn ysgrifenu rhoddant eu henwau ar y dechreu, fel y byddo awdurdod yr ysgrifenydd yn ychwanegu at bwysigrwydd y genadwri. Yn y mawrhydi brenhinol yna y mae Iesu Grist yn ysgrifenu ei lythyrau at Eglwysi Asia;—"Y pethau hyn y mae y Cyntaf a'r Diweddaf yn eu dywedyd." "Y pethau hyn y mae Mab Duw yn eu dywedyd, yr hwn y mae ei lygaid yn fflam dân, a'i draed yn debyg i bres coeth." Felly yr un modd gyda phob dadblygiad o'i enw dan yr hen oruchwyliaeth rhydd ei enw ar y dechreu, i barotoi eu meddyliau i ddisgwyl rhyw beth mawr; a pha mor gryfion bynag y byddo yr anhawsderau, fod yn enw yr Arglwydd ddigon i'w cyfarfod oll. Felly y gwnaeth i Abraham,—"*Myfi yw Duw Hollalluog.*" Dyma y ffon a roddwyd yn ei law pan y galwyd arno i rodio ger bron Duw; ac ar hon y pwysai am gynhaliaeth o hyny allan. Pan y galwyd arno i offrymu "ei unig fab Isaac, yr hwn a hoffodd," ar hon y pwysodd, "gan gyfrif *fod Duw yn abl* i'w gyfodi ef o feirw." Ac yn yr un enw yr ymaflai y patriarch Isaac pan yn bendithio Jacob wrth ei anfon i dŷ ei ewythr Laban i ymofyn gwraig,—"A *Duw Hollalluog* a'th fendithio, ac a'th ffrwythlono, ac a'th luosogo, fel y byddech yn gynulleidfa pobloedd; ac a roddo i ti fendith Abraham, i ti ac i'th had gyda thi, i etifeddu o honot dir dy ymdaith, yr hwn a roddodd Duw i Abraham."

Ail-gyhoeddodd Duw yr enw yma arno ei hun i Jacob yn Bethel, pan y newidiwyd ei enw, ac y galwyd ef Israel.—"*Myfi yw Duw Hollalluog,* cynydda ac amlha; cenedl a chynulleidfa cenhedloedd a fydd o honot ti, a brenhinoedd a ddaw allan o'th lwynau di; a'r wlad yr hon a roddais i *Abraham* ac i Isaac a roddaf i ti, ac i'th had ar dy ol di y rhoddaf y wlad." A phan y mae Jacob yn ei fendith ddiweddaf i'w feibion cyn tynu ei draed i'r gwely i farw, yn bendithio ei anwylaf Joseph, y mae yn ymafael yn yr un enw, "Joseph fydd gangen ffrwythlon, cangen ffrwythlon wrth ffynon, ceinciau yn cerdded ar hyd y mur; a'r saethyddion a fuant chwerw wrtho,

ac a'i saethasant, ac a'i casasant; er hyny arhôdd ei fwa ef yn gryf, a breichiau ei ddwylaw a gryfhasant trwy ddwylaw *grymus* Dduw Jacob; oddiyno y mae y bugail, maen Israel; trwy Dduw dy dad, yr hwn a'th gynorthwya, a'r *Hollalluog*, yr hwn a'th fendithia, â bendithion y nefoedd oddi uchod, a bendithion y dyfnder yn gorwedd isod, a bendithion y bronau a'r groth; rhagorodd bendithion dy dad ar fendithion fy rhieni, hyd derfyn bryniau tragywyddoldeb, byddant ar ben Joseph, ac ar goryn yr hwn a neillduwyd oddiwrth ei frodyr." Beth sydd yn rhoddi nerth i ffydd yr hen wr i dywallt y fath gawodydd o fendithion ar goryn ei fab? Yr enw,—"*Myfi yw Duw Hollalluog.*" "Duw yn gallu pob peth, a Duw yn allu i gyd." Hollalluawgrwydd Duw ydyw nerth a bywyd ei holl briodoliaethau. Beth fyddai ei gynghor heb allu i'w gwblhau? Ni byddai ei addewidion ond swp o eiriau gweigion heb ei Hollalluawgrwydd o'r tu cefn, yn sicrwydd y cyflawnir hwynt oll. "A fydd dim yn anhawdd i'r Arglwydd?" "Cadarn yw ei law." Dywed yn benderfynol, yn nghanol ystrywiau dynion a diafliaid, "Gwnaf, a phwy a'm lluddia?" Dyma ffynon ddihysbydd o gysur a diddanwch,—"*Myfi yw Duw Hollalluog.*" "*Canys enw yr Arglwydd a gyhoeddaf fi.*"

Ymddangosodd yr Arglwydd mewn gweledigaeth i Moses yn Horeb, i roddi dadblygiad ychwanegol o'i gymeriad. Gwelodd berth yn llosgi yn dân, ac o ganol y berth galwodd yr Arglwydd arno, gan hysbysu iddo ei fod yn ei anfon at Pharaoh i ddwyn Israel allan o'r Aipht. Mae Moses yn brawychu rhag y cyfrifoldeb; gŵyr am ormes Pharaoh, a sefyllfa ddiraddiol Israel, fel y mae mewn arswyd yn gofyn, "Pwy ydwyf fi fel yr awn at Pharaoh, ac y dygwn blant Israel allan o'r Aipht?" Nid rhaid i ti ofni y gwaith, ebe yr Arglwodd, "Diau y byddaf fi gyda thi." Dyna ddigon i wynebu pob anhawsder. Ond ebe Moses, Nid yn unig y mae Pharaoh yn greulawn, ond y mae Israel yn gyndyn; ac er i mi ddywedyd, "Duw eich tadau a'm hanfonodd atoch; os dywedant wrthyf, Beth yw ei enw ef? beth a ddywedaf fi wrthynt?" Gallasai

Duw adnewyddu yr hen enw a roddodd arno ei hun i Abraham; ac yr oedd yr enw hwnw yn gyfaddas i'r amgylchiad hwn. Ond yr oedd yr Arglwydd yn gweled yma gyfle i ddangos plyg newydd yn ei gymeriad; am hyny y dywedodd wrth Moses, "*Ydwyf yr hwn ydwyf*," ac ychwanegodd, "fel hyn yr adroddi wrth feibion Israel, *Ydwyf* a'm hanfonodd atoch." Mae arbenigrwydd yn yr enw—Duw yn unig all ddyweyd fel hyn. *Oeddwn, ydwyf*, a *byddaf*, yw ein geiriau ni. Yr oeddwn ddoe—yr ydwyf heddyw, a byddaf yfory. Ond geiriau yn eu perthynas â ni ydyw Oeddwn, ydwyf, a byddaf; ddoe, heddyw, ac yfory; a fu, y sydd, ac a ddaw; y gorphenol, y presenol, a'r dyfodol. Nid oes "cyfnewidiad na chysgod tröedigaeth" yn perthyn i Dduw. Y mae yn Hollbresenol o ran amser yn gystal a lle. Iddo ef nid oes dim yn ol, na dim yn mlaen. Mae "un dydd gydag ef fel mil o flynyddoedd, a mil o flynyddoedd fel un dydd." Nid yw yr amser byraf na hwyaf ond yr un peth i'r Hwn sydd "o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb." Iddo ef nid yw y diluw yn ol, na diwedd y byd yn mlaen. Mae y cynghor boreu a'r farn ddiweddaf yn ffeithiau presenol i feddwl yr Anfeidrol;—"*Ydwyf yr hwn ydwyf*." Yn nghanol holl gyfnewidiadau y byd, a chwyldroadau cymdeithas, dyma yr un sydd yn aros yn anghyfnewidiol;—"Hwynthwy a ddarfyddant, ond ti a barhei; hwynthwy oll fel dilledyn a heneiddiant, ac megis gwisg y plygi di hwynt, a hwy a newidir; ond tydi yr un ydwyt, a'th flynyddoedd ni phallant." "*Ydwyf yr hwn ydwyf*." "*Canys enw yr Arglwydd a gyhoeddaf fi*."

Mae yr Arglwydd yn ymddangos i Moses drachefn i adnewyddu ei addewid trwy roddi dadblygiad ychwanegol o'i gymeriad. Mae caledrwydd Pharaoh dan holl blâau Duw yn digaloni Moses nes peri iddo anobeithio am ddygiad y genedl allan; ond meddai yr Arglwydd wrtho, "Trwy law gadarn y gollwng efe hwynt;" ac er sicrwydd y daw hyn i ben,—"*Myfi yw Jehofah;*—ac mi a ymddangosais i Abraham, i Isaac, ac i Jacob, dan enw Duw Hollalluog; ond erbyn *fy enw Jehofah*

ni bum adnabyddus iddynt." Dyma enw mwyaf mawreddog ac urddasol yr Anfeidrol; "*fy enw*" priodol. Yr oedd rhyw awgrym o'r enw hwn wedi ei gael o'r blaen; oblegid galwodd Abraham y lle yr aberthodd i Dduw ar fynydd Moriah, wedi arbediad Isaac, yn "Jehofah Jire," ond nid oedd ystyr yr enw wedi ei ddeall ganddynt. "*Jehofah*"—un annibynol—hunanfodol—tragywyddol. Nid oes un gair i'w gysylltu âg ef yn flaenddodiad nac olddodiad. Afraid a gwrthun yw dyweyd Jehofah mawr, a Jehofah anfeidrol, oblegid mae yn cynwys pob mawredd ac anfeidroldeb ynddo ei hun, ac nid oes lluosogi na threiglo, na chwyddo arno; "*Myfi yw Jehofah.* Mae yr oll o Dduw yn y gair. Y mae tragywyddolrwydd Duw yn rhy fawr i ni allu ffurfio dirnadaeth am dano, llawer llai ei fesur. Gellir dilyn y gangen i'r cyff—y cyff i'r gwreiddyn—y gwreiddyn i'r ddaear—y ddaear i Dduw; ond nis gallwn fyned yn mhellach, y mae Duw yn dragywyddol. Gellir dilyn y plentyn i'w dad—ei dad i'w daid—ei daid i'w hendaid—ac oddiyno yn ol trwy yr oesau at feibion Noah, ac oddiyno i Adda y dyn cyntaf, a'n tad ni oll, ac o Adda i Dduw, yno rhaid aros a dywedyd, "Cyn gwneuthur y mynyddoedd a llunio o honot y ddaear a'r byd, ti hefyd wyt Dduw o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb." Draw, draw, yn ol mewn dychymyg tu hwnt i derfynau amser, lle yr ymlithra miliynau o oesau fel momentau, nid oes dim yn tori ar ddistawrwydd y cyfnod tragywyddol, ond yr Anfeidrol yn sibrwd yn y gwagle annherfynol, "*Myfi yw Jehofah.*" "Wele, mawr yw Duw, ac nid adwaenom ni ef, ac ni ellir chwilio allan nifer ei flynyddoedd ef." "*Canys enw yr Arglwydd a gyhoeddaf fi.*"

Dyna dair llinell fawreddog yn enw Duw wedi eu cael allan; ei Hollalluogrwydd; ei Anghyfnewidiolrwydd; a'i Dragywyddolrwydd; ond nid yw hyn oll ond "rhanau ei ffyrdd ef;" "y mae yn Nuw ogoniant mwy ofnadwy." Ac y mae Moses un diwrnod yn gofyn iddo, "Dangos i mi, atolwg, dy ogoniant." Dangos i mi linell ychwanegol o dy enw. Mae plygiau ar blygiau yn ei gymeriad wedi eu dangos;—"*Myfi yw*

iol fod yn rhaid i ddyn deimlo fod y fan lle y byddo, yn ei daro, onide ni bydd wrth ni fodd yno. Beth feddylid am y gweithiwr bach tlawd, oddiar lechwedd un o fynyddoedd Cymru, yn cael ei wahodd i fynu i balas ei mawrhydi, ein brenhines, i giniaw at y teulu brenhinol?—Mae y bwrdd wedi ei hulio o'r danteithion brasaf; a phrif bendefigion y deyrnas i gydeistedd wrth y bwrdd i wledda. Arweiniwch y gweithiwr yn ei wisg lom i'r ystafell wledd at y cwmni urddasol; druan o hono, byddai yn well ganddo lechu yn nghil y drws na myned i mewn atynt. Nid am fod ganddo ddim yn erbyn neb o honynt; ac nid, yn wir, am na hoffai gael rhan o'r wledd, ond y mae cymaint o ddefodau yn nglyn â'u gwledda, fel y byddai yn well gan yr hen weithiwr eistedd yn môn y clawdd, dan gysgod y berth dewfrig, gyda'i grystyn sych a'i dynied llaeth; byddai y fan hono yn ei daro yn well na bod yn y palas brenhinol, gyda'r cwmni urddasol, wrth y bwrdd llawn. Rhaid i'r fan a ninau ateb ein gilydd cyn y byddwn yn ddedwydd. Ond byddai pechadur, pe cai fyned i'r nefoedd yn ei gyflwr gwreiddiol, yn fil annedwyddach; byddai presenoldeb yr orsedd yn boen iddo—dysgleirdeb wynebpryd y Gwr sydd ar yr orseddfainc yn arogl marwolaeth iddo—a gwisgoedd gwynion y dyrfa berffeithiedig yn adlewyrchu gwarth ar ei fratiau budron. Byddai yn well gan yr annuwiol gael llechu yn nghilfachau dyfnaf ogofau tywyllaf yr ail farwolaeth, na bod yn ymyl gorsedd Duw yn y nefoedd heb ei gymhwyso i fwynhau y lle. Rhaid cael y nefoedd ynom ni, cyn y byddwn ni yn gymhwys i'r nefoedd. Mae y môr yn rhedeg i fynu i'r afon cyn i'r afon gyrhaedd i'r môr. Rhaid cael egwyddorion ac ysbryd y nefoedd yn ein heneidiau ni ar y ddaear; a'r egwyddorion mawrion hyny yn awyr glir y nefoedd yn ymddadblygu, fydd perffeithiad ein dedwyddwch. A phan y deuwn ni yn gymhwys i'r nefoedd, cymer Duw ni yno. Cymeryd y goreu o'r ddaear y mae y nefoedd. Dywedai yr hybarch John Jones, Talsarn, "fod y nefoedd yn trin y ddaear yn galed iawn, trwy gymeryd y rhai goreu oddi-

arni; fel ambell i arolygwr yn yr Ysgol Sul, os bydd gan yr athraw ryw fachgen gwell am ddysgu na'r lleill, cymer hwnw i ddosbarth uwch, a gadael yr athraw i boeni gyda'r rhai salaf; fel yna y mae y nefoedd yn yspeilio y ddaear o'i goreuon." Os bydd rhyw blentyn anwylach na'i gilydd mewn teulu, rhaid i'r nefoedd ei gael. Os bydd rhyw wr ieuanc mwy gobeithiol na'i gyfoedion, cymer y nefoedd ef i ffwrdd. Os bydd rhyw ddiacon mwy gwerthfawr na'i gilydd yn yr eglwys, yspeilia y nefoedd ni o hono. Os bydd rhyw bregethwr mwy nodedig na'i frodyr yn y pwlpud, geilw y nefoedd arno gartref. Yn wir, y mae y nefoedd yn trin y ddaear yn lled arw, onid yw? Ond er hyny, y maent yn y teulu—" O'r hwn yr enwir yr holl deulu, yn y nefoedd ac ar y ddaear;"—a phan y deuwn ninau yn gymhwys, cawn ninau fyned hefyd.

" Gwnaeth ni yn gymhwys."

*Yr oruchwyliaeth yn ei gwrthddrychau*:—"*ni* yn gymhwys." Beth, ai tybed fod yn bosibl ein gwneyd "*ni*" yn gymhwys i'r goleuni? Beth oeddym ni? Pob peth gwaeth na'i gilydd y gellwch chwi feddwl am dano;—"plant digofaint megis eraill"—"gelynion mewn meddwl trwy weithredoedd drwg"—"halogedig o wadn y troed hyd goryn y pen" —"halogedig hyd yn nod eu meddwl a'u cydwybod." Ac a ydyw yn bosibl gwneyd y fath gymeriadau yn gymhwys i'w dangos yn y goleu? Gras mawr fuasai arbed pechadur rhag cael ei ddamnio; ond gras anfeidrol fwy ydyw gwneyd pechadur a dynwyd gan ddiafol trwy ffosydd ffieiddiaf llygredigaeth mor lân na wel sancteiddrwydd yr un ysmotyn arno; "yn ddifai ger bron gorseddfainc Duw," yn gymhwys i'w ddal yn y goleuni pur,—"*ni* yn gymhwys i'r goleuni."

*Yr oruchwyliaeth yn ei phrif weithydd*,—"y Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys." "*Gwnaeth* ni yn gymhwys." Mae gwneyd i fod ar bechadur cyn myned ag ef i'r nefoedd. Mae swn gwneyd mawr drwy y Beibl i gyd. Bu gwneyd mawr ar Grist mewn trefn i'w wneyd yn Waredwr cymhwys i bechadur:—ei wneyd o wraig; a'i wneyd dan y ddeddf;

gwneyd "yr Hwn nid adnabu bechod yn bechod drosom ni;" ei wneyd i "ni gan Dduw yn ddoethineb, ac yn gyfiawnder, ac yn sancteiddrwydd, ac yn brynedigaeth." Gyda pharch y dylid ei ddyweyd, nid oedd yr ail Berson yn yr hanfod Ddwyfol yn Waredwr cymhwys i bechadur nes i Dduw *ei* wneyd. Beth oedd y cynllunio yn nhragywyddoldeb—yr ymgnawdoli yn Bethlehem—y chwysu yn Gethsemane—a'r marw ar Galfaria? ond Duw yn gwneyd ei Fab yn Waredwr cymhwys i bechadur. Mae gwneyd mawr i fod arnom ninau eto cyn bod yn gymhwys i fyned ato;—gwneyd mawr i wneyd pechadur yn sant, a gwneyd mawr wedi hyny i wneyd sant yn berffaith;—ein "gwneyd ni yn gyfranogion o Grist;" ein gwneyd "yn gyfranogion o'r duwiol anian;" ein gwneyd ni "yn gymeradwy ganddo ef;" ein gwneyd "ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef;" ein gwneyd ni "yn gyfranogion o'i sancteiddrwydd ef;" ac yn y diwedd, ein gwneyd "yn gymhwys i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Ah! y mae lle i ofni fod canoedd yn ein heglwysi yn tybio mai y cwbl sydd eisiau i fyned a dyn i'r nefoedd, ydyw gwella tipyn ar y dyn oddiallan—gwyngalchu yr ymarweddiad—tocio y pechodau mwyaf cyhoeddus—prydferthu felly â moesoldeb allanol; ond "na thwyller chwi," bobl anwyl, ni watworir Duw!" "Oddieithr *geni* dyn drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas Dduw," Rhaid i'r cyfnewidiad fyned yn ddyfnach na'r croen, y cnawd, yr esgyrn, a'r mer—"rhaid ei eni drachefn"—rhaid cael calon newydd ynddo; ac wedi cael hono, fe geir pob peth y tu allan iddo drachefn. Wel, dyna oruchwyliaeth na ddaw byth i ben. Na ddaw, os nad oes rhyw law heblaw llaw dyn i'w chyflawni. Ond y mae yma warantiad am ei chwblhad;—"y Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys." "Dwylaw Zorobabel a'i sylfaenasant, a'i ddwylaw ef a'i gorphen." Mae Duw wedi dechreu y gwaith, ac y mae y Duw a'i dechreuodd yn sicr o'i orphen hefyd, erbyn dydd Iesu Grist. Beth yw rhwystrau i'n Duw ni? Dywed yn awdurdodol yn eu gwyneb oll, "Gwnaf, a phwy a'm lluddia."

*Yr oruchwyliaeth yn y deyrnged delir am dani.* "Gan ddiolch i'r Tad." Mae diolch mewn crefydd, fy nghyfeillion; mwy o ddiolch yn wir nag o ofyn. Er fod yn haws cael genym ni ofyn na diolch; "oni lanhawyd y deg? ond pa le y mae y naw? Mae yn haws cael deg i weddio am waredigaeth o gyfyngder na chael dau i ddiolch am dani; ac am bob deg a waredir rhyw un geir i ddiolch; ac y mae y diolch fynychaf yn d'od o'r man annhebycaf i'w ddisgwyl. "A Samariad oedd efe."

Ond y mae diolch mewn crefydd; mae yn dechreu yma, ac i barhau byth yn y nefoedd. Ac nid rhyw beth ddechreuwyd yn ngwres crefyddol y ganrif ddiweddaf gan Gymry haner barbaraidd ydyw gweiddi "Diolch" a "Bendigedig." Ond yr oedd Paul fawr, ddysgedig mewn hwyl yn eu defnyddio. "Bendigedig fyddo Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist." "Gan ddiolch i'r Tad yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys." Diolch iddo am feddwl am danom yn nhragywyddoldeb. Diolch iddo am anfon ei Fab i farw drosom. Diolch iddo am anfon ei Ysbryd i ddechreu y gwaith da ynom; a diolch iddo am holl droion ei Ragluniaeth tuag atom er yn aml yn chwerw, oblegid amcan y cwbl yw ein cymhwyso i'r etifeddiaeth. "Gan ddiolch i'r Tad." Diolcha y Cristion am dani cyn myned iddi; a gall wneyd hyny; oblegid y mae'r etifeddiaeth yn sicr. Etifeddion bywyd tragywyddol, codwch eich penau, nis gwn pa faint o golledion a gewch chwi yn y byd yma, ac yn angau; ond y mae yr etifeddiaeth yn ddiogel, mae y *title deed* am dani yn hen goffr y cyfamod tragywyddol; ac yn ngoddaith cyffredinol y dydd diweddaf, pan y bydd "y nefoedd yn myned heibio gyda thwrf, a'r defnyddiau gan wir wres yn toddi;" bydd yr etifeddion ar ludw yr hen ddaear yn canu—

"Cyfamod fy Nuw i sydd eto, mor gadarn ei dir ag erioed."

Ah! fy ngwrandawyr anwyl, i ba le yr ydych chwi yn d'od yn gymhwys? Pa un ai "llestri digofaint," yn cymhwyso

eich hunain i golledigaeth; ai "llestri trugaredd," yn cael eu parotoi gan ras i ogoniant? Rhyw ddarnau ar ein haner ydym i gyd eto, heb fod yn eithaf cymhwys i unman; ond yn fuan byddwn wedi ein ffurfio i'r ddelw hono fydd arnom byth. Parotoer ni trwy bob goruchwyliaeth i "gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni."

---

# PREGETH XIV.

## TEYRNGED I ENW DUW.

DEUTERONOMIUM xxxii. 2.

"Canys enw yr Arglwydd a gyhoeddaf fi; rhoddwch fawredd i'n Duw ni."

---

Enw un yn briodol ydyw yr hyn sydd yn ei ddynodi er ei wahaniaethu oddiwrth eraill; ond defnyddir y gair *enw* yn fynych yn gyfystyr â chymeriad. "Gwell yw *enw* da na chyfoeth lawer." "Gwell yw *enw* da nag enaint gwerthfawr." Felly hefyd y mae *enw* yr Arglwydd yn myned am ei gymeriad. "Twr cadarn yw *enw* yr Arglwydd." "Yn *enw* yr Arglwydd y gobeithiant hwy." "Canys *enw* yr Arglwydd a gyhoeddaf fi." Llythyrenau enw yr Arglwydd ydyw ei holl briodoliaethau, naturiol a moesol; a'r cwbl yn nghyd a wna ei enw yn llawn.

Yn raddol yr eglurodd Duw ei gymeriad i'r byd. Dechreuodd ysgrifenu ei enw yn ngweithredoedd y greadigaeth; ac yr oedd gwaith pob dydd yn olynol yn dangos mwy o'i ogoniant. Gwelir llawer o Dduw yn y greadigaeth faterol

—yn y fywydol gwelir mwy o hono—yn nghyfansoddiad "rhyfedd ac ofnadwy" corff dyn, daeth ychwaneg o hono i'r golwg; ond enaid dyn, dyma yr amlygiad egluraf o hono; mae hwn "ar ei lun a'i ddelw ei hun." Amlygwyd cymaint o Dduw yn mhob peth a wnaeth, ag a allasai y fath bethau ddal o'i ogoniant. Ond nid oedd argraffu ei enw yn ei weithredoedd ddim yn ddigon ganddo, o ganlyniad cyhoeddodd ei enw mewn geiriau, ac esboniodd ef yn ei oruchwyliaethau.

Yr Arglwydd ei hun a gyhoeddodd ei enw gyntaf, ac adgyhoeddi yr enw wedi ei gael yr oedd Moses; a gwneyd yn fawr o'r plyg cyntaf nes cael yr ail, ac felly o'r ail nes cael y trydydd. Yn raddol y cyhoeddodd Duw ei enw mewn geiriau; ac y mae pob amlygiad wedi ei gyfaddasu i ddealltwriaethau a galluoedd dynion. Dangosir y llinellau egluraf yn ei gymeriad gyntaf; a chyda phob dadleniad o hono awgrymir fod yn "Nuw ogoniant mwy ofnadwy."

Mae y testyn yn cyfeirio at gyhoeddiad enw Duw; ac yn galw arnom i roddi y deyrnged ddyledus iddo. "Canys enw yr Arglwydd a gyhoeddaf fi; rhoddwch fawredd i'n Duw ni."

CYHOEDDIAD ENW DUW; neu *y dadblygiad graddol a roddodd o'i gymeriad i'r byd.*

Ymddangosodd yr Arglwydd i Abraham pan wnaeth y cyfamod âg ef, y byddai yn dad llawer o genhedloedd, ac y rhoddai wlad Canaan i'w had yn etifeddiaeth dragywyddol, dan yr enw, "*Myfi yw Duw Hollalluog.*" Dyma yr enw cyntaf a roddodd arno ei hun; ac y mae priodoldeb yn yr enw i'r amgylchiad; gan ei fod yn addaw peth mor fawr, a pheth i olwg ddynol mor annhebyg i gymeryd lle, yr oedd eisiau rhyw sylfaen gref i ffydd i bwyso arni, a dyma hi—"*Myfi yw Duw Hollalluog.*" Ac y mae yn deilwng o'n sylw, bob tro y mae yr Arglwydd yn cyhoeddi ei enw, ei fod yn gwneyd hyny mewn ffurf frenhinol, hyny ydyw, yn dyweyd ei enw yn gyntaf. Pan y bydd dynion cyffredin yn ysgrifenu llythyrau neu anerchiadau, rhoddant eu henwau ar y diwedd;

ond pan y bydd brenhinoedd yn ysgrifenu rhoddant eu henwau ar y dechreu, fel y byddo awdurdod yr ysgrifenydd yn ychwanegu at bwysigrwydd y genadwri. Yn y mawrhydi brenhinol yna y mae Iesu Grist yn ysgrifenu ei lythyrau at Eglwysi Asia;—"Y pethau hyn y mae y Cyntaf a'r Diweddaf yn eu dywedyd." "Y pethau hyn y mae Mab Duw yn eu dywedyd, yr hwn y mae ei lygaid yn fflam dân, a'i draed yn debyg i bres coeth." Felly yr un modd gyda phob dadblygiad o'i enw dan yr hen oruchwyliaeth rhydd ei enw ar y dechreu, i barotoi eu meddyliau i ddisgwyl rhyw beth mawr; a pha mor gryfion bynag y byddo yr anhawsderau, fod yn enw yr Arglwydd ddigon i'w cyfarfod oll. Felly y gwnaeth i Abraham,—"*Myfi yw Duw Hollalluog.*" Dyma y ffon a roddwyd yn ei law pan y galwyd arno i rodio ger bron Duw; ac ar hon y pwysai am gynhaliaeth o hyny allan. Pan y galwyd arno i offrymu "ei unig fab Isaac, yr hwn a hoffodd," ar hon y pwysodd, "gan gyfrif *fod Duw yn abl* i'w gyfodi ef o feirw." Ac yn yr un enw yr ymaflai y patriarch Isaac pan yn bendithio Jacob wrth ei anfon i dŷ ei ewythr Laban i ymofyn gwraig,—"A *Duw Hollalluog* a'th fendithio, ac a'th ffrwythlono, ac a'th luosogo, fel y byddech yn gynulleidfa pobloedd; ac a roddo i ti fendith Abraham, i ti ac i'th had gyda thi, i etifeddu o honot dir dy ymdaith, yr hwn a roddodd Duw i Abraham."

Ail-gyhoeddodd Duw yr enw yma arno ei hun i Jacob yn Bethel, pan y newidiwyd ei enw, ac y galwyd ef Israel.—"*Myfi yw Duw Hollalluog*, cynydda ac amlha; cenedl a chynulleidfa cenhedloedd a fydd o honot ti, a brenhinoedd a ddaw allan o'th lwynau di; a'r wlad yr hon a roddais i Abraham ac i Isaac a roddaf i ti, ac i'th had ar dy ol di y rhoddaf y wlad." A phan y mae Jacob yn ei fendith ddiweddaf i'w feibion cyn tynu ei draed i'r gwely i farw, yn bendithio ei anwylaf Joseph, y mae yn ymafael yn yr un enw, "Joseph fydd gangen ffrwythlon, cangen ffrwythlon wrth ffynon, ceinciau yn cerdded ar hyd y mur; a'r saethyddion a fuant chwerw wrtho,

ac a'i saethasant, ac a'i casasant; er hyny arhôdd ei fwa ef yn gryf, a breichiau ei ddwylaw a gryfhasant trwy ddwylaw *grymus* Dduw Jacob; oddiyno y mae y bugail, maen Israel; trwy Dduw dy dad, yr hwn a'th gynorthwya, a'r *Hollalluog*, yr hwn a'th fendithia, â bendithion y nefoedd oddi uchod, a bendithion y dyfnder yn gorwedd isod, a bendithion y bronau a'r groth; rhagorodd bendithion dy dad ar fendithion fy rhieni, hyd derfyn bryniau tragywyddoldeb, byddant ar ben Joseph, ac ar goryn yr hwn a neillduwyd oddiwrth ei frodyr." Beth sydd yn rhoddi nerth i ffydd yr hen wr i dywallt y fath gawodydd o fendithion ar goryn ei fab? Yr enw,—"*Myfi yw Duw Hollalluog.*" "Duw yn gallu pob peth, a Duw yn allu i gyd." Hollalluawgrwydd Duw ydyw nerth a bywyd ei holl briodoliaethau Beth fyddai ei gynghor heb allu i'w gwblhau? Ni byddai ei addewidion ond swp o eiriau gweigion heb ei Hollalluawgrwydd o'r tu cefn, yn sicrwydd y cyflawnir hwynt oll. "A fydd dim yn anhawdd i'r Arglwydd?" "Cadarn yw ei law." Dywed yn benderfynol, yn nghanol ystrywiau dynion a diafliaid, "Gwnaf, a phwy a'm lluddia?" Dyma ffynon ddihysbydd o gysur a diddanwch,—"*Myfi yw Duw Hollalluog.*" "*Canys enw yr Arglwydd a gyhoeddaf fi.*"

Ymddangosodd yr Arglwydd mewn gweledigaeth i Moses yn Horeb, i roddi dadblygiad ychwanegol o'i gymeriad. Gwelodd berth yn llosgi yn dân, ac o ganol y berth galwodd yr Arglwydd arno, gan hysbysu iddo ei fod yn ei anfon at Pharaoh i ddwyn Israel allan o'r Aipht. Mae Moses yn brawychu rhag y cyfrifoldeb; gŵyr am ormes Pharaoh, a sefyllfa ddiraddiol Israel, fel y mae mewn arswyd yn gofyn, "Pwy ydwyf fi fel yr awn at Pharaoh, ac y dygwn blant Israel allan o'r Aipht?" Nid rhaid i ti ofni y gwaith, ebe yr Arglwodd, "Diau y byddaf fi gyda thi." Dyna ddigon i wynebu pob anhawsder. Ond ebe Moses, Nid yn unig y mae Pharaoh yn greulawn, ond y mae Israel yn gyndyn; ac er i mi ddywedyd, "Duw eich tadau a'm hanfonodd atoch; os dywedant wrthyf, Beth yw ei enw ef? beth a ddywedaf fi wrthynt?" Gallasai

Duw adnewyddu yr hen enw a roddodd arno ei hun i Abraham; ac yr oedd yr enw hwnw yn gyfaddas i'r amgylchiad hwn. Ond yr oedd yr Arglwydd yn gweled yma gyfle i ddangos plyg newydd yn ei gymeriad; am hyny y dywedodd wrth Moses, "*Ydwyf yr hwn ydwyf*," ac ychwanegodd, "fel hyn yr adroddi wrth feibion Israel, *Ydwyf* a'm hanfonodd atoch." Mae arbenigrwydd yn yr enw—Duw yn unig all ddyweyd fel hyn. *Oeddwn, ydwyf*, a *byddaf*, yw ein geiriau ni. Yr oeddwn ddoe—yr ydwyf heddyw, a byddaf yfory. Ond geiriau yn eu perthynas â ni ydyw Oeddwn, ydwyf, a byddaf; ddoe, heddyw, ac yfory; a fu, y sydd, ac a ddaw; y gorphenol, y presenol, a'r dyfodol. Nid oes "cyfnewidiad na chysgod tröedigaeth yn perthyn i Dduw. Y mae yn Hollbresenol o ran amser yn gystal a lle. Iddo ef nid oes dim yn ol, na dim yn mlaen. Mae "un dydd gydag ef fel mil o flynyddoedd, a mil o flynyddoedd fel un dydd." Nid yw yr amser byraf na hwyaf ond yr un peth i'r Hwn sydd "o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb." Iddo ef nid yw y diluw yn ol, na diwedd y byd yn mlaen. Mae y cynghor boreu a'r farn ddiweddaf yn ffeithiau presenol i feddwl yr Anfeidrol;—"*Ydwyf yr hwn ydwyf*." Yn nghanol holl gyfnewidiadau y byd, a chwyldroadau cymdeithas, dyma yr un sydd yn aros yn anghyfnewidiol;—"Hwynthwy a ddarfyddant, ond ti a barhei; hwynthwy oll fel dilledyn a heneiddiant, ac megis gwisg y plygi di hwynt, a hwy a newidir; ond tydi yr un ydwyt, a'th flynyddordd ni phallant." "*Ydwyf yr hwn ydwyf*." "*Canys enw yr Arglwydd a gyhoeddaf fi*."

Mae yr Arglwydd yn ymddangos i Moses drachefn i adnewyddu ei addewid trwy roddi dadblygiad ychwanegol o'i gymeriad. Mae caledrwydd Pharaoh dan holl blâau Duw yn digaloni Moses nes peri iddo anobeithio am ddygiad y genedl allan; ond meddai yr Arglwydd wrtho, "Trwy law gadarn y gollwng efe hwynt;" ac er sicrwydd y daw hyn i ben,—"*Myfi yw Jehofah;*—ac mi a ymddangosais i Abraham, i Isaac, ac i Jacob, dan enw Duw Hollalluog; ond erbyn *fy enw Jehofah*

ni bum adnabyddus iddynt." Dyma enw mwyaf mawreddog ac urddasol yr Anfeidrol; "*fy enw*" priodol. Yr oedd rhyw awgrym o'r enw hwn wedi ei gael o'r blaen; oblegid galwodd Abraham y lle yr aberthodd i Dduw ar fynydd Moriah, wedi arbediad Isaac, yn "Jehofah Jire," ond nid oedd ystyr yr enw wedi ei ddeall ganddynt. "*Jehofah*"—un annibynol—hunanfodol—tragywyddol. Nid oes un gair i'w gysylltu âg ef yn flaenddodiad nac olddodiad. Afraid a gwrthun yw dyweyd Jehofah mawr, a Jehofah anfeidrol, oblegid mae yn cynwys pob mawredd ac anfeidroldeb ynddo ei hun, ac nid oes lluosogi na threiglo, na chwyddo arno; "*Myfi yw Jehofah.* Mae yr oll o Dduw yn y gair. Y mae tragywyddolrwydd Duw yn rhy fawr i ni allu ffurfio dirnadaeth am dano, llawer llai ei fesur. Gellir dilyn y gangen i'r cyff—y cyff i'r gwreiddyn—y gwreiddyn i'r ddaear—y ddaear i Dduw; ond nis gallwn fyned yn mhellach, y mae Duw yn dragywyddol. Gellir dilyn y plentyn i'w dad—ei dad i'w daid—ei daid i'w hendaid—ac oddiyno yn ol trwy yr oesau at feibion Noah, ac oddiyno i Adda y dyn cyntaf, a'n tad ni oll, ac o Adda i Dduw, yno rhaid aros a dywedyd, "Cyn gwneuthur y mynyddoedd a llunio o honot y ddaear a'r byd, ti hefyd wyt Dduw o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb." Draw, draw, yn ol mewn dychymyg tu hwnt i derfynau amser, lle yr ymlithra miliynau o oesau fel momentau, nid oes dim yn tori ar ddistawrwydd y cyfnod tragywyddol, ond yr Anfeidrol yn sibrwd yn y gwagle annherfynol, "*Myfi yw Jehofah.*" "Wele, mawr yw Duw, ac nid adwaenom ni ef, ac ni ellir chwilio allan nifer ei flynyddoedd ef." "*Canys enw yr Arglwydd a gyhoeddaf fi.*"

Dyna dair llinell fawreddog yn enw Duw wedi eu cael allan; ei Hollalluogrwydd; ei Anghyfnewidiolrwydd; a'i Dragywyddolrwydd; ond nid yw hyn oll ond "rhanau ei ffyrdd ef;" "y mae yn Nuw ogoniant mwy ofnadwy." Ac y mae Moses un diwrnod yn gofyn iddo, "Dangos i mi, atolwg, dy ogoniant." Dangos i mi linell ychwanegol o dy enw. Mae plygiau ar blygiau yn ei gymeriad wedi eu dangos;—"*Myfi yw*

*Duw Hollalluog;*" "*Ydwyf yr hwn ydwyf;*" "*Myfi yw Jehofah;*" a pha beth yn ychwaneg a fynai? Ond gwyddai Moses fod dyblygion eto yn Nuw heb eu dwyn i'r golwg; am hyny y mae yn anturio gofyn "Dangos i mi dy ogoniant;" ac ebe yr Arglwydd wrtho, "Gwnaf i'm holl ddaioni fyned heibio o flaen dy wyneb, a *chyhoeddaf enw yr Arglwydd.*" Dyma Dduw yn myned i roddi datguddiad neillduol o'i gymeriad. Mae Moses yn sefyll ar graig wedi ei guddio mewn angen, a llaw Duw yn ei gysgodi, rhag i belydrau tanbaid y gogoniant ei ladd; ac wedi gwneyd yr holl barotoadau; "a'r Arglwydd a ddisgynodd mewn cwmwl, ac a safodd gydag ef yno; ac a *gyhoeddodd enw yr Arglwydd.* A'r Arglwydd a aeth heibio o'i flaen ef, ac a lefodd, JEHOFAH, JEHOFAH, y Duw *trugarog a graslawn;—hwyrfrydig i ddig, ac aml o drugaredd a gwirionedd;—yr hwn sydd yn cadw trugaredd i filoedd,*—gan faddeu *anwiredd, a chamwedd, a phechod,—a heb gyfrif yr anwir yn gyfiawn.*" Dyma enw Duw yn llawn. Dyma blygiau wedi eu cael allan na wyddid nemawr ddim am danynt o'r blaen. Dyma chwech o lythyrenau auraidd enw yr Arglwydd wedi eu cyhoeddi. Dyma flwch o enaint gwerthfawr wedi ei dywallt, mae ei berarogledd yn fywyd i'r ddaear ac yn ogoniant i'r nef. Dyma fwnglawdd cyfoethog wedi ei ddarganfod,—a'i welyau anmhrisiadwy yn gorwedd yn haenau ar eu gilydd. Dyma bren y bywyd yn plygu dan gyforedd o ffrwythau iachawdwriaeth. Ac y mae yr enw yma wedi ei gael yn werth ei gyhoeddi; ac nid rhyfedd i Moses ddyweyd, "*Canys enw yr Arglwydd a gyhoeddaf fi.*" At hwn yn benaf y cyfeiriai. Ac wedi cael hwn nid yw yn son am y lleill. A pha bryd bynag y cynhyrfai eiddigedd yr Arglwydd yn erbyn Israel, yn yr enw yma y mae yn ymafael i ddadleu am eu harbediad, "Yr awr hon gan hyny mawrhaer atolwg nerth Duw fel y lleferaist, yr Arglwydd sydd hwyrfrydig i ddig, ac aml o drugaredd, yn maddeu anwiredd a chamwedd." Enw yr Arglwydd yw ei ddadl barhaus. Mae trugaredd Duw ar ei holl weithredoedd. Caredigrwydd a daioni sydd yn rhedeg trwy

bob peth. Yr oedd Duw yn dysgu trugaredd a thynerwch yn nhrefniadau yr hen oruchwyliaeth. Yr oedd gofal mawr yn cael ei ddangos am y tlawd, yr amddifad, a'r weddw. Mae trugaredd Duw i'w gweled yn eglur yn holl gyfreithiau y genedl Iuddewig. Daeth rhyw belydr o drugaredd i'r golwg yn nghanol y cymylau duon ar Sinai. Mae yr olygfa yno yn ofnadwy pan y mae yr Arglwydd ar ddisgyn "â thanllyd gyfraith ei ddeheulaw." Mae y mynydd yn llosgi ac yn mygu. Nid yw y tân yn goleuo y tywyllwch na'r tywyllwch yn cuddio y tân. Mae y taranau yn cynhyrfu y nefoedd, a'r mellt yn rhwygo yr awyr. Gorchymynwyd i bob anifail gael ei symud oddiar y mynydd; gan ei fod yn siglo fel lluest bugail ar yr ystorm. Mae yna dywyllwch, tymhestl, a llef geiriau; llewyga y dynion cryfaf gan ofn, a gwaeddant yn ddychrynedig, "Llefared Moses wrthym, ac na lefared Duw wrthym rhag i ni feirw;" a Moses ei hun mor frawychus yn gwaeddi, "Yr ydwyf yn ofni, ac yn crynu!" Ond yn nghanol y cymylau duon, pan y mae cyfiawnder oddiar gopa myglyd y mynydd yn taranu y gyfraith; dacw drugaredd yn taflu pelydr o oleuni rhwng y llenni trwchus, gan waeddi, "ac yn *gwneuthur trugaredd i filoedd* o'r rhai am carant ac a gadwant fy nghorchymynion."

Ond wedi cael Moses i'r agen yn y graig y dadblygwyd graslonrwydd calon Duw, ac y cyhoeddwyd ei enw yn groyw. Ac y mae ei holl hanes yn eglurhad ar ei enw. Dwy linell ddelir wyneb yn wyneb ydyw, "*hwyrfrydig i lid,*" ac "*aml o drugaredd.*" "Rhodio gydag awel y dydd at Adda wedi iddo bechu," yn araf i weini y gosp; rhybuddio yr hen fyd am ugain mlynedd a chant, cyn eu boddi â dwfr diluw; anfon ei angylion i rybuddio am ddinystr Sodom, ac ymdroi gydag Abraham ar y ffordd cyn tywallt y farn; ymweled â Pharaoh â rhes o blâau cyn ymafael ynddo a'i ysgytio yn y Môr Coch; arbed y bachgen annuwiol ddymunodd ganwaith i Dduw ddamnio ei enaid. Beth y mae hyn oll yn ei brofi? ond ei fod yn "*hwyrfrydig i ddig,*" ond yn "*aml o drugaredd,*" "yn

*cadw trugaredd i filoedd.*" Gwelwch ef yn gwrando gweddi Manasseh er yr holl ddrygau ysgeler gyflawnodd, yn wyneb y manteision penaf;—yn arbed y Ninifeaid ar yr awgrym cyntaf o'u hymostyngiad;—yn ateb gweddi y lleidr *edifeiriol* yn safn uffern;—yn rhedeg i gyfarfod yr afradlon, yn ei gofleidio yn ei garpiau, ac yn syrthio ar ei wddf i'w gusanu;—yn maddeu holl gamweddau y bechadures fawr;—ac yn cymeryd trugaredd ar y bachgen rhyfygus y funyd y syrthiodd yn edifeiriol o'i flaen, gan waeddi, "O! Dduw, bydd drugarog wrthyf fi, bechadur." "Pa Dduw sydd fel tydi, yn maddeu anwiredd, ac yn myned heibio i anwiredd gweddill ei etifeddiaeth? Ni ddeil efe ddig byth, am fod yn hoff ganddo drugaredd." "*Canys enw yr Arglwydd a gyhoeddaf fi.*"

Y DEYRNGEDD DDYLEDUS I ENW DUW. "*Rhoddwch fawredd i'n Duw ni.*" Rhoddwch iddo y mawredd y mae ei enw yn ei hawlio.

*Addolwch ef.* "*Myfi yw Jehofah.*" "*Ydwyf yr hwn ydwyf.*" Y mae yn wrthddrych cymhwys i'w addoli. Y mae yn rhy fawr i ffurfio dirnadaeth am dano: y mawredd mwyaf a allwn osod arno ydyw syrthio ger ei fron a'i addoli. Mae y datguddiad y mae wedi ei roddi o hono ei hun yn gyfryw fel yr ydym yn rhwym o deimlo "gwylder a pharchedig ofn" yn ei bresenoldeb. Mae ei fawredd fel bod tragywyddol ac anghyfnewidiol yn cael ei ddal allan yn gymhelliad i roddi addoliad iddo. "Rhoddwch i'r Arglwydd ogoniant a nerth, rhoddwch i'r Arglwydd ogoniant ei enw, dygwch offrwm, a deuwch i'w gynteddau; addolwch yr Arglwydd mewn prydferthwch sancteiddrwydd; yr holl ddaear ofnwch ger ei fron ef." "Cenwch i Dduw, canmolwch ei enw; dyrchefwch yr Hwn sydd yn marchogaeth ar y nefoedd, a'i enw yn *Jah*, a gorfoleddwch ger ei fron ef." "Rhoddwch i Dduw gadernid, ei oruchelder sydd ar Israel; a'i nerth yn y wybrenau." Rhoddwch fawredd arno fel "*Jehofah*"—fel "*Ydwyf yr hwn ydwyf;*" trwy ei addoli. "*Rhoddwch fawredd i'n Duw ni.*"

*Ymddiriedwch ynddo,*—"*Myfi yw Duw Hollalluog.*" Y

mae Duw yn aml iawn yn dal ei Hollalluawgrwydd yn sylfaen i ffydd i ymddiried ynddo. "Ymddiriedwch yn yr Arglwydd byth, o herwydd yn yr Arglwydd Dduw y mae cadernid tragywyddol." Y mawredd a ellir roddi ar allu ydyw ymgysgodi dano. Cysylltir gallu dwyfol a gofal dwyfol â'u gilydd o bwrpas i ddysgu i ni ymddiried ynddo. Yn lle ein brawychu, y mae Hollalluawgrwydd yn gysgod ac yn amddiffyn i ni. Ac y mae fod y ddau wedi eu dwyn yn y Beibl i ymyl eu gilydd, yn gwneyd y cyferbyniad yn fwy. Fel y mae y ddôl brydferth wrth droed y graig ysgythrog yn cymedroli ein teimladau; os bydd gerwindeb y naill yn ein brawychu, bydd tlysni y llall yn ein tawelu. "Y mae efe yn rhifo rhifedi y ser, geilw hwynt oll wrth eu henwau." Dyna y graig ysgythrog. "Efe sydd yn iachau y rhai briwedig o galon, ac yn rhwymo eu doluriau hwynt." Dyna y ddôl dlws. "Dyrchefwch eich llygaid ac edrychwch, pwy a greodd y rhai hyn; a ddug eu llu hwynt allan mewn rhifedi, a'u geilw hwynt oll wrth eu henwau, gan amlder ei rym ef, ei fraich nerthol, a'i gadarn allu, ni phalla un?" Dyna y mynydd cribog. "Yr hwn a rydd nerth i'r diffygiol, ac a amlha gryfder i'r dirym" Dyna y dyffryn prydferth. Rhoddwch fawredd iddo fel "*Duw Hollalluog,*" trwy ymddiried ynddo. "Twr cadarn yw enw yr Arglwydd, ato y rhed y cyfiawn, ac y mae yn ddiogel." Mae pob peth a fedd Duw at angen, a phob peth a all at amddiffyn yr enaid sydd yn y tŵr. Gosoded uffern ei holl fagnelau i gyfeirio at y tŵr, gall y rhai sydd ynddo deimlo yn berffaith dawel, "ac y mae yn ddiogel." "*Rhoddwch fawredd i'n Duw ni.*"

*Syrthiwch i'w freichiau*:—"Y Duw trugarog a graslawn." Dyna y ffordd i roddi mawredd ar drugaredd Duw, ydyw trwy syrthio i'w breichiau. Yn ei gyfyngder dywedodd Dafydd, "Syrthio a wnelwyf yn llaw yr Arglwydd, ac na syrthiwyf yn llaw dyn; canys aml yw ei drugaredd ef." "Peth ofnadwy yw syrthio yn nwylaw y Duw byw!" Ond peth bendigedig ydyw syrthio i freichiau "y Duw trugarog a gras-

lawn. Y mawredd mwyaf a all pechadur roddi ar *Dduw* ydyw syrthio i freichiau ei drugaredd ef. Y mawredd uchaf a all gwrthryfelwr roddi ar anrhydedd ei frenhin ydyw rhoddi ei hunan i fynu i'w ewyllys. Y mawredd *mwyaf* a allasai gweision Benhadad roddi ar frenhin Israel oedd myned ato a sachlian am eu lwynau, a rhaffau am eu penau, gan waeddi, "Atolwg gad i ni fyw." Y mawredd mwyaf a allasai Mannasseh roddi yr Arglwydd Dduw ei dadau oedd troi ato yn ei gyfyngder. Y mawredd mwyaf a allasai y mab afradlon roddi ar drugaredd ei dad oedd penderfynu yn ei newyn yn y wlad bell i gychwyn tuag adref. Rhoddwch fawredd ar drugaredd faddeuol Duw trwy syrthio i'w breichiau. Gwnaeth Saul o Tarsus hyny, ac wedi gwneyd, dyma a ddywedai, "Mi a gefais drugaredd." Mae anrhydedd mewn rhai dynion; ond gadael arnynt, un o fil na chawn degwch ganddynt. Ond syrthiwch i freichiau trugaredd Duw, nid oes perygl y cewch gam. "Gadawed y drygionus ei ffordd, a'r gwr anwir ei feddyliau, a dychweled at yr Arglwydd; ac efe a gymer drugaredd arno, ac at ein Duw ni, o herwydd efe a arbed yn helaeth." Y mawredd mwyaf a all pechadur roddi ar drugaredd faddeuol Duw ydyw cwympo yn edifeiriol i'w freichiau yn awr.—"*Rhoddwch fawredd i'n Duw ni.*"

# PREGETH XV.

---

## UFUDD-DOD CRIST.

---

HEBREAID v. 8, 9.

"Er ei fod yn Fab, a ddysgodd ufudd-dod trwy y pethau a ddyoddefodd : ac wedi ei berffeithio, efe a wnaethpwyd yn Awdwr iachawdwriaeth dragywyddol i'r rhai oll a ufuddhant iddo."

---

Cymhwysder yr Arglwydd Iesu Grist fel Archoffeiriad, ydyw y prif fater yr ymdrinir âg ef gan yr Apostol yn y bennod hon, a'r pennodau cylchynol. Y cymhwysder neillduol y cyfeirir ato yma, ydyw ei allu i gydymdeimlo â'i bobl. A'r hyn yn arbenig sydd yn ei alluogi i gydymdeimlo ydyw, ei fod wedi bod yn yr amgylchiadau hyny ei hun. "Yr hwn a ddichon dosturio wrth y rhai sydd mewn amryfusedd ac anwybodaeth ; am ei fod yntau hefyd wedi ei amgylchu â gwendid." "Canys yn gymaint a dyoddef o hono ef, gan gael ei demtio, efe a ddichon gynorthwyo y rhai a demtir." Rhoddir darluniad cyffrous iawn o'r pethau a ddyoddefodd yn yr adnod flaenorol i'r testyn :—"Yr hwn yn nyddiau ei gnawd," hyny yw, yn nhymor ei ddarostyngiad, "gwedi iddo trwy lefain cryf a dagrau,"—cyfeirir yma at ei ingoedd yn ngardd Gethsemane. Nid oes un o'r Efengylwyr yn crybwyll am ei wylo yno ; ond y mae yn ddigon naturiol meddwl i'r dyoddefiadau barodd chwysu fel defnynau o waed, beri hefyd "lefain cryf a dagrau." Tair gwaith y mae genym hanes y Cyfryngwr yn wylo. Wylodd wrth fedd Lazarus—wylodd yn yr olwg ar Jerusalem—ac wylodd yn ngardd Gethsemane. Dagrau cyfaill wrth fedd cyfaill oedd y cyntaf,—dagrau preg-

ethwr yn ngolwg annghrediniaeth ei wrandawyr oedd yr ai
—a dagrau Cyfryngwr dan bwys ein pechodau ni oedd y try
ydd ;—" llefain cryf a dagrau." "Offrwm gweddiau ac e
fyniau at yr Hwn oedd abl i'w achub oddiwrth farwolaeth.
" Os yw bosibl aed y *cwpan hwn* heibio oddiwrthyf." "Ef
a weddiodd ar fyned yr *awr hono* oddiwrtho ;"—na bydda
i'r ingoedd hyny fod yn angau iddo ; "a chael ei wrando y
yr hyn a ofnodd." Nid ei wrando rhag dyoddef, ond e
wrando mor belled a'i waredu oddiwrth "ofn marwolaeth,
nerth i fyned trwy y dyoddefiadau. "Ymddangosodd ang
iddo yn ei nerthu." Ymddiriedodd am gynorthwyon dw
fol i fyned trwy ei waith caled, a derbyniodd hwy. "Er
fod yn Fab, efe a ddysgodd ufudd-dod trwy y pethau ddyod
efodd.

UFUDD-DOD YR ARGLWYDD IESU GRIST.

1. *Ufudd-dod un yn y berthynas agosaf ;—"Er ei fod y* FAB, *a ddysgodd ufudd-dod."*

Gelwir y saint yn feibion i Dduw, a gelwir yr angylion y
feibion i Dduw. "Anwylyd, yr awrhon meibion i Dduw y
ym." "Pan gydganodd ser y boreu, ac y gorfoleddodd h
feibion Duw." Ond y mae Crist yn Fab mewn ystyr wahan
i bob sant a phob angel ; oblegid hyny y gelwir ef ei "bric
Fab," ei anwyl Fab," ei "unig-anedig Fab." Mab na fed
Duw yn briodol ond efe. Meibion mabwysiadol yw pawb e
aill, ond dyma ei Fab yn wreiddiol. Athrawiaeth nad oe
genym ond dirnadaeth anmherffaith am dani ydyw athrawiaet
Mabolaeth Crist. Un o'r pethau nefol ydyw, nad oes dim
cyfatebiaeth yn y byd naturiol i'w hegluro. Dylem fod y
gynil a gwylaidd iawn, gan hyny, wrth ymdrin a dyfnio
bethau Duw. Y mae gwahaniaeth rhwng Personoliaeth Cris
a Mabolaeth Crist. Mae Personoliaeth yr Arglwydd Ies
Grist yn cynwys ei fod yn wirioneddol, sylweddol, a hanfod
Berson Dwyfol er tragywyddoldeb ; ac yn meddu bodoliaet
wahaniaethol oddiwrth y Tad a'r Ysbryd. Ond y mae Mal
[illegible]

drefn gyfryngol. Person tragywyddol, a Mab yn swyddol. Person yn hanfodol, a Mab yn osodiadol. Person mewn dull angenrheidiol o fodoli, a Mab yn ei argymeriad israddol yn y drefn gyfryngol. Ond y mae ei fod yn Fab yn profi ei fod yn gydradd o ran natur â'i Dad—yn agos o ran perthynas i'w Dad—yn anwyl o ran serch gan ei Dad—ac yn arlun perffaith o'i Dad. "Yr hwn ac efe yn ddysgleirdeb ei ogoniant ef, ac yn wir lun ei berson ef." "Yr hwn yw delw y Duw anweledig." Ond "er ei fod yn Fab, a ddysgodd ufudd-dod." Sonia y Beibl fod rhyw anwyldeb sanctaidd rhwng y personau Dwyfol, ac ymhyfrydiad y naill yn y llall; a phrofasant eu cariad mewn gweithred a gwirionedd. Profodd y Tad ei fod yn caru y Mab trwy ymddiried iddo; a phrofodd y Mab ei fod yn caru y Tad trwy ufuddhau iddo. Ymddiried sydd yn profi cariad y Tad, ac ufudd-dod sydd yn profi cariad y Mab. Ymddiriedodd y Tad i'w Fab fwy nag a allasai neb arall ymddiried iddo. Ymddiriedodd iddo anrhydedd ei ddeddf,—gweinyddiadau ei lywodraeth,—a bywyd tragywyddol "tyrfa fawr na ddichon neb ei rhifo." Paham yr ymddiriedodd gymaint iddo? "Canys y mae y Tad yn caru y Mab, ac a roddes bob peth yn ei law ef." Oddiar ei gariad ato yr ymddiriedodd gymaint iddo. Profodd y Mab ei gariad trwy ufuddhau. Gyrfa o ufudd-dod oedd gyrfa yr Arglwydd Iesu Grist yn ei sefyllfa fel gwas. "Yr Arglwydd Dduw a agorodd fy nghlust, minau ni wrthwynebais, ac ni throais yn fy ol." Cyfeiriad sydd yma at y cynghor boreu; oblegid y mae agoryd clustiau yn myned am wneyd cyfamod. Yr Arglwydd Dduw a agorodd fy nghlust, i wrando amodau y cyfamod,—"a minau ni wrthwynebais." Gwelais Bethlehem, lle yr oeddwn i wisgo cnawd; ond "ni wrthwynebais;" gwelais Gethsemane, lle yr oeddwn ar noson oer i chwysu, ond ni ddywedais air yn erbyn y cynllun; gwelais Galfaria, lle yr oeddwn i farw mewn gwarth; ond ymgymerais â'r cwbl,—"Fy nghefn a roddais i'r curwyr, a'm cernau i'r rhai a dynent y blew; ni chuddiais fy wyneb oddiwrth waradwydd a phoeryd." Ac

wedi gwneyd yr ymrwymiad y mae yn anfon ei gyhoeddiad:—"Wele, yr wyf fi yn dyfod yn rhol y llyfr a ysgrifenwyd am danaf; bu dda genyf wneuthur dy ewyllys di, O fy Nuw, a'th gyfraith sydd o fewn fy nghalon." Ac yn ddioed, erbyn ei fod yn y byd, dechreuodd ar ei waith. Pan y collodd ei rieni ef, yn fachgen deuddeg oed, a phan y cafwyd ef yn nghanol y doctoriaid yn eu holi hwy, atebodd ei fam bryderus, "Oni wyddech chwi fod yn rhaid i mi fod yn nghylch y pethau a berthynent i'm Tad?" "Rhaid i mi weithio gwaith yr hwn a'm hanfonodd tra yr ydyw hi yn ddydd." "Fy mwyd i yw gwneuthur ewyllys yr hwn a'm hanfonodd, a gorphen ei waith ef." "Os cedwch fy ngorchymynion, chwi a aroswch yn fy nghariad, fel y cedwais i orchymynion fy Nhad, ac yr wyf yn aros yn ei gariad ef." Beth, atolwg, yw y pryder mawr yma sydd arno i ufuddhau? "Ond fel y gwypo y byd fy mod i yn caru y Tad, ac fel y gorchymynodd y Tad i mi, felly yr wyf yn gwneuthur." Yr oedd holl ufudd-dod y Mab i'w Dad yn cyfodi oddiar gariad; ac yn niwedd ei ddiwrnod dywedai, "Mi a'th ogoneddais di ar y ddaear, mi a gwblheais y gwaith a roddaist i mi i'w wneuthur." Mawrygir ufudd-dod Isaac i Abraham, pan y boddlonodd i gymeryd ei rwymo ar yr allor, ac, yn wir, y mae yn engraifft ardderchog; ond wele fwy nag Isaac yma. "Er ei fod yn *Fab*, a ddysgodd ufudd-dod." Mae ambell i fachgen yn myned i feddwl ei hun yn ormod o ddyn i ufuddhau i'w dad; myn gael yr awenau i'w law ei hun; ond dyma un, er ei fod yn "briod Fab Duw," a ddysgodd ufudd-dod.

2. *Ufudd-dod ddysgwyd ganddo trwy brofiad chwerwaf;* "a ddysgodd ufudd-dod trwy y pethau a ddyoddefodd." Nid dysgu ufudd-dod fel athrawiaeth a feddylir. Mae eisiau dysgu hyny ar lawer. Siaradant yn fedrus am eu hawliau a'u hiawnderau; ond erioed heb ddeall natur a therfynau ufudd-dod. Ond nid dyma y dysgu oedd eisiau ar Grist; yr oedd yn deall yr athrawiaeth yn berffaith. Nid dysgu ufudd-dod oblegid ei fod yn gyndyn i ufuddhau ychwaith. Ysgol dyodd-

efaint yw yr un y dysgir y wers o ufudd-dod ynddi i blant cyndyn. Bu raid anfon Jonah iddi. Mynai yr Arglwydd iddo fyned i Ninife i bregethu; ond gwrthodai Jonah ufuddhau. Dywedai yr hybarch William Morris o Cilgeran, "fod clefyd Jonah yn wahanol i'r rhan fwyaf o bregethwyr. Rhedeg heb eu hanfon y mae llawer; ond gwrthod myned er cael ei anfon, ac er cael pregeth barod yr oedd Jonah." Aeth i Joppa a chytunodd a llong i fyned i Tarsus; ond aeth Duw ar ei ol a'i fflangell yn ei law; disgynwyd ef i odreu y mynyddoedd; ymglymodd yr hesg am ei ben; yr oedd y ddaear a'i throsolion o'i amgylch; ac yn mol uffern y dysgodd ufudd-dod. Dysgodd Jonah ufudd-dod trwy ddyoddefaint, oblegid ei fod yn gyndyn i ufuddhau. Ond, nid oblegid ei fod yn hwyrfrydig i ddysgu yr aeth y Mab trwy y fath ddyoddefaint. Ufuddhaodd cyn dechreu dyoddef, a dysgodd ufudd-dod neillduol trwy y pethau a ddyoddefodd. "Er ei fod yn Fab;" eto fel y gallai gydymdeimlo â ni profwyd ef trwy gyfres o ddyoddefiadau fel ninau. Cymerer engraifft fel hyn. Mae gan y boneddwr yna weithfa fawr; mae yn bwriadu ei gadael ar ei ol i'w unig fab. Mae gan hyny, er cymwyso y mab i arolygu drosti, yn ei ddarostwng i bob caledwaith fel gweithiwr cyffredin. O ran cyfoeth gallasai gadw y bachgen yn esmwyth i ymdroi mewn moethau ar lawr-leni amryliw y palas, ond y mae yr hen foneddwr yn gwybod y bydd yn gymhwysach i arolygu dros weithwyr wedi gwybod beth yw gwaith caled ei hun. Ac y mae hyny yn eithaf gwir. Nid oes dim yn fwy annyoddefol na dyn yn arolygu dros weithwyr heb wybod beth yw gwaith; o ganlyniad er ei gymhwyso i'r arolygiaeth darostyngir ef i bob caledwaith fel gweithiwr cyffredin. Felly hefyd yma, gallasai y Mab fwynhau y "dedwyddwch oedd iddo gyda'i Dad cyn bod y byd;" yr oedd yn hyfrydwch iddo beunydd, ac yn ymlawenhau ger ei fron ef bob amser." Ond fel y gallai yn well "gyd-ddyoddef gyda'n gwendid ni" a myned i mewn i holl anghenion ein natur ni, "efe a ddysgodd ufudd-dod trwy y pethau a ddyoddefodd."

*Duw Hollalluog;*" "*Ydwyf yr hwn ydwyf;*" "*Myfi yw Jehofah;*" a pha beth yn ychwaneg a fynai? Ond gwyddai Moses fod dyblygion eto yn Nuw heb eu dwyn i'r golwg; am hyny y mae yn anturio gofyn "Dangos i mi dy ogoniant;" ac ebe yr Arglwydd wrtho, "Gwnaf i'm holl ddaioni fyned heibio o flaen dy wyneb, a *chyhoeddaf enw yr Arglwydd.*" Dyma Dduw yn myned i roddi datguddiad neillduol o'i gymeriad. Mae Moses yn sefyll ar graig wedi ei guddio mewn angen, a llaw Duw yn ei gysgodi, rhag i belydrau tanbaid y gogoniant ei ladd; ac wedi gwneyd yr holl barotoadau; "a'r Arglwydd a ddisgynodd mewn cwmwl, ac a safodd gydag ef yno; ac a *gyhoeddodd enw yr Arglwydd.* A'r Arglwydd a aeth heibio o'i flaen ef, ac a lefodd, JEHOFAH, JEHOFAH, y Duw *trugarog a graslawn;—hwyrfrydig i ddig, ac aml o drugaredd a gwirionedd;—yr hwn sydd yn cadw trugaredd i filoedd,*—gan faddeu *anwiredd, a chamwedd, a phechod,—a heb gyfrif yr anwir yn gyfiawn.*" Dyma enw Duw yn llawn. Dyma blygiau wedi eu cael allan na wyddid nemawr ddim am danynt o'r blaen. Dyma chwech o lythyrenau euraidd enw yr Arglwydd wedi eu cyhoeddi. Dyma flwch o enaint gwerthfawr wedi ei dywallt, mae ei bera'ogledd yn fywyd i'r ddaear ac yn ogoniant i'r nef. Dyma fwnglawdd cyfoethog wedi ei ddarganfod,—a'i welyau anmhrisiadwy yn gorwedd yn haenau ar eu gilydd. Dyma bren y bywyd yn plygu dan gyforedd o ffrwythau iachawdwriaeth. Ac y mae yr enw yma wedi ei gael yn werth ei gyhoeddi; ac nid rhyfedd i Moses ddyweyd, "*Canys enw yr Arglwydd a gyhoeddaf fi.*" At hwn yn benaf y cyfeiriai. Ac wedi cael hwn nid yw yn son am y lleill. A pha bryd bynag y cynhyrfai eiddigedd yr Arglwydd yn erbyn Israel, yn yr enw yma y mae yn ymafael i ddadleu am eu harbediad, "Yr awr hon gan hyny mawrhaer atolwg nerth Duw fel y lleferaist, yr Arglwydd sydd hwyrfrydig i ddig, ac aml o drugaredd, yn maddeu anwiredd a chamwedd." Enw yr Arglwydd yw ei ddadl barhaus. Mae trugaredd Duw ar ei holl weithredoedd. Caredigrwydd a daioni sydd yn rhedeg trwy

bob peth. Yr oedd Duw yn dysgu trugaredd a thynerwch yn nhrefniadau yr hen oruchwyliaeth. Yr oedd gofal mawr yn cael ei ddangos am y tlawd, yr amddifad, a'r weddw. Mae trugaredd Duw i'w gweled yn eglur yn holl gyfreithiau y genedl Iuddewig. Daeth rhyw belydr o drugaredd i'r golwg yn nghanol y cymylau duon ar Sinai. Mae yr olygfa yno yn ofnadwy pan y mae yr Arglwydd ar ddisgyn "â thanllyd gyfraith ei ddeheulaw." Mae y mynydd yn llosgi ac yn mygu. Nid yw y tân yn goleuo y tywyllwch na'r tywyllwch yn cuddio y tân. Mae y taranau yn cynhyrfu y nefoedd, a'r mellt yn rhwygo yr awyr. Gorchymynwyd i bob anifail gael ei symud oddiar y mynydd; gan ei fod yn siglo fel lluest bugail ar yr ystorm. Mae yna dywyllwch, tymhestl, a llef geiriau; llewyga y dynion cryfaf gan ofn, a gwaeddant yn ddychrynedig, "Llefared Moses wrthym, ac na lefared Duw wrthym rhag i ni feirw;" a Moses ei hun mor frawychus yn gwaeddi, "Yr ydwyf yn ofni, ac yn crynu!" Ond yn nghanol y cymylau duon, pan y mae cyfiawnder oddiar gopa myglyd y mynydd yn taranu y gyfraith; dacw drugaredd yn taflu pelydr o oleuni rhwng y lleni trwchus, gan waeddi, "ac yn *gwneuthur trugaredd i filoedd* o'r rhai am carant ac a gadwant fy nghorchymynion."

Ond wedi cael Moses i'r agen yn y graig y dadblygwyd graslonrwydd calon Duw, ac y cyhoeddwyd ei enw yn groyw. Ac y mae ei holl hanes yn eglurhad ar ei enw. Dwy linell ddelir wyneb yn wyneb ydyw, "*hwyrfrydig i lid*," ac "*aml o drugaredd*." "Rhodio gydag awel y dydd at Adda wedi iddo bechu," yn araf i weini y gosp; rhybuddio yr hen fyd am ugain mlynedd a chant, cyn eu boddi â dwfr diluw; anfon ei angylion i rybuddio am ddinystr Sodom, ac ymdroi gydag Abraham ar y ffordd cyn tywallt y farn; ymweled â Pharaoh â rhes o blâau cyn ymafael ynddo a'i ysgytio yn y Môr Coch; arbed y bachgen annuwiol ddymunodd ganwaith i Dduw ddamnio ei enaid. Beth y mae hyn oll yn ei brofi? ond ei fod yn "*hwyrfrydig i ddig*," ond yn "*aml o drugaredd*," "*yn*

*cadw trugaredd i filoedd.*" Gwelwch ef yn gwrando gwedd Manasseh er yr holl ddrygau ysgeler gyflawnodd, yn wyne y manteision penaf;—yn arbed y Ninifeaid ar yr awgry cyntaf o'u hymostyngiad;—yn ateb gweddi y lleidr edifeiri yn safn uffern;—yn rhedeg i gyfarfod yr afradlon, yn ei gofl eidio yn ei garpiau, ac yn syrthio ar ei wddf i'w gusanu;—y madden holl gamweddau y bechadures fawr;—ac yn cymery trugaredd ar y bachgen rhyfygus y funyd y syrthiodd yn ed feiriol o'i flaen, gan waeddi, "O! Dduw, bydd drugarog wrthy fi, bechadur." "Pa Dduw sydd fel tydi, yn maddeu anwi edd, ac yn myned heibio i anwiredd gweddill ei etifeddiaeth Ni ddeil efe ddig byth, am fod yn hoff ganddo drugaredd. "*Canys enw yr Arglwydd a gyhoeddaf fi.*"

Y DEYRNGEDD DDYLEDUS I ENW DUW. "*Rhoddwch fawred i'n Duw ni.*" Rhoddwch iddo y mawredd y mae ei enw yn ei hawlio.

*Addolwch ef.* "*Myfi yw Jehofah.*" "*Ydwyf yr hwn yd wyf.*" Y mae yn wrthddrych cymhwys i'w addoli. Y ma yn rhy fawr i ffurfio dirnadaeth am dano: y mawredd mwya a allwn osod arno ydyw syrthio ger ei fron a'i addoli. Mae datguddiad y mae wedi ei roddi o hono ei hun yn gyfryw f yr ydym yn rhwym o deimlo "gwylder a pharchedig ofn" yn ei bresenoldeb. Mae ei fawredd fel bod tragywyddol a anghyfnewidiol yn cael ei ddal allan yn gymhelliad i rodd addoliad iddo. "Rhoddwch i'r Arglwydd ogoniant a nerth, rhoddwch i'r Arglwydd ogoniant ei enw, dygwch offrwm, a deuwch i'w gynteddau; addolwch yr Arglwydd mewn pryd ferthwch sancteiddrwydd; yr holl ddaear ofnwch ger ei fron ef." "Cenwch i Dduw, canmolwch ei enw; dyrchefwch yn Hwn sydd yn marchogaeth ar y nefoedd, a'i enw yn *Jah*, a gorfoleddwch ger ei fron ef." "Rhoddwch i Dduw gadernid, ei oruchelder sydd ar Israel; a'i nerth yn y wybrenau." Rhoddwch fawredd arno fel "*Jehofah*"—fel "*Ydwyf yr hwn ydwyf;*" trwy ei addoli. "*Rhoddwch fawredd i'n Duw ni.*"

*Ymddiriedwch ynddo,—*"*Myfi yw Duw Hollalluog.*" Y

mae Duw yn aml iawn yn dal ei Hollalluawgrwydd yn sylfaen i ffydd i ymddiried ynddo. "Ymddiriedwch yn yr Arglwydd byth, o herwydd yn yr Arglwydd Dduw y mae cadernid tragywyddol." Y mawredd a ellir roddi ar allu ydyw ymgysgodi dano. Cysylltir gallu dwyfol a gofal dwyfol â'u gilydd o bwrpas i ddysgu i ni ymddiried ynddo. Yn lle ein brawychu, y mae Hollalluawgrwydd yn gysgod ac yn amddiffyn i ni. Ac y mae fod y ddau wedi eu dwyn yn y Beibl i ymyl eu gilydd, yn gwneyd y cyferbyniad yn fwy. Fel y mae y ddôl brydferth wrth droed y graig ysgythrog yn cymedroli ein teimladau; os bydd gerwindeb y naill yn ein brawychu, bydd tlysni y llall yn ein tawelu. "Y mae efe yn rhifo rhifedi y ser, geilw hwynt oll wrth eu henwau." Dyna y graig ysgythrog. "Efe sydd yn iachau y rhai briwedig o galon, ac yn rhwymo eu doluriau hwynt." Dyna y ddôl dlws. "Dyrchefwch eich llygaid ac edrychwch, pwy a greodd y rhai hyn; a ddug eu llu hwnyt allan mewn rhifedi, a'u geilw hwynt oll wrth eu henwau, gan amlder ei rym ef, ei fraich nerthol, a'i gadarn allu, ni phalla un?" Dyna y mynydd cribog. "Yr hwn a rydd nerth i'r diffygiol, ac a amlha gryfder i'r dirym" Dyna y dyffryn prydferth. Rhoddwch fawredd iddo fel "*Duw Hollalluog*," trwy ymddiried ynddo. "Twr cadarn yw enw yr Arglwydd, ato y rhed y cyfiawn, ac y mae yn ddiogel." Mae pob peth a fedd Duw at angen, a phob peth a all at amddiffyn yr enaid sydd yn y tŵr. Gosoded uffern ei holl fagnelau i gyfeirio at y tŵr, gall y rhai sydd ynddo deimlo yn berffaith dawel, "ac y mae yn ddiogel." "*Rhoddwch fawredd i'n Duw ni.*"

*Syrthiwch i'w freichiau*:—"Y Duw trugarog a graslawn." Dyna y ffordd i roddi mawredd ar drugaredd Duw, ydyw trwy syrthio i'w breichiau. Yn ei gyfyngder dywedodd Dafydd, "Syrthio a wnelwyf yn llaw yr Arglwydd, ac na syrthiwyf yn llaw dyn; canys aml yw ei drugaredd ef." "Peth ofnadwy yw syrthio yn nwylaw y Duw byw!" Ond peth bendigedig ydyw syrthio i freichiau "y Duw trugarog a gras-

lawn. Y mawredd mwyaf a all pechadur roddi ar Ddu
ydyw syrthio i freichiau ei drugaredd ef. Y mawredd uch
a all gwrthryfelwr roddi ar anrhydedd ei frenhin ydy
rhoddi ei hunan i fynu i'w ewyllys. Y mawredd mwyaf a al
asai gweision Benhadad roddi ar frenhin Israel oedd myne
ato a sachlian am eu lwynau, a rhaffau am eu penau, ge
waeddi, "Atolwg gad i ni fyw." Y mawredd mwyaf a a
asai Mannasseh roddi yr Arglwydd Dduw ei dadau oedd tr
ato yn ei gyfyngder. Y mawredd mwyaf a allasai y mab
radlon roddi ar drugaredd ei dad oedd penderfynu yn ei ne
yn yn y wlad bell i gychwyn tuag adref. Rhoddwch fawre
ar drugaredd faddeuol Duw trwy syrthio i'w breichi
Gwnaeth Saul o Tarsus hyny, ac wedi gwneyd, dyma a dd
wedai, "Mi a gefais drugaredd." Mae anrhydedd mewn rh
dynion; ond gadael arnynt, un o fil na chawn degwch ga
ddynt. Ond syrthiwch i freichiau trugaredd Duw, nid o
perygl y cewch gam. "Gadawed y drygionus ei ffordd,
gwr anwir ei feddyliau, a dychweled at yr Arglwydd; ac
a gymer drugaredd arno, ac at ein Duw ni, o herwydd efe
arbed yn helaeth." Y mawredd mwyaf a all pechadur ro
ar drugaredd faddeuol Duw ydyw cwympo yn edifeiriol i
freichiau yn awr.—"*Rhoddwch fawredd i'n Duw ni.*"

# PREGETH XV.

## UFUDD-DOD CRIST.

HEBREAID v. 8, 9.

"Er ei fod yn Fab, a ddysgodd ufudd-dod trwy y pethau a ddyoddefodd: ac wedi ei berffeithio, efe a wnaethpwyd yn Awdwr iachawdwriaeth dragywyddol i'r rhai oll a ufuddhant iddo."

Cymhwysder yr Arglwydd Iesu Grist fel Archoffeiriad, ydyw y prif fater yr ymdrinir âg ef gan yr Apostol yn y bennod hon, a'r pennodau cylchynol. Y cymhwysder neillduol y cyfeirir ato yma, ydyw ei allu i gydymdeimlo â'i bobl. A'r hyn yn arbenig sydd yn ei alluogi i gydymdeimlo ydyw, ei fod wedi bod yn yr amgylchiadau hyny ei hun. "Yr hwn a ddichon dosturio wrth y rhai sydd mewn amryfusedd ac anwybodaeth; am ei fod yntau hefyd wedi ei amgylchu â gwendid." "Canys yn gymaint a dyoddef o hono ef, gan gael ei demtio, efe a ddichon gynorthwyo y rhai a demtir." Rhoddir darluniad cyffrous iawn o'r pethau a ddyoddefodd yn yr adnod flaenorol i'r testyn:—"Yr hwn yn nyddiau ei gnawd," hyny yw, yn nhymor ei ddarostyngiad, "gwedi iddo trwy lefain cryf a dagrau,"—cyfeirir yma at ei ingoedd yn ngardd Gethsemane. Nid oes un o'r Efengylwyr yn crybwyll am ei wylo yno; ond y mae yn ddigon naturiol meddwl i'r dyoddefiadau barodd chwysu fel defnynau o waed, beri hefyd "lefain cryf a dagrau." Tair gwaith y mae genym hanes y Cyfryngwr yn wylo. Wylodd wrth fedd Lazarus—wylodd yn yr olwg ar Jerusalem—ac wylodd yn ngardd Gethsemane. Dagrau cyfaill wrth fedd cyfaill oedd y cyntaf, a dagrau preg-

ethwr yn ngolwg annghrediniaeth ei wrandawyr oedd yr ail, —a dagrau Cyfryngwr dan bwys ein pechodau ni oedd y tryd ydd ;—" llefain cryf a dagrau." "Offrwm gweddiau ac er fyniau at yr Hwn oedd abl i'w achub oddiwrth farwolaeth." "Os yw bosibl aed y *cwpan hwn* heibio oddiwrthyf." "Efe a weddiodd ar fyned yr *awr hono* oddiwrtho ;"—na byddai i'r ingoedd hyny fod yn angau iddo ; "a chael ei wrando yn yr hyn a ofnodd." Nid ei wrando rhag dyoddef, ond ei wrando mor belled a'i waredu oddiwrth "ofn marwolaeth," nerth i fyned trwy y dyoddefiadau. "Ymddangosodd angel iddo yn ei nerthu." Ymddiriedodd am gynorthwyon dwyfol i fyned trwy ei waith caled, a derbyniodd hwy. "Er ei fod yn Fab, efe a ddysgodd ufudd-dod trwy y pethau ddyoddefodd.

UFUDD-DOD YR ARGLWYDD IESU GRIST.

1. *Ufudd-dod unigyn y berthynas agosaf ;*—"*Er ei fod yn* FAB, *a ddysgodd ufudd-dod.*"

Gelwir y saint yn feibion i Dduw, a gelwir yr angylion yn feibion i Dduw. "Anwylyd, yr awrhon meibion i Dduw ydym." "Pan gydganodd ser y boreu, ac y gorfoleddodd holl feibion Duw." Ond y mae Crist yn Fab mewn ystyr wahanol i bob sant a phob angel ; oblegid hyny y gelwir ef ei "briod Fab," ei anwyl Fab," ei "unig-anedig Fab." Mab na fedd Duw yn briodol ond efe. Meibion mabwysiadol yw pawb ereill, ond dyma ei Fab yn wreiddiol. Athrawiaeth nad oes genym ond diruadaeth annherffaith am dani ydyw athrawiaeth Mabolaeth Crist. Un o'r pethau nefol ydyw, nad oes dim cyfatebiaeth yn y byd naturiol i'w hegluro. Dylem fod yn gyail a gwylaidd iawn, gan hyny, wrth ymdrin a dyfnion bethau Duw. Y mae gwahaniaeth rhwng Personoliaeth Crist a Mabolaeth Crist. Mae Personoliaeth yr Arglwydd Iesu Grist yn cynwys ei fod yn wirioneddol, sylweddol, a hanfodol Berson Dwyfol er tragywyddoldeb ; ac yn meddu bodolaeth wahaniaethol oddiwrth y Tad a'r Ysbryd. Ond y mae Mab [illegible]

drefn gyfryngol. Person tragywyddol, a Mab yn swyddol. Person yn hanfodol, a Mab yn osodiadol. Person mewn dull angenrheidiol o fodoli, a Mab yn ei argymeriad israddol yn y drefn gyfryngol. Ond y mae ei fod yn Fab yn profi ei fod yn gydraddo ran natur â'i Dad—yn agos o ran perthynas i'w Dad—yn anwyl o ran serch gan ei Dad—ac yn arlun perffaith o'i Dad. "Yr hwn ac efe yn ddysgleirdeb ei ogoniant ef, ac yn wir lun ei berson ef." "Yr hwn yw delw y Duw anweledig." Ond "er ei fod yn Fab, a ddysgodd ufudd-dod." Sonia y Beibl fod rhyw anwyldeb sanctaidd rhwng y personau Dwyfol, ac ymhyfrydiad y naill yn y llall; a phrofasant eu cariad mewn gweithred a gwirionedd. Profodd y Tad ei fod yn caru y Mab trwy ymddiried iddo; a phrofodd y Mab ei fod yn caru y Tad trwy ufuddhau iddo. Ymddiried sydd yn profi cariad y Tad, ac ufudd-dod sydd yn profi cariad y Mab. Ymddiriedodd y Tad i'w Fab fwy nag a allasai neb arall ymddiried iddo. Ymddiriedodd iddo anrhydedd ei ddeddf,—gweinyddiadau ei lywodraeth,—a bywyd tragywyddol "tyrfa fawr na ddichon neb ei rhifo." Paham yr ymddiriedodd gymaint iddo? "Canys y mae y Tad yn caru y Mab, ac a roddes bob peth yn ei law ef." Oddiar ei gariad ato yr ymddiriedodd gymaint iddo. Profodd y Mab ei gariad trwy ufuddhau. Gyrfa o ufudd-dod oedd gyrfa yr Arglwydd Iesu Grist yn ei sefyllfa fel gwas. "Yr Arglwydd Dduw a agorodd fy nghlust, minau ni wrthwynebais, ac ni throais yn fy ol." Cyfeiriad sydd yma at y cynghor boreu; oblegid y mae agoryd clustiau yn myned am wneyd cyfamod. Yr Arglwydd Dduw a agorodd fy nghlust, i wrando amodau y cyfamod, "a minau ni wrthwynebais." Gwelais Bethlehem, lle yr oeddwn i wisgo cnawd; ond "ni wrthwynebais;" gwelais Gethsemane, lle yr oeddwn ar noson oer i chwysu, ond ni ddywedais air yn erbyn y cynllun; gwelais Galfaria, lle yr oeddwn i farw mewn gwarth; ond ymgymerais â'r cwbl,—"Fy nghefn a roddais i'r curwyr, a'm cernau i'r rhai a dynent y blew; ni chuddiais fy wyneb oddiwrth waradwydd a phoeredd." Ac

wedi gwneyd yr ymrwymiad y mae yn anfon ei gyhoeddiad:—"Wele, yr wyf fi yn dyfod yn rhol y llyfr a ysgrifenwyd am danaf; bu dda genyf wneuthur dy ewyllys di, O fy Nuw; a'th gyfraith sydd o fewn fy nghalon." Ac yn ddioed, erbyn ei fod yn y byd, dechreuodd ar ei waith. Pan y collodd ei rieni ef, yn fachgen deuddeg oed, a phan y cafwyd ef yn nghanol y doctoriaid yn eu holi hwy, atebodd ei fam bryderus, "Oni wyddech chwi fod yn rhaid i mi fod yn nghylch y pethau a berthynent i'm Tad?" "Rhaid i mi weithio gwaith yr hwn a'm hanfonodd tra yr ydyw hi yn ddydd." "Fy mwyd i yw gwneuthur ewyllys yr hwn a'm hanfonodd, a gorphen ei waith ef." "Os cedwch fy ngorchymynion, chwi a arosweh yn fy nghariad, fel y cedwais i orchymynion fy Nhad, ac yr wyf yn aros yn ei gariad ef." Beth, atolwg, yw y pryder mawr yna sydd arno i ufuddhau? "Ond fel y gwypo y byd fy mod i yn caru y Tad, ac fel y gorchymynodd y Tad i mi, felly yr wyf yn gwneuthur." Yr oedd holl ufudd-dod y Mab i'w Dad yn cyfodi oddiar gariad; ac yn niwedd ei ddiwrnod dywedai, "Mi a'th ogoneddais di ar y ddaear, mi a gwblheais y gwaith a roddaist i mi i'w wneuthur." Mawrygir ufudd-dod Isaac i Abraham, pan y boddlonodd i gymeryd ei rwymo ar yr allor, ac, yn wir, y mae yn engraifft ardderchog; ond wele fwy nag Isaac yma. "Er ei fod yn *Fab*, a ddysgodd ufudd-dod." Mae ambell i fachgen yn myned i feddwl ei hun yn ormod o ddyn i ufuddhau i'w dad; myn gael yr awenau i'w law ei hun; ond dyma un, er ei fod yn "briod Fab Duw," a ddysgodd ufudd-dod.

2. *Ufudd-dod ddysgwyd ganddo trwy brofiad chwerwaf;* "a ddysgodd ufudd-dod trwy y pethau a ddyoddefodd." Nid dysgu ufudd-dod fel athrawiaeth a feddylir. Mae eisiau dysgu hyny ar lawer. Siaradant yn fedrus am eu hawliau a'u hiawnderau; ond erioed heb ddeall natur a therfynau ufudd-dod. Ond nid dyma y dysgu oedd eisiau ar Grist; yr oedd yn deall yr athrawiaeth yn berffaith. Nid dysgu ufudd-dod oblegid ei fod yn gyndyn i ufuddhau ychwaith. Ysgol dyodd-

efaint yw yr un y dysgir y wers o ufudd-dod ynddi i blant cyndyn. Bu raid anfon Jonah iddi. Mynai yr Arglwydd iddo fyned i Ninife i bregethu; ond gwrthodai Jonah ufuddhau. Dywedai yr hybarch William Morris o Cilgeran, "fod clefyd Jonah yn wahanol i'r rhan fwyaf o bregethwyr. Rhedeg heb eu hanfon y mae llawer; ond gwrthod myned er cael ei anfon, ac er cael pregeth barod yr oedd Jonah." Aeth i Joppa a chytunodd a llong i fyned i Tarsus; ond aeth Duw ar ei ol a'i ffiangell yn ei law; disgynwyd ef i odreu y mynyddoedd; ymglymodd yr hesg am ei ben; yr oedd y ddaear a'i throsolion o'i amgylch; ac yn mol uffern y dysgodd ufudd-dod. Dysgodd Jonah ufudd-dod trwy ddyoddefaint, oblegid ei fod yn gyndyn i ufuddhau. Ond, nid oblegid ei fod yn hwyrfrydig i ddysgu yr aeth y Mab trwy y fath ddyoddefaint. Ufuddhaodd cyn dechreu dyoddef, a dysgodd ufudd-dod neillduol trwy y pethau a ddyoddefodd. "Er ei fod yn Fab;" eto fel y gallai gydymdeimlo â ni profwyd ef trwy gyfres o ddyoddefiadau fel ninau. Cymerer engraifft fel hyn. Mae gan y boneddwr yna weithfa fawr; mae yn bwriadu ei gadael ar ei ol i'w unig fab. Mae gan hyny, er cymwyso y mab i arolygu drosti, yn ei ddarostwng i bob caledwaith fel gweithiwr cyffredin. O ran cyfoeth gallasai gadw y bachgen yn esmwyth i ymdroi mewn moethau ar lawr-leni amryliw y palas, ond y mae yr hen foneddwr yn gwybod y bydd yn gymhwysach i arolygu dros weithwyr wedi gwybod beth yw gwaith caled ei hun. Ac y mae hyny yn eithaf gwir. Nid oes dim yn fwy annyoddefol na dyn yn arolygu dros weithwyr heb wybod beth yw gwaith; o ganlyniad er ei gymhwyso i'r arolygiaeth darostyngir ef i bob caledwaith fel gweithiwr cyffredin. Felly hefyd yma, gallasai y Mab fwynhau y "dedwyddwch oedd iddo gyda'i Dad cyn bod y byd;" yr oedd yn hyfrydwch iddo beunydd, ac yn ymlawenhau ger ei fron ef bob amser." Ond fel y gallai yn well "gyd-ddyoddef gyda'n gwendid ni". a myned i mewn i holl anghenion ein natur ni, "efe a ddysgodd ufudd-dod trwy y pethau a ddyoddefodd."

*Duw Hollalluog;*" "*Ydwyf yr hwn ydwyf;*" "*Myfi yw Jehofah;*" a pha beth yn ychwaneg a fynai? Ond gwyddai Moses fod dyblygion eto yn Nuw heb eu dwyn i'r golwg; am hyny y mae yn anturio gofyn "Dangos i mi dy ogoniant;" ac ebe yr Arglwydd wrtho, "Gwnaf i'm holl ddaioni fyned heibio o flaen dy wyneb, a *chyhoeddaf enw yr Arglwydd.*" Dyma Dduw yn myned i roddi datguddiad neillduol o'i gymeriad. Mae Moses yn sefyll ar graig wedi ei guddio mewn angen, a llaw Duw yn ei gysgodi, rhag i belydrau tanbaid y gogoniant ei ladd; ac wedi gwneyd yr holl barotoadau; "a'r Arglwydd a ddisgynodd mewn cwmwl, ac a safodd gydag ef yno; ac a *gyhoeddodd enw yr Arglwydd.* A'r Arglwydd a aeth heibio o'i flaen ef, ac a lefodd, JEHOFAH, JEHOFAH, y Duw *trugarog a graslawn;—hwyrfrydig i ddig, ac aml o drugaredd a gwirionedd;—yr hwn sydd yn cadw trugaredd i filoedd,—gan* faddeu *anwiredd, a chamwedd, a phechod,—a heb gyfrif yr anwir yn gyfiawn.*" Dyma enw Duw yn llawn. Dyma blygiau wedi eu cael allan na wyddid nemawr ddim am danynt o'r blaen. Dyma chwech o lythyrenau auraidd enw yr Arglwydd wedi eu cyhoeddi. Dyma flwch o enaint gwerthfawr wedi ei dywallt, mae ei berarogledd yn fywyd i'r ddaear ac yn ogoniant i'r nef. Dyma fwnglawdd cyfoethog wedi ei ddargan-fod,—a'i welyau anmhrisiadwy yn gorwedd yn haenau ar eu gilydd. Dyma bren y bywyd yn plygu dan gyforedd o ffrwythau iachawdwriaeth. Ac y mae yr enw yma wedi ei gael yn werth ei gyhoeddi; ac nid rhyfedd i Moses ddywedyd, "*Canys enw yr Arglwydd a gyhoeddaf fi.*" At hwn yn benaf y cyfeiriai. Ac wedi cael hwn nid yw yn son am y lleill. A pha bryd bynag y cynhyrfai eiddigedd yr Arglwydd yn erbyn Israel, yn yr enw yma y mae yn ymafael i ddadleu am eu harbediad, "Yr awr hon gan hyny mawrhaer atolwg nerth Duw fel y lleferaist, yr Arglwydd sydd hwyrfrydig i ddig, ac aml o drugaredd, yn maddeu anwiredd a chamwedd." Enw yr Arglwydd yw ei ddadl barhaus. Mae trugaredd Duw ar ei holl weithredoedd. Caredigrwydd a daioni sydd yn rhedeg trwy

bob peth. Yr oedd Duw yn dysgu trugaredd a thynerwch yn nhrefniadau yr hen oruchwyliaeth. Yr oedd gofal mawr yn cael ei ddangos am y tlawd, yr amddifad, a'r weddw. Mae trugaredd Duw i'w gweled yn eglur yn holl gyfreithiau y genedl Iuddewig. Daeth rhyw belydr o drugaredd i'r golwg yn nghanol y cymylau duon ar Sinai. Mae yr olygfa yno yn ofnadwy pan y mae yr Arglwydd ar ddisgyn "â thanllyd gyfraith ei ddeheulaw." Mae y mynydd yn llosgi ac yn mygu. Nid yw y tân yn goleuo y tywyllwch na'r tywyllwch yn cuddio y tân. Mae y taranau yn cynhyrfu y nefoedd, a'r mellt yn rhwygo yr awyr. Gorchymynwyd i bob anifail gael ei symud oddiar y mynydd; gan ei fod yn siglo fel lluest bugail ar yr ystorm. Mae yna dywyllwch, tymhestl, a llef geiriau; llewyga y dynion cryfaf gan ofn, a gwaeddant yn ddychrynedig, "Llefared Moses wrthym, ac na lefared Duw wrthym rhag i ni feirw;" a Moses ei hun mor frawychus yn gwaeddi, "Yr ydwyf yn ofni, ac yn crynu!" Ond yn nghanol y cymylau duon, pan y mae cyfiawnder oddiar gopa myglyd y mynydd yn taranu y gyfraith; dacw drugaredd yn taflu pelydr o oleuni rhwng y lleni trwchus, gan waeddi, "ac yn *gwneuthur trugaredd i filoedd* o'r rhai am carant ac a gadwant fy nghorchymynion."

Ond wedi cael Moses i'r agen yn y graig y dadblygwyd graslonrwydd calon Duw, ac y cyhoeddwyd ei enw yn groyw. Ac y mae ei holl hanes yn eglurhad ar ei enw. Dwy linell ddelir wyneb yn wyneb ydyw, "*hwyrfrydig i lid,*" ac "*aml o drugaredd.*" "Rhodio gydag awel y dydd at Adda wedi iddo bechu," yn araf i weini y gosp; rhybuddio yr hen fyd am ugain mlynedd a chant, cyn eu boddi â dwfr diluw; anfon ei angylion i rybuddio am ddinystr Sodom, ac ymdroi gydag Abraham ar y ffordd cyn tywallt y farn; ymweled â Pharaoh â rhes o blâau cyn ymafael ynddo a'i ysgytio yn y Môr Coch; arbed y bachgen annuwiol ddymunodd ganwaith i Dduw ddamnio ei enaid. Beth y mae hyn oll yn ei brofi? ond ei fod yn "*hwyrfrydig i ddig,*" ond yn "*aml o drugaredd,*" "*yn*

*cadw trugaredd i filoedd.*" Gwelwch ef yn gwrando gwe Manasseh er yr holl ddrygau ysgeler gyflawnodd, yn wyn y manteision penaf;—yn arbed y Ninifeaid ar yr awgry cyntaf o'u hymostyngiad ;—yn ateb gweddi y lleidr edifeiri yn safn uffern ;—yn rhedeg i gyfarfod yr afradlon, yn ei go eidio yn ei garpiau, ac yn syrthio ar ei wddf i'w gusanu ;— maddeu holl gamweddau y bechadures fawr ;—ac yn cymer trugaredd ar y bachgen rhyfygus y funyd y syrthiodd yn e feiriol o'i flaen, gan waeddi, "O ! Dduw, bydd drugarog wrth fi, bechadur." "Pa Dduw sydd fel tydi, yn maddeu anw edd, ac yn myned heibio i anwiredd gweddill ei etifeddiaet Ni ddeil efe ddig byth, am fod yn hoff ganddo drugared "*Canys enw yr Arglwydd a gyhoeddaf fi..*"

Y DEYRNGEDD DDYLEDUS I ENW DUW. "*Rhoddwch fawre i'n Duw ni.*" Rhoddwch iddo y mawredd y mae ei enw y ei hawlio.

*Addolwch ef.* "*Myfi yw Jehofah.*" "*Ydwyf yr hwn y wyf.*" Y mae yn wrthddrych cymhwys i'w addoli. Y m yn rhy fawr i ffurfio dirnadaeth am dano: y mawredd mwy a allwn osod arno ydyw syrthio ger ei fron a'i addoli. Mae datguddiad y mae wedi ei roddi o hono ei hun yn gyfryw yr ydym yn rhwym o deimlo "gwylder a pharchedig ofn" ei bresenoldeb. Mae ei fawredd fel bod tragywyddol anghyfnewidiol yn cael ei ddal allan yn gymhelliad i rod addoliad iddo. "Rhoddwch i'r Arglwydd ogoniant a nert rhoddwch i'r Arglwydd ogoniant ei enw, dygwch offrwm, deuwch i'w gynteddau; addolwch yr Arglwydd mewn pry ferthwch sancteiddrwydd ; yr holl ddaear ofnwch ger ei fro ef." "Cenwch i Dduw, canmolwch ei enw ; dyrchefwch y Hwn sydd yn marchogaeth ar y nefoedd, a'i enw yn *Jah*, gorfoleddwch ger ei fron ef." "Rhoddwch i Dduw gadernid, oruchelder sydd ar Israel ; a'i nerth yn y wybrenau." Rhod wch fawredd arno fel "*Jehofah*"—fel "*Ydwyf yr hwn ydwyf*" trwy ei addoli. "*Rhoddwch fawredd i'n Duw ni.*"

*Ymddiriedwch ynddo,*—"*Myfi yw Duw Hollalluog.*"

mae Duw yn aml iawn yn dal ei Hollalluawgrwydd yn sylfaen i ffydd i ymddiried ynddo. "Ymddiriedwch yn yr Arglwydd byth, o herwydd yn yr Arglwydd Dduw y mae cadernid tragywyddol." Y mawredd a ellir roddi ar allu ydyw ymgysgodi dano. Cysylltir gallu dwyfol a gofal dwyfol â'u gilydd o bwrpas i ddysgu i ni ymddiried ynddo. Yn lle ein brawychu, y mae Hollalluawgrwydd yn gysgod ac yn amddiffyn i ni. Ac y mae fod y ddau wedi eu dwyn yn y Beibl i ymyl eu gilydd, yn gwneyd y cyferbyniad yn fwy. Fel y mae y ddôl brydferth wrth droed y graig ysgythrog yn cymedroli ein teimladau; os bydd gerwindeb y naill yn ein brawychu, bydd tlysni y llall yn ein tawelu. "Y mae efe yn rhifo rhifedi y ser, geilw hwynt oll wrth eu henwau." Dyna y graig ysgythrog. "Efe sydd yn iachau y rhai briwedig o galon, ac yn rhwymo eu doluriau hwynt." Dyna y ddôl dlws. "Dyrchefwch eich llygaid ac edrychwch, pwy a greodd y rhai hyn; a ddug eu llu hwnyt allan mewn rhifedi, a'u geilw hwynt oll wrth eu henwau, gan amlder ei rym ef, ei fraich nerthol, a'i gadarn allu, ni phalla un?" Dyna y mynydd cribog. "Yr hwn a rydd nerth i'r diffygiol, ac a amlha gryfder i'r dirym" Dyna y dyffryn prydferth. Rhoddwch fawredd iddo fel "*Duw Hollalluog*," trwy ymddiried ynddo. "Twr cadarn yw enw yr Arglwydd, ato y rhed y cyfiawn, ac y mae yn ddiogel." Mae pob peth a fedd Duw at angen, a phob peth a all at amddiffyn yr enaid sydd yn y tŵr. Gosoded uffern ei holl fagnelau i gyfeirio at y tŵr, gall y rhai sydd ynddo deimlo yn berffaith dawel, "ac y mae yn ddiogel." "*Rhoddwch fawredd i'n Duw ni.*"

*Syrthiwch i'w freichiau:*—"Y Duw trugarog a graslawn." Dyna y ffordd i roddi mawredd ar drugaredd Duw, ydyw trwy syrthio i'w breichiau. Yn ei gyfyngder dywedodd Dafydd, "Syrthio a wnelwyf yn llaw yr Arglwydd, ac na syrthiwyf yn llaw dyn; canys aml yw ei drugaredd ef." "Peth ofnadwy yw syrthio yn nwylaw y Duw byw!" Ond peth bendigedig ydyw syrthio i freichiau "y Duw trugarog a gras-

lawn. Y mawredd mwyaf a all pechadur roddi ar Ddaw ydyw syrthio i freichiau ei drugaredd ef. Y mawredd uchaf a all gwrthryfelwr roddi ar anrhydedd ei frenhin ydyw rhoddi ei hunan i fynu i'w ewyllys. Y mawredd *mwyaf* a allasai gweision Benhadad roddi ar frenhin Israel oedd myned ato a sachliain am eu lwynau, a rhaffau am eu penau, gan waeddi, "Atolwg gad i ni fyw." Y mawredd mwyaf a allasai Mannasseh roddi yr Arglwydd Dduw ei dadau oedd troi ato yn ei gyfyngder. Y mawredd mwyaf a allasai y mab afradlon roddi ar drugaredd ei dad oedd penderfynu yn ei newyn yn y wlad bell i gychwyn tuag adref. Rhoddwch fawredd ar drugaredd faddeuol Duw trwy syrthio i'w breichiau. Gwnaeth Saul o Tarsus hyny, ac wedi gwneyd, dyma a ddywedai, "Mi a gefais drugaredd." Mae anrhydedd mewn rhai dynion; ond gadael arnynt, un o fil na chawn degwch ganddynt. Ond syrthiwch i freichiau trugaredd Duw, nid oes perygl y cewch gam. "Gadawed y drygionus ei ffordd, a'r gwr anwir ei feddyliau, a dychweled at yr Arglwydd; ac efe a gymer drugaredd arno, ac at ein Duw ni, o herwydd efe a arbed yn helaeth." Y mawredd mwyaf a all pechadur roddi ar drugaredd faddeuol Duw ydyw cwympo yn edifeiriol i'w freichiau yn awr.—"*Rhoddwch fawredd i'n Duw ni.*"

# PREGETH XV.

## UFUDD-DOD CRIST.

HEBREAID v. 8, 9.

"Er ei fod yn Fab, a ddysgodd ufudd-dod trwy y pethau a ddyoddefodd: ac wedi ei berffeithio, efe a wnaethpwyd yn Awdwr iachawdwriaeth dragywyddol i'r rhai oll a ufuddhant iddo."

Cymhwysder yr Arglwydd Iesu Grist fel Archoffeiriad, ydyw y prif fater yr ymdrinir âg ef gan yr Apostol yn y bennod hon, a'r pennodau cylchynol. Y cymhwysder neillduol y cyfeirir ato yma, ydyw ei allu i gydymdeimlo â'i bobl. A'r hyn yn arbenig sydd yn ei allnogi i gydymdeimlo ydyw, ei fod wedi bod yn yr amgylchiadau hyny ei hun. "Yr hwn a ddichon dosturio wrth y rhai sydd mewn amryfusedd ac anwybodaeth; am ei fod yntau hefyd wedi ei amgylchu â gwendid." "Canys yn gymaint a dyoddef o hono ef, gan gael ei demtio, efe a ddichon gynorthwyo y rhai a demtir." Rhoddir darluniad cyffrous iawn o'r pethau a ddyoddefodd yn yr adnod flaenorol i'r testyn:—"Yr hwn yn nyddiau ei gnawd," hyny yw, yn nhymor ei ddarostyngiad, "gwedi iddo trwy lefain cryf a dagrau,"—cyfeirir yma at ei ingoedd yn ngardd Gethsemane. Nid oes un o'r Efengylwyr yn crybwyll am ei wylo yno; ond y mae yn ddigon naturiol meddwl i'r dyoddefiadau barodd chwysu fel defnynau o waed, beri hefyd "lefain cryf a dagrau." Tair gwaith y mae genym hanes y Cyfryngwr yn wylo. Wylodd wrth fedd Lazarus—wylodd yn yr olwg ar Jerusalem—ac wylodd yn ngardd Gethsemane. Dagrau cyfaill wrth fedd cyfaill oedd y cyntaf,—dagrau preg-

ethwr yn ngolwg annghrediniaeth ei wrandawyr oedd yr ai
—a dagrau Cyfryngwr dan bwys ein pechodau ni oedd y try
ydd ;—" llefain cryf a dagrau." "Offrwm gweddiau ac e
fyniau at yr Hwn oedd abl i'w achub oddiwrth *farwolaeth*
" Os yw bosibl aed y *cwpan hwn* heibio oddiwrthyf." " E
a weddiodd ar fyned yr *awr hono* oddiwrtho ;"—na bydd
i'r ingoedd hyny fod yn angau iddo ; " a chael ei wrando y
yr hyn a ofnodd." Nid ei wrando rhag dyoddef, ond
wrando mor belled a'i waredu oddiwrth " ofn marwolaeth
nerth i fyned trwy y dyoddefiadau. " Ymddangosodd ang
iddo yn ei nerthu." Ymddiriedodd am gynorthwyon dw
fol i fyned trwy ei waith caled, a derbyniodd hwy. " Er
fod yn Fab, efe a ddysgodd ufudd-dod trwy y pethau ddyod
efodd.

UFUDD-DOD YR ARGLWYDD IESU GRIST.

1. *Ufudd-dod undyn y berthynas agosaf ;—" Er ei fod y*
FAB, *a ddysgodd ufudd-dod."*

Gelwir y saint yn feibion i Dduw, a gelwir yr angylion y
feibion i Dduw. "Anwylyd, yr awrhon meibion i Dduw y
ym." "Pan gydganodd ser y boreu, ac y gorfoleddodd h
feibion Duw." Ond y mae Crist yn Fab mewn ystyr wahan
i bob sant a phob angel ; oblegid hyny y gelwir ef ei "bri
Fab," ei anwyl Fab," ei "unig-anedig Fab." Mab na fe
Duw yn briodol ond efe. Meibion mabwysiadol yw pawb e
aill, ond dyma ei Fab yn wreiddiol. Athrawiaeth nad o
genym ond diruadaeth annherffaith am dani ydyw athrawiae
Mabolaeth Crist. Un o'r pethau nefol ydyw, nad oes di
cyfatebiaeth yn y byd naturiol i'w hegluro. Dylem fod y
gyail a gwylaidd iawn, gan hyny, wrth ymdrin a dyfnic
bethau Duw. Y mae gwahaniaeth rhwng Personoliaeth Cri
a Mabolaeth Crist. Mae Personoliaeth yr Arglwydd Ie
Grist yn cynwys ei fod yn wirioneddol, sylweddol, a hanfod
Berson Dwyfol er tragywyddoldeb ; ac yn meddu bodoliaet
wahaniaethol oddiwrth y Tad a'r Ysbryd. Ond y mae Ma
[illegible]

drefn gyfryngol. Person tragywyddol, a Mab yn swyddol. Person yn hanfodol, a Mab yn osodiadol. Person mewn dull angenrheidiol o fodoli, a Mab yn ei argymeriad israddol yn y drefn gyfryngol. Ond y mae ei fod yn Fab yn profi ei fod yn gydradd o ran natur â'i Dad—yn agos o ran perthynas i'w Dad—yn anwyl o ran serch gan ei Dad—ac yn arlun perffaith o'i Dad. "Yr hwn ac efe yn ddysgleirdeb ei ogoniant ef, ac yn wir lun ei berson ef." "Yr hwn yw delw y Duw anweledig." Ond "er ei fod yn Fab, a ddysgodd ufudd-dod." Sonia y Beibl fod rhyw anwyldeb sanctaidd rhwng y personau Dwyfol, ac ymhyfrydiad y naill yn y llall; a phrofasant eu cariad mewn gweithred a gwirionedd. Profodd y Tad ei fod yn caru y Mab trwy ymddiried iddo; a phrofodd y Mab ei fod yn caru y Tad trwy ufuddhau iddo. Ymddiried sydd yn profi cariad y Tad, ac ufudd-dod sydd yn profi cariad y Mab. Ymddiriedodd y Tad i'w Fab fwy nag a allasai neb arall ymddiried iddo. Ymddiriedodd iddo anrhydedd ei ddeddf,—gweinyddiadau ei lywodraeth,—a bywyd tragywyddol "tyrfa fawr na ddichon neb ei rhifo." Paham yr ymddiriedodd gymaint iddo? "Canys y mae y Tad yn caru y Mab, ac a roddes bob peth yn ei law ef." Oddiar ei gariad ato yr ymddiriedodd gymaint iddo. Profodd y Mab ei gariad trwy ufuddhau. Gyrfa o ufudd-dod oedd gyrfa yr Arglwydd Iesu Grist yn ei sefyllfa fel gwas. "Yr Arglwydd Dduw a agorodd fy nghlust, minau ni wrthwynebais, ac ni throais yn fy ol." Cyfeiriad sydd yma at y cynghor boreu; oblegid y mae agoryd clustiau yn myned am wneyd cyfamod. Yr Arglwydd Dduw a agorodd fy nghlust, i wrando amodau y cyfamod, "a minau ni wrthwynebais." Gwelais Bethlehem, lle yr oeddwn i wisgo cnawd; ond "ni wrthwynebais;" gwelais Gethsemane, lle yr oeddwn ar noson oer i chwysu, ond ni ddywedais air yn erbyn y cynllun; gwelais Galfaria, lle yr oeddwn i farw mewn gwarth; ond ymgymerais â'r cwbl,—"Fy nghefn a roddais i'r curwyr, a'm cernau i'r rhai a dynent y blew; ni chuddiais fy wyneb oddiwrth waradwydd a phoeredd." Ac

wedi gwneyd yr ymrwymiad y mae yn anfon ei gyhoeddiad:" —" Wele, yr wyf fi yn dyfod yn rhol y llyfr a ysgrifenwyd am danaf; bu dda genyf wneuthur dy ewyllys di, O fy Nuw, a'th gyfraith sydd o fewn fy nghalon." Ac yn ddioed, erbyn ei fod yn y byd, dechreuodd ar ei waith. Pan y collodd ei rieni ef, yn fachgen deuddeg oed, a phan y cafwyd ef yn nghanol y doctoriaid yn eu holi hwy, atebodd ei fam bryderus, "Oni wyddech chwi fod yn rhaid i mi fod yn nghylch y pethau a berthynent i'm Tad?" "Rhaid i mi weithio gwaith yr hwn a'm hanfonodd tra yr ydyw hi yn ddydd." "Fy mwyd i yw gwneuthur ewyllys yr hwn a'm hanfonodd, a gorphen ei waith ef." "Os cedwch fy ngorchymynion, chwi a aroswch yn fy nghariad, fel y cedwais i orchymynion fy Nhad, ac yr wyf yn aros yn ei gariad ef." Beth, atolwg, yw y pryder mawr yna sydd arno i ufuddhau? "Ond fel y gwypo y byd fy mod i yn caru y Tad, ac fel y gorchymynodd y Tad i mi, felly yr wyf yn gwneuthur." Yr oedd holl ufudd-dod y Mab i'w Dad yn cyfodi oddiar gariad; ac yn niwedd ei ddiwrnod dywedai, "Mi a'th ogoneddais di ar y ddaear, mi a gwblheais y gwaith a roddaist i mi i'w wneuthur." Mawrygir ufudd-dod Isaac i Abraham, pan y boddlonodd i gymeryd ei rwymo ar yr allor, ac, yn wir, y mae yn engraifft ardderchog; ond wele fwy nag Isaac yma. "Er ei fod yn *Fab*, a ddysgodd ufudd-dod." Mae ambell i fachgen yn myned i feddwl ei hun yn ormod o ddyn i ufuddhau i'w dad; myn gael yr awenau i'w law ei hun; ond dyma un, er ei fod yn "briod Fab Duw," a ddysgodd ufudd-dod.

2. *Ufudd-dod ddysgwyd ganddo trwy brofiad chwerwaf;* "a ddysgodd ufudd-dod trwy y pethau a ddyoddefodd." Nid dysgu ufudd-dod fel athrawiaeth a feddylir. Mae eisiau dysgu hyny ar lawer. Siaradant yn fedrus am eu hawliau a'u hiawnderau; ond erioed heb ddeall natur a therfynau ufudd-dod. Ond nid dyma y dysgu oedd eisiau ar Grist; yr oedd yn deall yr athrawiaeth yn berffaith. Nid dysgu ufudd-dod oblegid ei fod yn gyndyn i ufuddhau ychwaith. Ysgol dyodd-

efaint yw yr un y dysgir y wers o ufudd-dod ynddi i blant cyndyn. Bu raid anfon Jonah iddi. Mynai yr Arglwydd iddo fyned i Ninife i bregethu; ond gwrthodai Jonah ufuddhau. Dywedai yr hybarch William Morris o Cilgeran, "fod clefyd Jonah yn wahanol i'r rhan fwyaf o bregethwyr. Rhedeg heb eu hanfon y mae llawer; ond gwrthod myned er cael ei anfon, ac er cael pregeth barod yr oedd Jonah." Aeth i Joppa a chytunodd a llong i fyned i Tarsus; ond aeth Duw ar ei ol a'i fflangell yn ei law; disgynwyd ef i odreu y mynyddoedd; ymglymodd yr hesg am ei ben; yr oedd y ddaear a'i throsolion o'i amgylch; ac yn mol uffern y dysgodd ufudd-dod. Dysgodd Jonah ufudd-dod trwy ddyoddefaint, oblegid ei fod yn gyndyn i ufuddhau. Ond, nid oblegid ei fod yn hwyrfrydig i ddysgu yr aeth y Mab trwy y fath ddyoddefaint. Ufuddhaodd cyn dechreu dyoddef, a dysgodd ufudd-dod neillduol trwy y pethau a ddyoddefodd. "Er ei fod yn Fab;" eto fel y gallai gydymdeimlo â ni profwyd ef trwy gyfres o ddyoddefiadau fel ninau. Cymerer engraifft fel hyn. Mae gan y boneddwr yna weithfa fawr; mae yn bwriadu ei gadael ar ei ol i'w unig fab. Mae gan hyny, er cymwyso y mab i arolygu drosti, yn ei ddarostwng i bob caledwaith fel gweithiwr cyffredin. O ran cyfoeth gallasai gadw y bachgen yn esmwyth i ymdroi mewn moethau ar lawr-leni amryliw y palas, ond y mae yr hen foneddwr yn gwybod y bydd yn gymhwysach i arolygu dros weithwyr wedi gwybod beth yw gwaith caled ei hun. Ac y mae hyny yn eithaf gwir. Nid oes dim yn fwy annyoddefol na dyn yn arolygu dros weithwyr heb wybod beth yw gwaith; o ganlyniad er ei gymhwyso i'r arolygiaeth darostyngir ef i bob caledwaith fel gweithiwr cyffredin. Felly hefyd yma, gallasai y Mab fwynhau y "dedwyddwch oedd iddo gyda'i Dad cyn bod y byd;" yr oedd yn hyfrydwch iddo beunydd, ac yn ymlawenhau ger ei fron ef bob amser." Ond fel y gallai yn well "gyd-ddyoddef gyda'n gwendid ni" a myned i mewn i holl anghenion ein natur ni, "efe a ddysgodd ufudd-dod trwy y pethau a ddyoddefodd."

Gadewch i ni edrych ar gamrau ei ddarostyngiad yn ei ufudd-dod a'i ddyoddefaint. "Yr hwn ac efe yn ffurf Duw." Pa fath yw ffurf Duw wyddom ni ddim. "Ysbryd yw Duw;" ond beth bynag yw ffurf Duw yr oedd y Mab ynddi; "ni thybiodd yn drais fod yn ogyfuwch â Duw." "Ni thybiodd," medd rhai, fod bod yn ogyfuwch â Duw yn rhywbeth i ymafael yn dreisiol ynddo, ac na fynai er dim ollwng ei afael o hono; neu, hwyrach fod yr hen esboniad yn llawn cystal, nad oedd yn un trais iddo dybied ei fod yn ogyfuwch â Duw. Buasai yn drais i'r angel cryfaf dybied ei fod yn ogyfuwch â Duw. A buasai yn drais i Grist dybied hyny, os nad oedd yn Dduw; ond gan ei fod yn wir a phriodol Dduw, nid oedd yn drais iddo dybied ei fod yn ogyfuwch â Duw. "Eithr efe a'i dibrisiodd ei hun," neu efe a'i gwaghaodd ei hun, o'r mawredd priodol iddo ei hun fel person cydraddol â'i Dad "gan gymeryd arno agwedd gwas." Dyna fe mewn sefyllfa israddol—yn was i'w Dad. Nis gwyddom hyd y cam o "ffurf Duw i agwedd gwas;" rhoddodd hwn cyn dyfod i'n golwg ni, ac ni's gwyddom pa faint o ddarostyngiad a dyoddefaint oedd ynddo i berson dwyfol. Mae y pethau yna uwchlaw ein hamgyffredion. "Ac a wnaed mewn cyffelybiaeth dynion." Dyna y naid fawr; "o herwydd hyny, gan fod y plant yn gyfranogion o gig a gwaed, yntau hefyd yr un modd a fu gyfranog o'r un pethau." A'r Gair a wnaethpwyd yn gnawd ac a drigodd yn ein plith ni." "Duw a ymddangosodd yn y cnawd." "A'i gael mewn dull fel dyn." Dyna y ris nesaf. Ei gael yn holl anghenion ac amgylchiadau dyn cyffredin, "yn wr gofidus a chynefin â dolur;" "wedi ei demtio yn mhob peth yr un ffunyd a ninau;" "efe a'i darostyngodd ei hun" yn yr amgylchiadau cyffredin hyn; "gan fod yn ufudd hyd angau, ie angau y groes." O 'r ddarostyngiad anghydmarol! Gwelwch y grisiau ar hyd y rhai y daeth i lawr; o "ffurf Duw" i "agwedd gwas"—o "agwedd gwas i gyffelybiaeth dynion"—o "gyffelybiaeth dynion i ddull fel dyn"—o "ddull fel dyn yn ufudd hyd angau; ie, angau y groes." Mesurwch y

gwagle; rhychwantwch y pellder o "ffurf Duw" i "angau y groes;" a dilynwch y Mab drwyddo, ac yna bydd genych ryw ddirnadaeth am "y pethau a ddyoddefodd." "Er ei fod yn Fab a ddysgodd ufudd-dod trwy y pethau a ddyoddefodd."

3. *Ufudd-dod a'i cyfaddasodd ef i fod yn waredwr digonol i bechaduriaid.* "Ac wedi ei berffeithio efe a wnaethpwyd yn awdwr iachawdwriaeth dragywyddol." Ag ufudd-dod Grist mewn modd unigolgyrchol y mae ein hiachawdwriaeth ni yn cael ei chysylltu. Delir ufudd-dod Crist mewn gwrthgyferbyniad i anufudd-dod Adda. "Oblegid megis trwy anufudd-dod un dyn y gwnaethpwyd llawer yn bechaduriaid; felly trwy ufudd-dod un y gwneir llawer yn gyfiawn." Ufudd-dod Crist yw sylfaen, a defnydd ein cymeradwyaeth. Profodd ei ufudd-dod yn ei ddyoddefaint. "Canys gweddus oedd iddo ef, o herwydd yr hwn y mae pob peth, a thrwy yr hwn y mae pob peth wedi iddo ddwyn meibion lawer i ogoniant, berffeithio tywysog eu hiachawdwriaeth hwy trwy ddyoddefiadau." "Ac wedi ei berffeithio" trwy y dyoddefiadau hyny "efe a wnaethpwyd yn awdwr iachawdwriaeth dragywyddol." Nid perffeithio ei berson—ac nid perffeithio ei gymeriad, ond ei berffeithio yn ei swydd fel archoffeiriad. "Oblegid ni pherffeithiodd y gyfraith ddim, namyn dwyn gobaith gwell i mewn; eithr gair y llw, yr hwn a fu wedi y gyfraith sydd yn gwneuthur y Mab, yr hwn a berffeithiwyd yn dragywydd." Mae yr Offeiriad wedi myned i'r nefoedd, ac y mae yr offeiriadaeth wedi myned i'r nefoedd hefyd. Mae ef yn y gwir gysegr yn ngwisgoedd ei urdd, ac wedi gorphen trefn gymhwys am fywyd y byd;—"yn awdwr iachawdwriaeth dragywyddol."

"*Iachawdwriaeth.*" Un o eiriau cyflawnaf, os nad y cyflawnaf o eiriau y Beibl, i osod allan yr oll o drefn Duw. Y mae ymadroddion eraill yn gosod allan ranau o'r drefn, ond y mae y gair yma mor eang yn ei gynwysiad fel y cymer i mewn y drefn i gyd. Mae y môr yn myned dan wahanol enwau yn

ei gysylltiad â gwahanol aberoedd; felly y byddwn ni yn arfer siarad. Un môr ydyw yn briodol, ond ei fod yn myned dan wahanol enwau yn ei berthynas â gwahanol ddarnau o dir. Iachawdwriaeth, dyna y môr; ond y mae rhanau o'r drefn yn myned dan enwau eraill. Os edrychir arni *yn cychwyn* yn nghyngor Duw, arfaeth y gelwir hi. Os edrychir arni yn Nghalfaria, Iawn y gelwir hi; os edrychir arni yn gollwng y troseddwr yn rhydd, Maddeuant y gelwir hi; os edrychir arni yn cyflwyno ei theulu yn ddiogel gartref, Gogoneddiad y gelwir hi. Ond os edrychir arni yn ei chyfanswm, Iachawdwriaeth y gelwir hi. Iachawdwriaeth mewn arfaeth yn y cynghor boreu;—iachawdwriaeth mewn aberth yn Nghalfaria;—iachawdwriaeth trwy faddeuant yn gollwng yr euog yn rhydd;—iachawdwriaeth mewn gogoneddiad wrth gyflwyno tyrfa fawr na ddichon neb ei rhifo ar "ddelw y Cyntafanedig yn mysg brodyr lawer."

"*Iachawdwriaeth dragywyddol.*" Mae yn dragywyddol o ran cynllun, ac yn dragywyddol o ran parhad. Hen feddwl yn Nuw ydyw y meddwl i gadw. Nid rhyw syniad a'i tarawodd ef tuag Eden, wedi gweled y drefn gyntaf yn methu, ond hen feddwl oedd yn y fynwes Ddwyfol "cyn taenu y gogledd ar y gwagle, na chrogi y ddaear ar ddiddym." Mae pob peth y drefn yn dragywyddol "cariad tragywyddol;"—"cyfamod tragywyddol;"—"arfaeth dragywyddol;" "trugaredd dragywyddol;" "efengyl dragywyddol;" "bywyd tragywyddol;" "iachawdwriaeth dragywyddol." Ac nid yn unig y mae o dragywyddoldeb, ond y mae yn ymestyn i dragywyddoldeb. Ac y mae eisiau rhywbeth tragywyddol arnom ni. Yr ydym i orfyw y cwbl a welir. Dechreu agor ein llygaid y byddwn ni pan y bydd yr haul yn cau ei lygaid yn niwl y dydd diweddaf. Rhyw fabanod yn ymagor ar fywyd fyddwn ni, pan y bydd yr hen ddaear yma yn tynu ei thraed i'r gwely i farw. Rhaid i ni gan hyny gael rhywbeth bery cyhyd a ninau, a dyma hi, "iachawdwriaeth dragywyddol." "Dyrchefwch eich llygaid, ac edrychwch ar y nefoedd uchod, ac ar y ddaear

isod ; canys y nefoedd a ddarfyddant fel mwg a'r ddaear a heneiddia fel dillledyn, a'i phreswylwyr yr un modd a fyddant meirw ; *ond fy iachawdwriaeth a fydd byth, a'm cyfiawnder ni dderfydd*" "Israel a achubir yn yr Arglwydd ag iachawdwriaeth dragywyddol."

"*Awdwr iachawdwriaeth dragywyddol.*" Dyma awdwrfydd yn anfarwol yn ei waith Syrth gweithiau yr awduron enwocaf i ebargofiad, ond dyma awdwr a gwaith sydd i fyw byth. Iachawdwriaeth,—dyma gyfrol i'r hon y mae yr "angylion yn chwenychu edrych,' a "thrwy hon y gwneir yn hysbys i'r tywysogaethau ac i'r awdurdodau yn y nefolion leoedd, trwy yr eglwys, fawr amryw ddoethineb Duw." "Awdwr iachawdwriaeth dragywyddol." Dyma drefn gyflawn, berffaith, ddigonol am eich bywyd tragywyddol, a "pha fodd y diangwn ni os esgeuluswn iachawdwriaeth gymaint? '

4. *Ufudd-dod Crist sydd yn gynllun ac yn gymhelliad i'n hufudd-dod iddo.* "Awdwr iachawdwriaeth dragywyddol i'r rhai oll a ufuddhant iddo." Nid ufuddhau er mwyn i ni gael peidio ufuddhau, a wnaeth Crist, ond ufuddhau er cael haeddiant i dderbyn ein hufudd-dod, ac anogaeth i gymhell ein hufudd-dod. Athrawiaeth gymeradwy iawn ydyw yr un am "iachawdwriaeth dragywyddol." ond ni ddaw yn eiddo i neb ond a ufuddhao iddi. Ac yn ymyl ei ufudd-dod perffaith ef y mae yn hawlio ein hufudd-dod ni. "Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd, gwrandewch arno ef." "Wele, gwrando sydd well nag aberth, ac ufuddhau na brasder hyrddod." Mae Paul wrth ysgrifenu at y Philippiaid yn defnyddio ufudd-dod Crist hyd angau y groes yn gymhelliad i'w hufudd-dod hwy. "Bydded ynoch y meddwl yma, yr hwn oedd hefyd yn Nghrist Iesu—meddwl i ufuddhau iddo." Ufudd-dod cyflawn, manwl, parod, calonog, y mae yr efengyl yn ei ofyn. Ni chymer lai,—nid oes lleddfu ar ei gofynion. Collir holl rinwedd y drefn heb ufuddhau iddi. Ac ufudd-dod Crist yw yr anogaeth gryfaf i gymhell ein hufudd-dod iddo.

Os nad oes yn ei ufudd-dod ef ddigon o ddylanwad i dyneru y galon, nid oes dim digon yn un man arall. Gwasgwyd byddin i gyfyngder unwaith am angenrheidiau bywyd, fel yr oedd perygl i wrthryfel gyfodi yn mysg y milwyr. Deallodd y Cadfridog am eu hysbryd ; ond nid oedd ganddo fodd i ddiwallu eu hangen ; yr oedd mewn pryder pa beth a wnai er gostegu eu cythryfwl. Galwodd ato ychydig nifer o'r rhai y gwyddai oedd yn arwain y drwg, a dywedai "fod yn ddrwg iawn ganddo am y sefyllfa gyfyng yr oeddynt ynddi ; ond nad oedd ganddo un help, nad oedd dim ar ei law ef i'w wneyd, onide, y gwnaethai ; ond," meddai, "y mae dogn bychan yn dyfod i mi bob dydd ; byddaf hebddo am dri diwrnod ; nid yw ond ychydig, mae'n wir, ond cewch ef i wneyd y goreu galloch o hono rhyngoch. Nis gallaf wneyd rhagor." Twymodd calon ei wŷr wrth weled ei dosturi, ac, meddent âg un llef, "Na, ni chaiff ein Cadfridog brinhau arno ei hun, ni a oddefwn fwy o galedi na hyn eto cyn y ca ef fod mewn eisiau." Ei dynerwch enillodd eu hufudd-dod. Ah! bobl anwyl, nid cynyg prinhau arno ei hun ; nid cynyg gadael y nefoedd ; nid cynyg dyfod i wisgo cnawd ; nid cynyg dyfod i'r groes i farw wnaeth Iesu Grist ; ond *fe ddaeth*. Diolch iddo.—

"Fe ddaeth i wella'n harcholl, trwy gym'ryd clwyf ei hun,
Etifedd nef yn marw, i wella marwol ddyn ;
Fe sugnai'n llwyr y gwenwyn a roes y sarff i ni,
Ac wrth y gwenwyn hwnw bu farw ar Galfari."

Dyna gariad digyffelyb. Dyna ufudd-dod anghydmarol. Bu yn ufudd hyd angau. A'r cwbl er ein mwyn ni. Ah! fy ngwrandawyr anwyl, a ydyw y galon ddim yn tyneru mewn ufudd-dod iddo. "Ymostyngwch gan hyny i Dduw." Ei ufudd-dod ef a enillo ein calon i ufuddhau iddo ef. *A ydych chwi yn ildio i Dduw heno? eneidiau anwyl.* Ymostyngiad ufudd-dod Crist yr wyf yn gofyn. Mae ganddo hawl at eich ymostyngiad ; ie, dywedaf ragor—fe fyn eich ymostyngiad. "Rhaid iddo deyrnasu, hyd oni osodo ei holl elynion dan ei draed." Rhaid plygu neu dori ; ildio neu ddamnio ; syrthio wrth ei draed neu gael eich mathru dan ei draed. Plygwch y glin iddo yn awr.

# PREGETH XVI.

## DADBLYGIAD CYMERIAD.

2 Bren. viii. 11, 12, 13.

"Ac efe a osododd ei wyneb, ac a ddaliodd sylw arno, nes cywilyddio o hono ef; a gwr Duw a wylodd. A Hazael a ddywedodd, Paham y mae fy Arglwydd yn wylo? Dywedodd yntau, Am fy mod yn gwybod y drwg a wnei di i feibion Israel: eu hamddiffynfeydd hwynt a losgi di â thân, a'u gwyr ieuainc a leddi â'r cleddyf, a'u plant a bwyi, a'u gwragedd beichiogion a rwygi. A Hazael a ddywedodd, Pa beth! ai ci yw dy was, fel y gwnelai ef y mawr beth hyn? Ac Eliseus a ddywedodd, Yr Arglwydd a ddangosodd i mi y byddi di yn frenhin ar Syria."

Mae cymeriad dyn yn cael ei ffurfio gan yr egwyddorion mewnol sydd yn ei lywodraethu; ond y mae ei gymeriad yn cael ei ddadblygu gan ddylanwad amgylchiadau allanol arno. Yr ewyllys ydyw y gallu cryfaf yn nghyfansoddiad cymeriad; ond amgylchiadau sydd yn rhoddi cyfle i ddyn ddangos ei gymeriad. Pa faint bynag ydyw gallu yr egwyddorion llywodraethol yn ffurfiad cymeriad, mae yn eglur mai pan y dygir hwy i gyffyrddiad â dylanwadau allanol y dadblygir ef. Ac y mae gan bob peth cysylltiedig â ni ddylanwad cryf arnom er egluro ein gwir gymeriad. Mae yn wir mai dylanwad meddwl ar feddwl yw y cryfaf i ddwyn allan y dyn; eto y mae gan bob peth y tu allan i ddyn ddylanwad ar ei feddwl; a'r cwbl yn cynorthwyo i ddadblygu yr egwyddorion mewnol.

Mae dylanwad gan olygfeydd naturiol ar y meddwl. Mae [illegible]

ydd cribog, ac ëangder y dyffryn meillionog—byrlymiad y ffynon risialaidd, a gorlifiad yr afon ddyfradwy—disgyniad y rhaiadr drystfawr, a murmur yr aber ddistaw, oll yn cario dylanwad ar y meddwl. Gwelir gwahaniaeth yn nhymer, ysbryd, a thueddiad y rhai fegir yn nghanol golygfeydd mawreddog y mynyddoedd uchel, rhagor y rhai fegir yn yn y dyffrynoedd breision tawel. Mae y blaenaf yn gyffredin yn wrolach a bywiocach.

Mae dylanwad gan hinsoddau yr awyr, a thymhorau y flwyddyn, ar y meddwl. Mae gormodedd o wres neu oerni—prinder awyr, neu ddiffyg goleuni—gwlawogydd trymion, neu darth myglyd, yn effeithio i bruddhau y meddwl—pylu y deall—a rhydu y côf. Mae gwahaniaeth mawr yn ysbryd dyn y gwanwyn rhagor y gauaf. Pan y mae natur yn deffroi ac yn gwenu mewn sirioldeb, y mae y meddwl yn dadebru; a phan y mae natur yn ymollwng i gwsg gauafol, y mae yr ysbryd yn pruddhau. Mae gan hinsoddau a thymhorau ddylanwad ar y meddwl.

Mae dylanwad gan alwedigaethau bydol ar y meddwl. Mae gwahaniaeth mawr yn nheimladau, golygiadau, ac arferiadau yr amaethwr, y glowr, a'r morwr. Pa faint bynag o debygolrwydd sydd ynddynt yn naturiol, y mae eu galwedigaethau bydol wedi dwyn eu tymherau a'u harferion i ffurf tra gwahanol. Ac y mae y galwedigaethau hyny sydd yn rhwymo y rhai sydd ynddynt i weithio mewn ystafelloedd cyfyng, a'u cyrff trwy y dydd yn yr un agwedd, yn cario eu dylanwad yn mhell iawn ar y rhai sydd yn dilyn, fel y maent yn gyffredin yn fwy anniddyg a chrintachlyd.

Mae dylanwad gan arferiadau corfforol ar y meddwl. Mae yr ymborth a fwyteir—y diodydd a yfir—y dillad a wisgir—a'r ymarferiad a gymerir, oll yn dylanwadu arnom. Mae dynion yn bwyta nes y mae eu meddyliau yn myned i gysgu—yn yfed nes y mae eu calonau yn trymhau—yn gorwedd ar eu glythau nes crebachu eu heneidiau—ac yn cymeryd byd da yn helaethrwydd beunydd, nes i'r blysiau a'r nwydau gario y

rheolaeth arnynt yn hollol. Mae gan bob peth tu allan i ni ddylanwad arnom. Mae pob peth sydd yn effeithio ar y corff yn rhwym o effeithio ar y meddwl tra y bydd y corff a'r meddwl mewn cysylltiad â'u gilydd; ac y mae pob dylanwad sydd yn gweithio ar ddyn yn cynorthwyo i ddadblygu ei gymeriad. Ond gall mai y dylanwad allanol cryfaf er dadblygu cymeriad ydyw dylanwad amgylchiadau. Mae cyfnewidiad yn sefyllfa dymhorol dyn yn rhoddi cyfle i'w egwyddorion llywodraethol ddyfod i'r golwg. Ceir engraifft nodedig o hyn yn hanes Hazael, un o weinidogion llys Benhadad, brenhin Syria. Pan gymerwyd y brenin yn glaf, anfonodd Hazael at Eliseus y proffwyd i ymgynghori ag ef, a fyddai efe byw o'r clefyd oedd arno. Aeth Hazael ag anrhegion yn ei law at y proffwyd i ymofyn ag ef dros y brenin. Safodd o'i flaen, a dywedodd, "Benhadad, brenin Syria, dy fab, a'm hanfonodd atat, gan ddywedyd, A fyddaf fi byw o'r clefyd hwn?" "Dos, a dywed wrtho," ebai y proffwyd, "diau y gelli fyw;" (hyny yw o ran y clefyd ynddo ei hun nid yw yn farwol;) "eto yr Arglwydd a ddangosodd i mi y bydd efe marw yn ddiau." Rhaid, gan hyny, fod rhyw beth heblaw y clefyd i gyfrif am ei farwolaeth. Wedi i'r proffwyd hysbysu i Hazael dynged y brenin, y mae yn gosod ei lygaid yn graff, sefydlog, ac arosol arno, gan edrych yn ddifrifol yn ei wyneb, nes y mae yn gwrido, ac yn cywilyddio, ac y mae y proffwyd yn ymollwng i wylo. Methodd Hazael a dal heb gywilyddio, a methodd Eliseus a dal heb wylo. Wedi adfeddiannu ei hun, y mae Hazael yn synedig iawn yn gofyn, "Paham y mae fy arglwydd yn wylo?" Mae y proffwyd trwy ei ddagrau yn ateb, mai yn y rhagolwg ar y peth a fyddai ef pan ddadblygwyd ei gymeriad yn gyflawn. "Am fy mod yn gwybod y drwg a wnei di i feibion Israel; eu hamddiffynfeydd hwy a losgi di â thân; eu gwyr ieuainc a leddi â'r cleddyf; eu plant a bwyi; a'u gwragedd beichiogion a rwygi." Mae Hazael yn arswydo rhag y peth, ac yn gofyn mewn ffieiddiad, "Pa beth! ai ci yw dy was, fel y gwnelai efe y mawr [illegible] hyn?" Heb

siarad ychwaneg, y mae y proffwyd yn hysbysu iddo un cyfnewidiad oedd i gymeryd lle yn ei sefyllfa oedd yn ddigon o esboniad ar y cwbl,—"Yr Arglwydd a ddangosodd i mi y byddit ti yn frenhin ar Israel." Dyma yr allwedd i agor dirgelwch ei gymeriad. Mae yma engraifft nodedig o

### DDYLANWAD AMGYLCHIADAU AR DDADBLYGIAD CYMERIAD.

Wrth ddyweyd am ddylanwad amgylchiadau ar ddadblygiad cymeriad, dylid sylwi,

Mai nid amgylchiadau sydd yn cyfansoddi cymeriad. Dangos cymeriad y mae amgylchiadau. Nid yw yn gwneyd y dyn da yn ddim gwell, na'r dyn drwg yn ddim gwaeth. Nid yw yn rhoddi dim at gymeriad y naill, nac yn cymeryd dim oddiwrth gymeriad y llall. Dangos y peth sydd ynddo y mae amgylchiadau; a dwyn i'r golwg yr egwyddorion llywodraethol. Gall llawer dyn ymddangos yn well nag y byddo, a gall llawer un gael ei dybied yn waeth nag y byddo, ond eu dwyn i brawf sydd yn esbonio y ddau. Pan y daw y wreichionen a'r pylor i gyffyrddiad â'u gilydd y chwythir ef i fynu. Nid y wreichionen sydd yn rhoddi yr elfen losgol yn y pylor, y mae yno yn flaenorol ond ei bod yn guddiedig, ond y wreichionen sydd yn ei thynu allan. Gellid rhoddi barilad o bylor yn nghanol y graig, a bydd mor ddiberygl yno a phe gosodid hi yn nghanol yr afon, ond cadw y wreichionen oddiwrthi; ond pan gyffyrdda y wreichionen â hi hollta y cwbl o'i chylch. Nid y dur sydd yn rhoddi y tân yn y gareg gallestr, eto dygiad y dur a'r gareg i gyffyrddiad â'u gilydd sydd yn taro tân. Felly y mae amgylchiadau yn tynu allan y peth sydd i mewn —yn dwyn i'r golwg y peth sydd guddiedig—yn dangos yn y fuchedd y peth sydd yn llechu yn y galon. Nid y goron ar ben Hazael a wnaeth y gwahaniaeth ynddo; eto y sefyllfa urddasol y cyflewyd ef ynddi a roddodd fantais iddo i ddangos ei egwyddorion. Fel y mae tywyniadau yr haul , enau y blodeuyn, felly y mae amgylchiadau yn ddynion i ddadblygu eu cymeriadau.

Fod anwybodaeth dynion o honynt eu hunain yn gyfryw fel na wyddant beth a fyddent pe cyfleid hwy mewn amgylchiadau gwahanol. Nid yn unig amgylchiadau sydd yn dangos i eraill pa beth yw dyn, ond amgylchiadau sydd yn aml yn dangos dyn iddo ei hun. Ni wyddom beth ydym, na pha beth a fyddem nes ein dwyn i brawf. Nid oes dim y dylai dyn fod yn fwy hysbys o honynt nag egwyddorion llywodraethol ei galon; ac eto ymddengys nad oes dim y mae dynion yn gyffredin yn fwy dyeithr iddynt. Yr oedd Hazael yn brawychu rhag y drygau ysgeler y dywedai Eliseus y byddai yn euog o honynt; ac nis gallwn amheu nad ydoedd ar y pryd yn teimlo felly. Yr oedd meddwl am fod yn euog o'r fath droseddau anfad yn wrthodedig gan ei natur.

Nis gallwn feddwl fod Judas, pan aeth yn ganlynwr i Grist gyntaf, a'i feddwl ar ei fradychu. Nis gwyddom pa beth a ddylanwadodd ar ei feddwl er ei gymhell i ganlyn Crist; ond y mae yn bur debyg pe dywedasid wrtho y buasai iddo werthu Arglwydd y bywyd i ddwylaw ei lofruddion, y buasai yn edrych ar y peth yn rhy ofnadwy iddo byth fod yn euog o hono. Pe dywedasid wrth Manasseh, pan yn myned yn fachgen yn llaw ei dad i dŷ yr Arglwydd, y buasai iddo anghofio Duw ei dadau, ymollwng i eilunaddoliaeth a swyngyfaredd, gyru ei feibion trwy dân yn nyffryn mab Hinom, a thywallt gwaed gwirion, nes llanw Jerusalem o ben-bwy-gilydd, buasai yn gofyn mewn diystyrwch yn ngeiriau Hazael, "Pa beth! ai ci yw dy was?" Yr oedd Pedr yn mrwdanwch ei sêl yn meddwl ei fod yn ddigon cryf i fyned gyda Christ i "garchar ac angeu," ac yn dyweyd, "Pe gwadai pawb di, ni'th wadaf ddim; ïe, pe gorfyddai i mi farw gyda thi ni'th wadaf ddim." Ond y mae y prawf heb dd'od eto. Yr ydym yn barod i feddwl yn fynych, pe cyfleid ni gan ragluniaeth mewn sefyllfaoedd mwy ffafriol, yr ymddygem yn mhob dull yn llawer rhagorach. Mae eraill wedi meddwl felly o'n blaen ni; ond wedi eu dyrchafu i sefyllfaoedd mwy manteisiol, bu eu dyrchafiad yn ddinystr iddynt. Yn lle d'od yn llawer gwell, aethant yn llawer

gwaeth. Yr ydym yn barod i gondemnio y caethfeistr creulawn, y pendefig trahaus, y brenhin gormesol, a'r ymerawdwr gorthrymus ar y naill law, a'r ysbeiliwr dideimlad, y twyllwr hocedus, a'r llofrudd gwaedlyd ar y llaw arall, ac *nid* heb achos. Mae natur a chrefydd, dynoliaeth a *Christionogaeth,* anian a datguddiad, a nefoedd a daear, yn cyduno i'w condemnio ; ond nid oes genym yr un sicrwydd nad dyna a fuasem ein hunain, oni b'ai fod Rhagluniaeth wedi cau o'n hamgylch. Mae yn briodol iawn i ni weddio gweddi Agur,—"Dau beth yr wyf yn eu gofyn genyt, na omedd hwy i mi cyn fy marw. Tyn yn mhell oddiwrthyf wagedd a chelwydd ; na ddyro i mi na thlodi na chyfoeth ; portha fi â'm digonedd o fara ; rhag i mi ymlenwi, a'th wadu di, a dywedyd, Pwy yw yr Arglwydd? a rhag i mi fyned yn dlawd, a lladrata, a chymeryd enw fy Nuw yn ofer." Nis gwyddom beth a fyddem pe gosodid ni mewn amgylchiadau gwahanol.

Mai yn raddol y mae cymeriadau dynion yn cael eu dadblygu. Nid ar unwaith y mae dynion yn ymollwng i ddrygau ysgeler. Mae gwrthwynebiad naturiol mewn dyn i droseddau anfad. Mae natur yn rhoddi mwy o fin yn erbyn y drygau sydd yn fwyaf ofnadwy. Mae pechodau mawrion yn cael eu harwain gan y rhai a gyfrifir yn bechodau bychain. Mae pechodau gwaradwyddus yn cael eu dwyn i mewn yn nghysgod y rhai a gyfrifir yn barchus. Y pechod a ystyrir yn barchusaf sydd yn dyfod i mewn gyntaf ; ond y mae yr holl fintai yn canlyn. Yr hybarch Christmas Evans a ddywedai, fod y *Sipsiwns* sydd yn crwydro y wlad yn anfon y ferch lanaf a feddant at ddrws y ffarmwr i ymofyn llety ; ac na byddai dim gwrthwynebiad ganddo i roddi llety iddi oni bai y cysylltiad sydd rhyngddi â'r hen deulu ar y ffordd ; os croesawir hi, y daw yr holl *gang* ar ei hol. Felly y mae Satan yn temtio dynion a'r pechodau parchusaf yn gyntaf ; ond y mae holl fyddin ddu y pechodau yn canlyn. Celwydd oedd y pechod arweiniol yn nghymeriad Hazael. Wedi i'r proffwyd sicrhau iddo y byddai Benhadad farw yn ddiau ; yn lle hysbysu hyny

yn onest pan ofynodd y brenhin iddo, ebe yntau, "Efe a ddywedodd wrthyf y byddit fyw yn ddiau." Dyna; y mae celwydd wedi gwneyd rhwyg yn ei gydwybod; yr Hollwybodol yn unig a wyr beth a wna nesaf. Dranoeth, y mae yn cymeryd gwrthban, ac yn ei gwlychu mewn dwfr, yna yn ei thaenu dros ei enau; mygodd ef yn y fan—lladdodd ef. Celwydd wnaeth yr adwy; dacw lofruddiaeth yn canlyn; bellach gall gyflawni yr holl ddrygau a ddywedodd y proffwyd. Mae celwydd yn arweinydd i luaws o bechodau; ac y mae y drwg hwn wedi cancro gwahanol ddosbarthiadau cymdeithas. Mae masnach y wlad wedi ei chydblethu â chelwydd. Tystia lluaws o wyr ieuainc ein masnachdai fod yn anmhosibl iddynt gadw eu lleoedd heb aberthu eu geirwiredd. Y twyllwr goreu yw y parchusaf gan ei feistr. Mae ein ffeiriau a'n marchnadoedd wedi ymwerthu i dwyll a hoced. Byddai yn llawn cystal myned at dad y celwydd i ymofyn gwirionedd a myned i lawer iawn o fasnachdai y deyrnas i ymofyn gonestrwydd. Ac wedi i gelwydd lygru cydwybodau gwŷr ieuainc ein masnachdai, maent yn dibrisio eu hunain,—a lluaws o honynt yn diweddu mewn ysbeilio y meistr wenodd wrth eu clywed yn taeru yn ffraeth y celwydd cyntaf. Cybydd-dod oedd pechod arweiniol Judas; cafodd sefyllfa fanteisiol i faethu y pechod hwn. Wrth fod y gôd gerllaw iddo, aeth y cybydd yn lleidr. Peth ofnadwy yw gwneyd cybydd yn drosorydd. Mae y swydd yn gwasgu yn rhy dyn ar y pechod sydd barod i'w amgylchu. Dan ddylanwad ei drachwant, tröodd Judas yn fradwr i'w Arglwydd, ac fe ddiweddodd mewn hunan-laddiad. Mae defnydd lleidr yn mhob cybydd. Mae hadau y pechodau mwyaf yn y pechodau lleiaf. Cenfigen ac anghariad, o'i magu, dyfant i fyny yn llofruddiaeth. "Pob un sydd yn casâu ei frawd, lleiddiad dyn ydyw." Fel y mae y dderwen yn y fesen, felly y mae llofruddiaeth mewn cenfigen. Mae gormes, a chreulondeb, a rhyfeloedd, yn dechreu yma—awydd myned i fyny. Nid ar y cyfandir yn unig y mae gormeswyr, ond ceir hwy yn nês yma; ac nid rhaid dringo

hyd y gorseddau er mwyn eu gweled ; y maent yn mhob ardal, ac ysywaeth, yn ymlusgo i bob eglwys—" yn tra-arglwyddiaethu ar etifeddiaeth Duw," ac yn dial, hyd eithaf eu gallu, ar bawb na phlygo i'w hopiniynau hwy. Maent yn eu cylchoedd mor ormesol ag un ymerawdwr a eisteddodd ar orsedd erioed, ac mor babaidd a neb lanwodd gadair St. Pedr yn Rhufain. Er y teimlant yn ddigon gwrol i godi eu cleddyfau i ladd holl babau y byd, eto heb ddigon o wroldeb i ladd y pab bach sydd yn eu calonau eu hunain. Meddwdod ; dyma gadfridog holl bechodau yr oes. Mae fel yr agerdd-beiriant ar reilffordd—mae *train* o bechodau yn ei ganlyn. Mae y cwpanaid cyntaf yn arwain i'r ail, yr ail i'r trydydd, y trydydd i'r pedwerydd, a'r pedwerydd i feddwdod, a meddwdod i bob drwg, ac uffern yn canlyn. Gochelwch y cwpanaid cyntaf—hwnw yw y mwyaf peryglus. Mae drygau yn cryfhau yn eu nerth wrth eu mynychu, fel careg, wrth dreiglo ar y goriwaered yn casglu nerth gyda phob tro y mae yn ei roddi, nes y mae y pechadur o'r diwedd wedi myned yn gaethwas iddynt ; ac yn ei iaith yn dyweyd, " Cerais eilunod, ac ar eu hol hwynt yr âf."

Fod cyfnewidiad disymwth yn amgylchiadau dynion yn gyfle manteisiol i ddangos eu hegwyddorion. Mae pob cyfnewidiad yn dangos dynion ; ond po fwyaf disymwth y byddo y cyfnewidiad, cryfaf oll y rhaid i'r egwyddorion fod i'w dal. Unrhyw beth a ddaw yn ddirybudd, y mae yn fwy tebyg o orchfygu dyn, oblegid y mae yn ei gymeryd cyn iddo gael hamdden i arfogi i'w gyfarfod. Po fwyaf disymwth y byddo y cyfnewidiad yn yr hin, cryfaf oll y rhaid fod y cyfansoddiad i'w ddal. Mae dynion o gyfansoddiadau gweiniaid yn cwyno yn fawr ar y " newid tywydd," a'r " tywydd cymysglyd." Ac y mae yr Arglwydd mewn natur yn dwyn cyfnewidiadau yn raddol, fel y gallo dynion eu dal. Mae y tymhorau yn dyfod i mewn yn raddol, fel y mae ein cyfansoddiadau yn cael eu caledu ar eu cyfer. Byddai y cyfnewidiad yn ormod i natur ei ddal pe newidid yn ddisymwth o wres mis Gorphenaf i

oerni mis Chwefror. Daeth y cyfnewidiad yn sefyllfa Hazael yn ddisymwth. "Yr Arglwydd a ddangosodd i mi y byddi di yn frenhin ar Syria." Disgynodd y peth ar ei glust mor annysgwyliadwy, fel mai o'r braidd y gallodd feddianu ei hunan. Nid ydym yn sicr a oedd yr orsedd yn brofedigaeth iddo o'r blaen, neu, os oedd, gall ei fod yn edrych ar ei chyraedd fel peth anmhosibl; a phan hysbyswyd y peth iddo, yr oedd yn fwy nag a allai ddal. Anghofiodd ei hunan; dychymygodd ei gynlluniau er prysuro ei ddyrchafiad iddi; a thybiai, gan fod yr Arglwydd wedi dangos i'r proffwyd y byddai yn frenhin, fod yn gyfreithlawn iddo ddefnyddio pob ystryw er myned i'r orsedd. Ac fel y dywedodd y proffwyd am dano, felly y daeth—bu yn bla ar Israel. Digon o farn arnynt oedd eu rhoi yn llaw Hazael. Mae yn ffaith fod rhai o'r dynion tyneraf, yn naturiol, ar ol cyrhaedd dyrchafiad, yn troi allan y dynion creulonaf. Mae yr hyn yr edrychid arno mewn un sefyllfa yn ormes a chreulondeb, yn cael edrych arno mewn sefyllfa uwch yn weinyddiad o ddysgyblaeth briodol. Ac y mae rhywbeth mewn llwyddiant, cyfoeth, ac awdurdod, sydd yn brofedigaeth i ddynion fyned yn ormesol a chreulawn at eu cyd-ddynion; ac yn anghofus o Dduw. "Paham y mae yr annuwiolion yn byw, yn heneiddio, ac yn cryfhau mewn cyfoeth? Cymerant dympan a thelyn, a llawenychant wrth lais yr organ. Dywedant hefyd wrth Dduw, Cilia oddiwrthym, canys nid ydym yn chwenych gwybod dy ffyrdd. Pa beth yw yr Hollalluog fel y gwasanaethem ni ef? a pha fudd fydd i ni os gweddiwn arno?" Ond nid dyrchafiad i gyfoeth yn unig sydd yn dangos egwyddorion dynion; mae darostyngiad i gyfyngder a thlodi hefyd yn esbonio dynion. Anhawdd gwybod pa un ai lladdedigion cyfoeth ai lladdedigion tlodi sydd amlaf—pa un ai celaneddau llwyddiant ai celaneddau aflwyddiant sydd luosocaf. Esboniodd y darostyngiad gymeriad gwraig Job. Yr oedd hi yn ymddangos mor ddefosiynol ag yntau yn y palas, pan yn ymdroi mewn llawnder; y saith mab a'r tair merch o'i chylch—yr anifeiliaid ar y maesydd—a'r gweision i

weini arni. Yr oedd pob tlawd ddeuai i'r drws yn meddwl cymaint o honi hi ag o Job. Ond pan drodd yr olwyn—pan chwyldrôwyd yr amgylchiadau—pan ruthrodd byddinoedd y Sabëaid a'r Caldëaid ar yr ychain, a'r asynod, a'r *camelod*—pan ddisgynodd tân Duw i ysu y defaid—pan gurodd gwynt yr anialwch ar gonglau y ty, nes claddu y plant yn yr adfeilion—a phan y gadawyd hwythau eu dau heb ddim, dangosodd yr hen wraig y medrai hi felldithio yn gystal a bendithio. Yr hyn haerai Satan am Job oedd yn wir am ei wraig. Yn yr amgylchiadau yr oedd ei chrefydd hi i gyd. Ac yr oedd hi yn anfoddlawn iawn i Job am ei fod yn dal i fendithio. "A wyt ti eto yn parhau yn dy berffeithrwydd?" Yr oedd yn burion ei fendithio tra yr oedd yn ein llwyddo; yr oeddwn yn uno i'w ganmol pan yn cael ganddo; ond yn awr y mae efe wedi gwneyd ei waethaf i ni—"Melldithia Dduw, a bydd farw." Ond y mae Job mewn hunan-feddiant perffaith yn nghanol yr ystorm—"Gwreiddyn y mater a gaed ynddo." Ac er colli ei holl feddianau, daliodd ei afael yn ei grefydd. "Yn fy nghyfiawnder y glynais." Ac yn nghanol y peiriau y mae yn edrych yn mlaen ar amcan y cwbl: "Wedi iddo fy mhrofi, mi a ddeuaf allan fel aur." Yr oedd ganddo grefydd nad allasai chwyldrôad holl amgylchiadau y byd effeithio dim arni. Daliodd yn y palas llawn, a daliodd hefyd pan nad oedd ganddo ddim ond cragen. Mae cyfnewidiadau disymwth yn rhagluniaeth Duw yn dangos yn eglur beth yw egwyddorion dyn.

OL-NODIADAU.

Fod y byd yma, yn amrywiaeth ei amgylchiadau, wedi ei gyfaddasu i ddyn fel deiliad sefyllfa prawf. Yn y byd yma yr ydym mewn sefyllfa o brofiad a pharotoad erbyn *byd arall*; ac y mae yr holl amgylchiadau a'n cyferfydd ni ynddo wedi eu bwriadu i'n profi. "Angenrhaid yw dyfod rhwystrau." "Gwyn ei fyd y gwr sydd yn goddef profedigaeth"—nid sydd yn cael, ond "yn goddef"—yn sefyll, yn dal profedigaeth; "canys pan fyddo profedig"—wedi dal ei brawf, "efe a dderbyn anniflanedig goron y bywyd."

Mai peth pwysig iawn ydyw i ddynion ddewis cylchoedd tymhorol manteisiol i'w crefydd. Mae yn bosibl i ddynion ddewis galwedigaeth a fydd yn fagl i'w crefydd Mae rhai galwedigaethau y mae yn anmhosibl byw yn dduwiol ynddynt. Nid oes unrhyw ystyriaeth o elw bydol all esgusodi dynion am aros ynddynt. Gwerthu bywyd tragywyddol er mwyn elw bydol! Bargen ffol! "Canys pa leshad i ddyn os ennill efe yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun?" Mae llawer merch ieuanc wedi aberthu cyfleusderau crefyddol er mwyn ychydig yn ychwaneg o elw bydol. Mae llawer dyn ieuanc er mwyn elw wedi aros mewn sefyllfa y gwyddai nas gallasai fyw yn eirwir a gonest ynddi. Mae llawer tad, yn ei orawydd am wneyd ei fab yn foneddwr, wedi ei osod mewn sefyllfa a fu yn fagl i'w gymeriad, ac yn ddamnedigaeth i'w enaid. Gwell i ddyn fyw ar fara haidd a dwfr oer, mewn sefyllfa onest ddiberygl, na byw yn y palas yn nghanol y llawnder, ac iachawdwriaeth yr enaid yno yn cael ei beryglu. Mae eisiau gweddio, "Nac arwain ni i brofedigaeth," yn gystal a gweddio, "Gwared ni rhag y drwg"

Mai y peth ydyw ei wir gymeriad ger bron Duw sydd yn bwysig i bob dyn. Mae yn wir na ddylid dirmygu cymeradwyaeth dynion. Mae y dyn sydd wedi colli pob parch i farn eraill am dano, yn ddyn peryglus mewn cymdeithas. Mae "gair da pawb," a bod yn "gymeradwy gan y saint," yn beth y dylai pob dyn amcanu, ar dir teg, ei gyrhaedd; ond pa beth ydyw ein cymeriad ger bron Duw sydd yn wir bwysig. Mae ein cymeriad i fyw byth; ac yr ydym yn y byd hwn yn ei ffurfio erbyn y byd a ddaw. Gan hyny, dylem fod yn nheimlad yr apostol, yn dywedyd, "Am hyny yr ydym yn ymorchestu, pa un bynag y byddom ai gartref ai oddicartref, ein bod yn gymeradwy ganddo Ef."

# PREGETH XVII.

## MAWREDD CARIAD CRIST.

EPHESIAID iii. 19.

"A gwybod cariad Crist, yr hwn sydd uwchlaw gwybodaeth, fel y'ch cyflawner â holl gyflawnder Duw."

"Duw cariad yw;" "cyflawnder y gyfraith yw cariad;" cyfundraeth o gariad yw Cristionogaeth; a chariad ydyw yr egwyddor ysgogiadol crefydd. Dyma Alpha ac Omega yr efengyl. Y cariad sydd ynddi, sydd yn cyfrif am y dylanwad anorchfygol sydd ganddi ar y meddwl. Y mae fel y gwaed yn y corff yn cadw pob rhan mewn ansawdd dymherus; ac yn rheoli ei holl weithrediadau. Tyner cariad o'r efengyl, a chyll ei dylanwad swynol ar feddwl pechadur. Y mae yr apostol yma yn sefyll mewn synedigaeth uwchben cariad Crist, ac yn amcanu cael rhyw fesurau arno; beth yw ei "*led*, ei *hyd*, ei *ddyfnder*, a'i *uchder*." Mae rhai yn meddwl fod yr ymadroddion hyn yn cyfeirio at y cariad yn ei wahanol berthynasau. "*Ei hyd*" yn cyfeirio at ei dragywyddoldeb, heb ddechreu i'w ddyddiau na diwedd i'w flynyddoedd. "*Ei led;*" yn cyfeirio at helaethrwydd y cylch ar y rhai y gweithia,—"yr holl fyd" heb wahaniaethu Iuddewon a Chenhedloedd. "*Ei ddyfnder;*" yn cyfeirio at sefyllfa isel a thruenus y gwrthddrychau yn y dyfnder isaf. "*Ei uchder;*" yn cyfeirio at ei ddylanwad a'i effeithiau yn cyfodi tyrfa fawr i'r anrhydedd uchaf. Mae yr esboniad yma yn eithaf prydferth, esmwyth, a didramgwydd; er efallai nad oedd hyny yn meddwl yr apostol, ond ei fod yn defnyddio yr ymadroddion eangaf

mewn iaith i osod allan helaethrwydd a mawredd cariad Crist. "*A gwybod cariad Crist;*" ffurfio rhyw ddirnadaeth am dano; teimlo ei ddylanwad a chael profiad bywiog o hono. "Canys y mae cariad Crist yn ein cymhell ni." "*Yr hwn sydd uwchlaw gwybodaeth.*" Mae yma wrthdarawiad ymddangosiadol; gwybod yr hyn sydd uwchlaw gwybodaeth. Gwybod trwy ddatguddiad yr hyn nis gellir ei wybod yn ngoleuni natur. Gwybod trwy ras yr hyn sydd uwchlaw gwybodaeth rheswm; felly yr esbonir ef gan rai; ac y mae hyny yn wirionedd, "dyn anianol nid yw yn derbyn y pethau sydd o Ysbryd Duw; canys ffolineb ydynt ganddo ef; ac nis gall eu gwybod, oblegid yn ysbrydol y bernir hwynt." Mae ei feddwl yn rhy anianol i amgyffred pethau ysbrydol. Ond ymddengys fod i'r ymadrodd ystyr ëangach. Yr oedd meddwl yr apostol wedi ei orlenwi â syniadau goruchel am gariad Crist; ac wedi profi yn helaeth o hono. "A gwybod cariad Crist;" ond yn ddisymwth; wrth edrych ar ei fawredd, y mae yn gweled nas gellir amgyffred ei gynwys, ac o ganlyniad yn tori allan mewn syndod uwch ei ben ac yn gwaeddi, "Yr hwn sydd uwchlaw gwybodaeth." Nis gall neb ffurfio dirnadaeth gyflawn am dano. Mae ei gynwys yn anmhosibl. Môr ydyw y gellir yfed o hono a nofio arno; ond nis gellir plymio ei ddyfnder na mesur ei derfynau Gellir ei wybod yn rhanol; er ei fod uwchlaw gwybodaeth hollol; "Fel y'ch cyflawner â holl gyflawnder Duw." Yma y mae iaith yn llwythog o feddyliau, neu fel cwmwl llawn ar ollwng ei gynwysiad. Mae yma bob gair yn llawn o feddwl; a phob meddwl yn llawn o Dduw;—"Cyflawni â holl gyflawnder Duw." Rhydd y testyn olwg ar

Fawredd cariad Crist; neu "gariad Crist uwchlaw gwybodaeth." Y mae felly:—

I. *Yn mawredd y person a garodd;* "*cariad Crist.*" Y mae yr un gweithredoedd yn cael edrych arnynt yn wahanol yn ol y gwahaniaeth fyddo yn mhwysigrwydd y gweithredyddion; canmolir a rhyfeddir gweithred o ostyngeiddrwydd

mewn boneddwr pan na wneir sylw o'r un weithred yn yr isel radd. Mae ar gof a chadw hyd heddyw ddarfod i'r hen frenhin Sior III, alw yn nhŷ hen wraig weddw dlawd, ac eistedd wrth ei bwrdd crwn heb un lliain arno, a bwyta tamaid o fara haidd, ac yfed cwpanaid o laeth enwyn gyda hi. *Nid oedd* y weithred ynddi ei hun ond dibwys iawn, ond gweithred syml fel yna gan frenhin sydd yn gosod hynodrwydd arni. Mae mawredd personau yn gosod pwysigrwydd ar y gweithredoedd. Felly yma "cariad Crist." Cysylltir y weithred o garu yn fynych â pherson y Tad; a sonir am "gariad yr Ysbryd;" ond yma cysylltir ef â pherson y Mab. "*Cariad Crist.*" Cariad person dwyfol ydyw. Mae Duwdod y Mab mor eglur a Duwdod y Tad. Mae enwau dwyfol arno; priodoliaethau dwyfol ynddo; gweithredoedd dwyfol yn cael eu cyflawni ganddo; ac addoliad dwyfol yn cael ei dalu *iddo.* Er prawf, Ai eiddo Duw yw creadigaeth? "Trwyddo ef y gwnaethpwyd pob peth." Ai i Dduw y perthyn cynhaliaeth? "Ac ynddo ef y mae pob peth yn cydsefyll." Ai priodoledd ddwyfol yw Hollalluawgrwydd? "Myfi yw Alpha ac Omega, y dechreu a'r diwedd, y cyntaf a'r diweddaf, yr Hollalluog." Ai Duw yn unig sydd Hollwybodol? "A'r holl eglwysi a gânt wybod mai myfi yw yr hwn sydd yn chwilio y calonau a'r arenau." Ai Duw yn unig sydd dragywyddol? "Yr hwn yr oedd ei fynediad allan o'r dechreuad er dyddiau tragywyddoldeb." Ai Duw ydyw unig wrthddrych addoliad? "Pan yw yn dwyn y cyntaf-anedig i'r byd y mae yn dywedyd, ac addoled holl angelion Duw ef." "Y mae uwchlaw pawb yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd."

Ac y mae dwyfoldeb ei berson yn cael ei gysylltu mewn modd neillduol a'r amlygiadau a wnaeth o'i gariad *yn nhrefn* iachawdwriaeth. Mae yn wir y cysylltir dwyfoldeb ei berson a'i allu, ei ddoethineb, a'i gyfiawnder; ond cysylltir ef fynychaf a'i gariad; a'i gymeriad fel achubwr. A'r olwg hono ar Dduw sydd yn siriol i bechadur.

Nid oes yr un olygfa mewn natur yn fwy swynol na'r ar-

uchel a'r syml yn ymyl eu gilydd ; y graig ddaneddog yn edrych mewn chwerwder digllawn ; a'r ddôl brydferth wrth ei thraed yn gwenu mewn boddlonrwydd. Pan y mae aruthredd y naill yn ein brawychu, y mae gwenau siriol y llall yn lliniaru ein hofnau. Felly hefyd y mae rhyw beth yn ofnadwy frawychus yn Nuw pan y cysylltir ei ddwyfoliaeth a'i sancteiddrwydd tanbaid ; ei gyfiawnder diwyrni ; ei wybodaeth berffaith ; a'i allu anfeidrol ; ond y mae rhywbeth anwylaidd, serchoglawn, yn meithrin hyder yn y fynwes yn yr ymadroddion sydd yn cysylltu ei ddwyfoldeb a thiriondeb ei drugaredd. Mae prydferthwch y dyffryn yn lleddfu ysgythredd y graig. Er prawf, "I'r unig ddoeth Dduw, *ein Hiachawdwr ni.*" "Gan ddisgwyl am y gobaith gwynfydedig ac ymddangosiad gogoniant y Duw mawr ; *a'n Hiachawdwr Iesu Grist.*" "Hwn yw y gwir Dduw ; *a'r bywyd tragywyddol.*" Cariad person dwyfol ydoedd. Fel cariad person dwyfol yr oedd yn gwbl *wirfoddol.* Darlunir ef weithiau yn oddefol fel anfonedig Duw ; ond darlunir ef hefyd yn weithredol yn rhoddi ei hun. "Megis y carodd Crist yr eglwys." "Canys y mae cariad Crist yn ein cymhell ni." "A rhodiwch mewn cariad megis y carodd Crist ninau." "A gwybod cariad Crist." Fel cariad person dwyfol y mae yn *hunangynhyrfiol.* Nis gellir dylanwadu ar Dduw gan ddim tu allan iddo ei hun. Mae y rheswm am ei holl weithrediadau ynddo ei hun. Gan mai cariad person dwyfol ydyw y mae *yn dragywyddol.* Yr oedd yn caru erioed. Ni bu dechreu ar flynyddoedd ei gariad ; ac ni bydd diwedd arnynt. "A chariad tragywyddol y'th gerais ;" ac y mae yn *anghyfnewidiol.* "Efe yn caru yr eiddo y rhai oedd yn y byd ; a'u carodd hwy hyd y diwedd." Dyna rai o nodweddau ei gariad ef. Y person mawreddog, urddasol, a gogoneddus yma a garodd y byd ; ond paham? "y mae uwchlaw gwybodaeth." Nid oedd rhwymau ond rhwymau ei gariad. Nid oedd un rhaid ond rhaid ei ewyllys ei hun. Mae ei ymrwymiad yn rheswm am ei ddioddefiadau. Mae ei gariad yn rheswm am ei ymrwym-

iad : ond pa le y mae y rheswm am ei gariad? Mae yn bwnc gwaharddedig i gynyg rhoddi rheswm am dano; ni feiddia un angel ryfygu gosod ei farn arno; y fangre gysegredig ydyw er diosg ein hesgidiau, ni feiddiwn anturio iddi. Dyma gysegr sancteiddiolaf y Duwdod. Nid oes genym ond synu, rhyfeddu, addoli, a gwaeddi, "Dyma wybodaeth rhy ryfedd i ni, uchel yw, ni fedrwn oddiwrthi;" "uwchlaw gwybodaeth."

2. *Yn sefyllfa y gwrthddrychau a garwyd.* Nid yn unig fod y fath un wedi caru; ond fod y fath un wedi caru y fath rai. Y mae cariad yn deimlad naturiol; ond y mae yn rhaid iddo gael gwrthddrych priodol, y byddo ynddo ragoriaethau gwirioneddol neu ddychymygol; ond dyma gariad at y gwrthddrychau truenusaf. Rhoddir darluniad o'n cymeriad trwy bedwar plyg gan Paul; "gweiniaid;" "pechaduriaid;" "annuwiol;" a "gelynion;" gweiniaid i ufuddhau i Dduw; pechaduriaid wedi troseddu deddf Duw; annuwiolion wedi colli delw Duw; gelynion mewn gwrthryfel yn erbyn Duw; ac y mae eithafion dirywiad a dyfnder trueni dyn yn amgauedig yn y pedwar gair yna. Ac ar y gwrthddrychau yna; yn yr agwedd isel yna, y craffodd llygaid ei gariad ef. Dyma orchestwaith cariad. Cariad mwyaf dynion ydyw caru cyfeillion; a gorchest cariad dynol ydyw i un farw dros gyfaill. "Cariad mwy na hwn nid oes gan neb sef bod i un roddi ei einioes dros ei gyfeillion." "Canys o'r braidd y bydd neb farw dros un cyfiawn; dros y da ysgatfydd fe feiddia un farw hefyd;" hwyrach y gellir cael un i farw dros y da, y caredig, yr haelionus, ond y mae yr engreifftiau yn bur anaml. Adroddir am gyfaill yn gwystlo ei fywyd dros ei gyfaill. Condemniwyd Damom i farw gan y gormeswr Dionysius; cafodd genad i fyned i drefnu ei amgylchiadau ac i ffarwelio a'i deulu ar yr amod iddo ddychwelyd yn ol i le y dienyddiad erbyn yr awr benodol; ac ymrwymodd Phythias i fyned dan y gosp yn ei le os na ddychwelai yn ol ei ymrwymiad. Ac ar yr awr benodol pan oeddynt yn parotoi i godi Phythias i'r [illegible]

gwnaeth Damon ei ymddangosiad. Tarawyd yr hen ormeswr mor nerthol gan ffyddlondeb y ddau gyfaill i'w gilydd fel y galwodd yn ol y ddedfryd, ac y cawsant fyw i fwynhau cymdeithas y naill a'r llall. Y mae yr amgylchiad yna yn sefyll braidd yn unig. Ond cyfaill oedd yna yn foddlawn marw dros gyfaill. Ond arosweh! "canys Crist pan oeddym ni eto yn *weiniaid* mewn pryd a fu farw dros yr *annuwiol.*" "Canys y mae Duw yn canmol ei gariad tuag atom, a ni eto yn *bechaduriaid* i Grist farw drosom." "Canys os pan oeddym yn *elynion* y'n heddychwyd â Duw trwy farwolaeth ei fab ef." Dyma "gariad uwchlaw gwybodaeth."

*Cariad at rai heb ei haeddu.* Cynulleidfa o droseddwyr; hâd y rhai drygionus;—meibion yn llygru;—hiliogaeth gweithredwyr anwiredd. Byddin wrthryfelgar yn erbyn y Goruchaf; "gosodasant eu genau yn erbyn y nefoedd a'u tafod a gerdd trwy y ddaear." Nid oedd haeddiant dynion syrthiedig yn ddim mwy na haeddiant angylion syrthiedig. Ar dir haeddiant yr oeddym oll "wedi ein cydgau dan bechod." Nid oedd dim yn y ddynoliaeth i ddenu Duw. "Cenedl anhawddgar" ydoedd yn holl ystyr yr ymadrodd. Ond yn ei thrueni, ei haflendid, a'i heuogrwydd, syllodd llygaid ei gariad arni; tramwyodd heibio iddi; a dywedodd wrthi, "Yn dy waed—bydd fyw;" taenodd ei aden drosti; cuddiodd ei noethni;—golchodd ei budreddi;—a thyngodd mewn cyfamod y byddai yn eiddo iddi. Mae y cariad yn benarglwyddiaethol hollol; heb haeddiant yn y gwrthddrychau.

*Cariad at rai heb ei ddymuno.* Nid yn unig nid oedd dim yn y byd yn haeddu cariad Duw; nid oedd dim ynddo chwaith yn ei ddymuno. Tuedd pechod ydyw pellhau dyn oddiwrth Dduw; mae mwy o awydd myned allan o wydd yr Arglwydd ar Cain heddyw na phan y ciliodd i dir Nôd; fel y mae yr euogrwydd yn ychwanegu y mae yr elyniaeth yn cryfhau, ac fel y mae yr elyniaeth yn cryfhau mae ei duedd i ymbellhau. Y funyd y pechodd Adda ymguddiodd o wydd yr Arglwydd yn mhlith preuau coed. Ond yr oedd lleni tewach, duach,

na dail y coed rhwng dyn a Duw. Ond gwelodd llygaid cariad trwyddynt a gwaeddodd, "Adda pa le yr wyt ti?" Nid Adda a aeth i chwilio am Dduw; ond efe yn ei gariad a ymofynodd am Adda. Gall cariad ddyweyd "Cafwyd fi gan y rhai nid oeddynt yn fy ngheisio; a gwnaed fi yn eglur i'r rhai nid oeddynt yn ymofyn am danaf."

*Cariad at y fath waethaf o bechaduriaid.* Mae cariad fel pe yn ymhyfrydu ymafael yn y cymeriadau duaf, bryntaf, aflanaf; dangos ei orchestion trwy gymeryd meddiant o'r pechaduriaid mwyaf; a gwneyd gwrhydri trwy gymeryd oddiar ddiafol brif golofnau ei deyrnas. Mae yma fôr o gyflawnder, helaethrwydd o ras. Cariad yn maddeu y pum' cant yn gystal a'r deg a deugain. Yn edrych yn siriolach ar ddagrau y bechadures fawr; nac ar hir weddiau y Pharisead. Gwelwch ef yn myned heibio i'r Doctoriaid at Matthew wrth y dollfa; heibio i'r Senhadrim Iuddewig at bysgodwyr môr Galilea; heibio i Pilat ar y fainc at y lleidr ar y groes; heibio i'r archoffeiriaid yn Jerusalem at erlidiwr y saint i Tarsus yn Cilicia. Mae wedi gwneyd hynodion trwy yr oesau yn achubiaeth y penaf o bechaduriaid; a'u codi yn golofnau "o ragorol olud ei ras ef." Ond, paham y rhoddodd ei feddwl ar y fath wrthddrychau? Dyna y ffeithiau yn amlwg; ond paham? Y meddwl sydd yn anfeidrol bell oddiwrth bechod wedi cymeryd sylw o'r dalaith wrthryfelgar. Paham y cymerodd sylw o'r byd? Paham yr edrychodd ar ddynion mwy nag angylion? Paham y gadawodd y llestri arian yn bentwr candryll; ac yr ymosododd ar gylchio llestri pridd er eu cael yn "llestri trugaredd?" Nid y syndod ydyw Paham y gadawodd yr angylion syrthiedig; eu haeddiant oedd hyny; ond paham y carodd ddynion syrthiedig? Galwodd hen Weinidog gyda boneddwr o olygiadau Arminaidd unwaith i gasglu; cyn cyfranu gofynai y boneddwr iddo esbonio yr adnod hono, "Jacob a gerais, eithr Esau a gaseais." "Beth sydd yn ddyrus i chwi ynddi?" ebe y Gweinidog. "O hyn yna," ebe y boneddwr, "paham y casaodd ef Esau?" felly ebe y Gweini-

dog; "nid dyna sydd yn fy nyrysu i ynddi, ond paham y carodd ef Jacob; haeddiant oedd y casau, gras oedd y caru." Paham y sylwodd ar y byd? Paham y rhoddodd ei galon ar ddynion? Paham yr ymunodd â'n natur ni? Atebed oraclau athroniaeth; eglured cyfrolau dysgeidiaeth; esbonied yr ysbryd ymchwilgar yn nheml doethineb. Ah llawn cystal i chwi dewi: callach i chwi beidio llefaru; rhag i chwi lefaru fel un o'r ynfydion—digon i ni mai, "Felly y rhyngodd bodd yn ei olwg." Cynyg ymwthio i ddirgelion Duw ydyw ceisio gwybod;—mae "uwchlaw gwybodaeth."

3. *Yn amgylchiadau amlygiad ei gariad.* Y mae y dwfr bob cam yn myned ddyfnach:—Y fath un—yn caru y fath rai—yn y fath fodd Amlygir hyn

*Yn ymgnawdoliaeth Crist.* "A'i gael mewn dull fel dyn." Yr oedd yr holl amgylchiadau cysylltiedig â'i ymgnawdoliaeth yn esbonio, "efe a'i dibrisiodd ei hun." Morwyn ar fwriad priodi â saer oedd ei fam, llety yr anifail oedd y man y ganwyd ef, y preseb oedd ei gryd ef, ac mewn cadachau y rhwymwyd ef. Ai dyna y dirgelwch? Ai dyna y darostyngiad? O, nage! O gael mam, nid oedd cymaint o wahaniaeth rhwng Mair y Forwyn a merch yr ymerawdwr. O gael ei eni, nid oedd cymaint o wahaniaeth rhwng llety yr anifail a'r palas brenhinol. O gael cryd, nid oedd cymaint o wahaniaeth rhwng preseb yr ŷch a'r cryd o ifori. O gael ei rwymo, nid oedd cymaint o wahaniaeth rhwng cadachau Mair a sidanau y foneddiges. Mae yna ymostyngiad mawr, ond y mae ymostyngiad mil myrdd mwy; a dyma fe—"A'r Gair a wnaethpwyd yn gnawd!" Syned y nefoedd at y darostyngiad! Dyma sydd yn dyrysu ein meddyliau, "A'r Gair a wnaethpwyd yn gnawd." "Y Gair." "Yn y dechreuad yr oedd y Gair, a'r Gair oedd gyda Duw, a Duw oedd y Gair." "A'r Gair a wnaethpwyd yn gnawd." Duw wedi ymddangos yn y cnawd. Yn mherson Mab Duw yr ymddangosodd y rhyfeddod fwyaf erioed. Duwdod a dyndod yn yr un person; y Ddwyfoliaeth heb ei dynoli; y ddynoliaeth heb ei dwyfoli;

pob un yn cadw eu priodoliaethau neillduol heb ddyrysu na ymgymysgu; a'r ddwy mewn cysylltiad mor agos â'u gilydd, fel y mae gweithredoedd y naill yn cael eu priodoli i'r llall. Llefeir am y Ddwyfoliaeth yn nghysgod y ddynoliaeth, a'r ddynoliaeth yn nghysgod y Ddwyfoliaeth. "I fugeilio eglwys Dduw, yr hon a bwrcasodd efe â'i briod waed." Dyna ei ddynoliaeth yn nghysgod ei Ddwyfoliaeth. "Ac ni esgynodd neb i'r nef oddieithr yr hwn a ddisgynodd o'r nef, sef Mab y dyn, yr hwn sydd yn y nef." Dyna ei Ddwyfoliaeth yn nghysgod ei ddynoliaeth. Mae yma y cydgyfarfyddiad rhyfeddaf —"Duw yn ymddangos yn y cnawd!" Dyma ddirgelwch nad oes neb a fedr ei gael allan. Ni rodiodd neb yn nghilfachau y dyfnder yma—ni agorwyd y pyrth i blant marwolaeth—nid adnabu un angel y llwybr—ni chanfu un cerub y ffordd—ac nid oes un seraff a all ddwyn y dirgelwch hwn i oleuni. Un o gyfrinau y Duwdod ei hunan ydyw, anrhydedd yr hwn yw dirgelu peth."

*Yn marwolaeth Crist* amlygir ei "gariad uwchlaw gwybodaeth." Dyma berffeithiad ei gariad. Dyma yr amlygiad egluraf a chyflawnaf o hono. Yn wir, "Yn hyn y mae cariad" sydd yn taflu cariad pawb i'r cysgod. Mae uwchlaw pob dirnadaeth o'n heiddo. Gallwn ffurfio ryw syniad am rym cariad y fam a ddiosgai ei gwisgoedd i gynhesu ei phlentyn rhag oerder y nos; ac a ruthrai i berygl bywyd er ei amddiffyn. Y mae genym ryw amgyffediad am rym y cyfeillgarwch hwnw sydd yn cydio dynion am eu gilydd, nes bod yn barod i roddi eu gyddfau i lawr y naill dros y llall. Mae y pethau yna yn dyfod i rywle o fewn terfyna ein dirnadaeth, os nad ein profiad. Ond y mae marwolaeth Crist dros ei elynion *yn eithriad* i bob deddf y gwyddom ni am dani, Nid oedd un rhaid iddo, ond y rhaid a gymerodd arno ei hun. Nid oedd un rhwymau ond rhwymau ei gariad. Nid oedd un ddeddf a allasai ofyn ei fywyd; oni buasai iddo ymostwng i fyned dan y ddeddf, fel y gwaredai y rhai oedd yn agored i'w melldithion. Bu farw yn ddirprwyol dros eraill; "Efe a archollwyd am ein cam-

weddau ni ; efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni ; cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef." Cariad at eraill a'i cymhellodd i'r gwaith—ei gariad a'i cynhaliodd drwy ei waith, a phan oedd daear ac uffern yn cyngreirio am ei fywyd, dywedai yn eu gwyneb oll, "Nid oes neb yn dwyn fy einioes oddiarnaf, ond myfi sydd yn ei dodi hi i lawr o honof fy hun." Nerth ei gariad a'i cariodd ef yn orchfygwr trwy yr holl ddyoddefiadau, a chadwodd ei angerddoldeb ef yn yr holl ystormydd. Dyma "gariad uwchlaw gwybodaeth." Pwy a fedr ei ddirnad ? Pwy a all ei amgyffred ? Cynt y "mesuri y dyfroedd yn dy ddwrn, neu y mesuri y nefoedd â'th rychwant, y cymhwysi bridd y ddaear mewn mesur, y pwysi y mynyddoedd mewn pwysau a'r bryniau mewn cloriannau," nag y bydd i feddwl cyfyng y meidrol, amgyffred mawredd ei gariad ef. Haws fyddai i ddyn gynwys y môr yn ngheudod ei law—diffodd yr haul â'i anadl—distewi yr ystorm â chodiad ei fys, neu ffrwyno y fellten âg edef garth, nag i'w feddwl cul, cyfyng, crebychaidd ef wybod "lled, a hŷd, a dyfnder, ac uchder cariad Crist." Dyma "ddoethineb Duw mewn dirgelwch." I'r dyfnderoedd yma y mae yr angylion yn "chwenych edrych." Ond saif byth yn y pellder anfeidrol, a'i "fawredd sydd anchwiliadwy."

4. *Yn y bendithion a ddiogelir trwy ei gariad ;—"Fel y'ch cyflawner a holl gyflawnder Duw."* Mae y dybenion goruchel a gyrhaeddir trwy ei gariad yn gosod mawredd arno. Mae iaith yma yn chwyddo dan law yr apostol,—"Cyflawni â *Duw*,"—"Cyflawni â *chyflawnder* Duw,"—"Cyflawni â *holl gyflawnder* Duw." Mae y cyflawnder, yn wreiddiol yn Nuw ; yn gyfryngol yn Nghrist ; ac yn gyfranogol yn y credadyn. "Oblegid rhyngodd bodd i'r Tad drigo o bob cyflawnder ynddo ef." "Oblegid ynddo ef y mae holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorfforol" Ond y mae y cwbl wedi eu trysori ynddo i "gyflawni ein holl raid ni." "Derbyniaist roddion i ddynion." "Ac o'i gyflawnder ef y derbyniasom ni oll." Mae y cwbl sydd yn Nghrist, ynddo fel y dwfr yn y

gronfa, *(reservoir)* i wasanaethu angen trigolion y dref. Cyflawni holl anghenion dynion. Mae gwagder yn enaid dyn er pan adawodd "ffynon y dyfroedd byw." Mae yn ymchwiliedydd crwydredig ar hyd anialwch gwag erchyll y byd yma, yn cloddio iddo ei hun bydewau er tori ei syched; a'i *gri* yn mhob man ydyw "Pwy a ddengys i ni ddaioni?" Ond pydewau toredig ydyw y cwbl nes y ca afael ar Dduw, yna teimla yr enaid uwch ben ei ddigon, cyflawnir ei holl anghenion, a boddlonir ei holl ddymuniadau. Daw holl gyflawnder Duw i wynebu ar holl eisiau dyn. Mae yma aberth i gyfarfod euogrwydd ei gydwybod—santeiddrwydd i adfer ei natur i ddelw Duw—gwybodaeth berffaith i'w gyfarwyddo yn mhob cyfyngder—cysur cryf i ddiddanu yr enaid yn holl drallodion bywyd—"gobaith gwynfydedig" i'w alluogi i edrych yn mlaen ar y dyfodol gyda rhagolygon gogoneddus—a "digonolrwydd llawenydd yn ei aros ger bron Duw, ac ar ei ddeheulaw ddigrifwch yn dragywydd." A hyn oll fel ffrwyth cariad Crist. Ac oni raid ei fod yn anfeidrol. Codi y fath rai, trwy y fath fodd, i'r fath ogoniant. Cariad yn disgyn o'r orsedd at y condemniedig i'r carchar, ac yn codi y truan o'r carchar i'r orsedd. Cariad yn dwyn "yr hwn ac efe yn ffurf Duw i agwedd gwas," er codi pechadur oedd yn was i bechod yr "un ffurf a delw ei Fab ef." Cariad barodd i Fab Duw ymwaghau o'r mawredd priodol iddo fel person dwyfol, a dyfod i'r byd i fod heb le i roddi ei ben i lawr, fel y "cyflawnid ni â holl gyflawnder Duw!" Pwy a all ei amgyffred? Pa le y mae y meddwl all daflu ei linyn drosto? Ah! mae "uwchlaw gwybodaeth." Mae ei "fawredd yn anchwiliadwy." Cefnfor annherfynol ydyw; yr ydym yn ymgolli ynddo wrth geisio ei blymio:

"Dwr i'w noflo heb fyned trwyddo."

Nid oes ond aros yn synedig a dywedyd "O! ddyfnder!"

Ond er ei fod uwchlaw ei gynwys, nid yw uwchlaw ei deimlo—ac er ei fod "uwchlaw gwybodaeth," nid yw ei ddylan-

wad uwchlaw cael ei brofi. "A gwybod cariad Crist." "Canys y mae cariad Crist yn ein cymhell ni." Mae ei gariad ef er ei fod "uwchlaw gwybodaeth" wedi enill miloedd i ddywedyd o fodd eu calon, "yr ydym ni yn ei garu ef." Dywedai hen chwaer gynes ei chalon unwaith, pan ofynwyd iddi a oedd hi yn caru Iesu Grist, "Ydwyf," meddai hithau, "ac os oes rhyw fai am hyny, ei fai ef ydyw; oblegid efe ddechreuodd." Cariad Crist sydd yn enyn cariad y Cristion; mae yntau yn ymgolli mewn cariad ato, ac yn cyfrif pob peth yn golled er mwyn enill Crist. Tywallter ei gariad ef ar led yn ein calonau ni, fel trwy effeithiau ei gariad ef y caffer ni yn gymhwys i fyw byth gydag ef.

---

# PREGETH XVIII.

## YR EGLWYS MEWN GALAR.

ACTAU viii. 2.

"A gwyr bucheddol a ddygasant Stephan i'w gladdu; ac a wnaethant alar mawr am dano ef."

Mae enw Stephan yn sefyll yn uchel iawn ar lechres duwiolion y Beibl. Efe a enwir flaenaf ar gyfres y Diaconiaid cyntaf; a chyda'r crybwylliad a wneir am ei enw, mae yn hawdd deall fod rhyw hynodrwydd yn ei gymeriad. Efe hefyd oedd y merthyr cyntaf yn achos yr Efengyl. Ceir hanes ei ferthyrdod yn niwedd y benod o'r blaen. Cyfeirir yn y testyn at ei gladdedigaeth, a'r teimladau hiraethlon a galarus oedd ar ei ol, "A gwyr bucheddol,' &c. "Gwyr bucheddol

ol," neu "wyr defosiynol." Dynion diargyhoedd eu bywyd, a chrefyddol eu hysbryd. Gwr o'r un nodwedd oedd Cornelius. "A ddygasant Stephan i'w gladdu." Ystyrid gynt ac ystyrir eto, fod claddedigaeth barchus yn nod o anrhydedd. Un o'r pethau a fygythir fel barn ydyw: "a chladdedigaeth asyn y cleddir ef." "Llyfodd y cwn waed Jezebel ar balmant Jezreel." "Abiah yn unig o dŷ Jereboam a ddaw i'r bedd"—hyny ydyw a gleddir yn barchus. Dygwyd Stephan gan wyr bucheddol i'w gladdu, a "gwnaethant alar mawr am dano ef;" ac nid rhyfedd, yr oedd colled mawr ar ei ol ef. Mae medru claddu un heb alar mawr ar ei ol, yn ddigon i ddangos nad oedd ei ymadawiad yn golled fawr. Gellir barnu i raddau lled sicr wrth y teimladau fyddo yn angladd un, pa faint o werth oedd yn ei fywyd. Am Jehoram, un o frenhinoedd Judah, y dywedir, "Efe a ymadawodd heb hiraeth am dano." Mae marwolaeth cymeriadau felly yn ymwared i'r byd. Ar farwolaeth Abiah dywedir, "A holl Israel a alarant am dano ef." Ar farwolaeth Josiah, wedi ei gladdu yn meddrod ei dadau, dywedir, "A holl Judah a Jerusalem a alarasant am Josiah. Jeremiah hefyd alarnadodd am Josiah; a'r holl gantorion a'r cantoresau yn eu galarnadau a soniant am Josiah hyd heddyw." Felly hefyd yr oedd teimlad hiraethlawn ar ol Stephan, "ac a wnaethant alar mawr am dano." Dengys y testyn fod colli cymeriadau neillduol, yn achosi galar neillduol. Nid galar yn y cylch teuluol, ac oddiar deimlad perthynasol a olygir; ond dynion a'r fath neillduolrwydd yn eu cymeriadau y teimlir colled a hiraeth cyffredinol ar eu hol.

Mae Eglwys Dduw ar adegau mewn galar dwys; a'i "gwyneb yn fudr gan wylo;" oblegid colli "gwyr rhagorol yn mysg y brodyr." Mae y rhwygiadau a wnaed yn ddiweddar * gan angau yn ein gwlad wedi taflu prudd-der a thristwch dros ein heglwysi. Dringodd angau i'n ffenestri, a chymerodd ymaith rai o gewri y weinidogaeth; ac nis gallwn

* Traddodwyd y bregeth hon yn fuan wedi marwolaeth amryw weinidogion oedranus a dylanwadol yn y Dywysogaeth.

gyfeirio atynt heb deimlo galar mawr ; ac y mae yn briodol defnyddio eu hymadawiad yn gyfle i fawrhau eu ffydd, ac ystyried diwedd eu hymarweddiad hwy.

I. YMOFYNWN AM YR ELFENAU SYDD YN CYFANSODDI CYMERIAD Y DYN Y TEIMLIR GALAR MAWR WRTH EI GLADDU.

Cymerwn gymeriad Stephan fel eglurhad ar yr elfenau hyny, a gwelir mai nid heb achos yr oedd "galar mawr" ar ei ol.

1. *Gwybodaeth a chyfarwydd-deb yn ngwirioneddau yr efengyl.* Mae gwybodaeth yn elfen hanfodol i gyfansoddi cymeriad pwysig. Nis gall yr anwybodus fod yn ddyn defnyddiol, nac yn ddyn dylanwadol ; ond yn mhob cylch y mae gwybodaeth yn allu. Mae yn rhaid i'r gwladyddwr, cyn y daw ei ddylanwad i gael ei deimlo yn bwysig yn y senedd, fyfyrio cyfreithiau y wlad, gwneyd ei hunan yn hyddysg yn hanes y deyrnas, ystorio ei feddwl â digonedd o ffeithiau parod at ei wasanaeth am weithrediadau gwladlywyddion enwog gynt, ac amgyffred yn glir gysylltiad ei wlad ei hun â gwledydd ereill, yna gwrandewir arno fel un âg awdurdod ganddo, a derbynir ei farn fel llais oracl. Pair gwybodaeth i bwysau dyn gael ei deimlo. Mewn crefydd ynte, y mae hyn yn hanfodol, "Gwybod yr Ysgrythyr Lân." "Bod y galon wedi ei chryfhau â gras." "Bod yn gadarn yn yr Ysgrythyrau." "Myfyrio yn y pethau hyn, ac yn y pethau hyn aros." "Yn gadarn yn y ffydd," fel na "chylch-arweinir hwy gan bob awel dysgeidiaeth." Dylai fod gan bob Cristion yn barod, reswm i'w roddi dros y golygiadau a greda, a'r ordinhadau a ymarfera. Yn hyn yr oedd Stephan yn enwog. Rhydd yn ei amddiffyniad, ger bron y cynghor dalfyriad o hanes y genedl, y cyfnodau mwyaf pwysig a fu arni, y dynion nodedig gyfodwyd gan Dduw mewn gwahanol adegau, o ymddangosiad yr Arglwydd i Abraham yn Mesopotamia, a'i alwad allan o'i wlad, heibio i'r patrieirch Isaac a Jacob trwy ganol newyn Canaan, a'r oruwchreolaeth oedd gan ragluniaeth dros werthiant Joseph i "gadw yn fyw bobl lawer," ymfudiad teulu Jacob i'r Aipht

yn bymtheg enaid a thriugain, yr ormes greulawn a ddyoddefasant pan y cyfododd brenhin arall, yr hwn nid adwaenai mo Joseph ; genedigaeth Moses, yr helbulon yr aeth drwyddynt er ei gymhwyso i'r gwaith oedd gan yr Arglwydd iddo o " roddi iachawdwriaeth i'w frodyr trwy ei law ef," y cyfryngiadau rhyfeddol a wnaeth yr Arglwydd trwyddo erddynt yn yr Aipht, yn y Môr Coch, ac yn yr anialwch, ymlygriad ysgeler y genedl yn wyneb yr amlygiadau mawrion *roddodd* Duw o'i allu a'i ddaioni,—eu dygiad diogel i Wlad yr Addewid er eu holl wrthryfelgarwch,—rhoddiad Dafydd iddynt yn frenhin, ac adeiladiad y deml gan Solomon ei fab *heibio y* cyflafanau ofnadwy a gyflawnasant ar y proffwydi, y rhai oedd yn rhagfynegi dyfodiad y Cyfiawn, i'r hwn y buont hwy fradwyr a llofruddion. Yr oedd dyn fel yna yn gymeriad pwysig yn ei oes. Yn oracl ei wlad, ac nis gallesid ei golli heb deimlo galar mawr.

2. *Gwroldeb a diysgogrwydd yn ei egwyddorion.* Mae dyn o egwyddorion sefydlog, uwchlaw cael ei lywodraethu gan amgylchiadau,—yn gymeriad nas ceir ef ond anaml iawn yn y byd " Gŵr dau ddyblyg ei feddwl sydd anwastad yn ei holl ffyrdd." Dyn heb *boint* i'w fywyd. Ac er y gesyd weithiau nôd o'i flaen, eto nid oes ganddo egwyddorion sefydlog yn ei reoli, ysgydwir ef gan amgylchiadau, ac y mae " fel tón y môr, yr hon a deflir ac a chwelir gan y gwynt." Mae genym ddosbarth o feddyliau fel cwyr, yn derbyn argraff oddiwrth bob peth, ond heb allu gosod argraff ar ddim. Gellir yn hawdd eu toddi i unrhyw ffurf, ac arosant yn y ffurf hono nes y cyfarfyddir â hwy gan ryw ddylanwad arall, ac yna ni feiddiant wahaniaethu. Ymddengys allan o'u cyrhaedd i allu sefyll wrthynt eu hunain, a meddu golygiad sefydlog ar *unrhyw* beth. Maent yn *set* o gaethion meddyliol ; yn mhell islaw y dyn o un drychfeddwl, os bydd yr un hwnw yn eiddo iddo ei hun. Ond y mae annibyniaeth meddwl, a diysgogrwydd i'w egwyddorion, yn elfenau uchaf gwir fawredd. Mae yn gwneyd anhawsderau yn risiau i esgyn i fyny. Mae yn ymwybodol o

allu mewnol fel y mae yn ymgodi yn ngwyneb gwrthwynebiadau. Nid yw rhwystrau iddo ef yn ddim ond annogaethau. Nid oes arswyd arno sefyll yn unig ; ond gall feiddio gwahaniaethu oddiwrth eraill. Llywodraethir ef gan egwyddorion, ac nid gan boblogrwydd,—gan wirionedd ac nid gan ffafriaeth —gan gydwybod, ac nid gan farn y cyhoedd. Mae gwawd a dirmyg yn syrthio yn ddiystyr wrth ei draed, gesyd ei wyneb fel callestr yn erbyn tybiau hygoelus y byd, a rhwyfa yn erbyn tônau golygiadau y lluaws. Mae ei wroldeb a'i sefydlogrwydd y fath fel yr enilla hyder eraill i ymddiried ynddo fel arweinydd. Mae ei holl ysgogiadau yn hyf a diofn, a'i gamrau yn cael eu rhoddi fel un yn teimlo fod craig dan ei draed. Un felly oedd Stephan. Wedi iddo yn ei amddiffyniad ddyfod hyd at adeiladiad y deml gan Solomon, ac ymddengys eu bod yn cael eu boddhau yn ei araeth ;—ond cymerodd fantais y cyfle i draethu iddynt wirionedd hollol annerbyniol ganddynt, sef ysbrydolrwydd addoliad, "Nad yw y Goruchaf yn trigo mewn temlau o waith dwylaw." Rhuthrodd i ddanedd eu hen olygiadau o gysegroldeb lleoedd, ac mai "Jerusalem oedd y man lle yr oedd yn rhaid addoli." Dechreuasant ar hyny aflonyddu—mae ffyrnigrwydd cythreulig yn eu llygaid—maent yn ymderfysgu, fel y mae yn gweled yn nghyffro eu gwynebau eu bod ar ymosod arno. Beth a wna? a'i gostwng tôn ei weinidogaeth? a'i lliniaru ei genadwri er gostegu y cythrwfl? Nage, nid felly ; ond gan adael yr olrheiniad hanesyddol, mae yn disgyn arnynt yn bersonol gyda'r llymdoster mwyaf, "Chwi rai gwargaled, a dienwaededig o galon ac o glustiau, yr ydych chwi yn wastad yn gwrthwynebu yr Ysbryd Glan ; megis eich tadau, felly chwithau. Pa un o'r proffwydi ni ddarfu eich tadau chwi ei erlid? a hwy a laddasant y rhai oedd yn rhagfynegi dyfodiad y Cyfiawn, i'r hwn yr awr hono y buoch chwi fradwyr a llofruddion." Yr oedd y gwirionedd yn bwysicach ganddo na'i fywyd ; ac nid ofn dyn a allasai ei luddias i'w draethu. Yr oedd colli y fath un yn wir achos galar.

3. *Hunan-feddiant ac ymbwylledd yn ngwyneb gwrthwynebiadau.* Arwydd o wendid meddyliol ydyw ymgolli ac ymwyllti o dan groesau. Un o gynghorion yr Arglwydd Iesu Grist, wedi rhagfynegi i'w ddysgyblion yr ystormydd a'u cyfarfyddai, oedd "Yn eich amynedd meddienwch eich eneidiau." Yr oedd ef ei hunan felly,—yr engraifft berffeithiaf o hunan feddiant a welodd y byd erioed. Pan y gofynid cwestiynau dyrus iddo er ei rwydo—pan y pentyrid gwawd a *dirmyg* ar ei gymeriad—pan y derbynini angharedigrwydd oddiar law y rhai y dangosodd-tuag atynt gymwynasgarwch—pan yn yr amgylchiadau hyny y mae dynion yn gyffredin yn *ymgolli* ac yn cynddeiriogi, meddianodd ei hun mewn perffaith dawelwch —actiodd yn ddynol ar bob amgylchiad. Pan oedd Joseph a'i fam yn ofidus yn ei geisio wedi yr aeth ar goll yn fachgen deuddeg mlwydd oed, a phan y cawsant ef yn nghanol y doctoriaid, ac wedi gofyn yn bryderus paham y gwnaeth felly, mor hunan-feddianol y mae yn ateb, "Paham y ceisiwch fi, oni wyddoch chwi fod yn rhaid i mi fod yn nghylch y pethau a berthynant i'm Tad?" Pan y dywedwyd wrtho am ffoi, oblegid fod cynllwyn gan Herod i'w ladd, mor ddigynwrf yr atebodd,—"Ewch a dywedwch i'r cadnaw hwnw, Wele yr wyf yn bwrw allan gythreuliaid, ac yn iachau heddyw ac yfory, a'r trydydd dydd ym perffeithir." Pan y dygid yr holl gyhuddiadau celwyddog yn ei erbyn ar ei brawf, "nid atebodd efe dd m." Yr oedd ei hunan-feddiant fel craig yn nghanol yr afon yn sefyll yn ddiysgog pan y mae y gwyntoedd ystormus yn cynhyrfu y tonau ewynog i guro mewn llidiawgrwydd nes ymddryllio ar ei danedd. Un o neillduolion meddwl mawr, ydyw gallu edrych i lawr yn ddigyffro ar holl ystormydd gwrthwynebiadau y byd fel eryr wedi esgyn uwchlaw y cymylau ac edrych i lawr ar yr awyrgylch wedi ei llenwi a niwl a thywyllwch. Un felly oedd Stephan. Mae yn ymwybodol fod calonau y dorf yn llawn hyd yr ymylau o gynddaredd. Mae eu llygaid yn melltenu gan lid, eu gwynebau yn amliwio gan natur ddrwg, ysgyrnygant eu danedd dan ias au o ddigof-

ıt, gosodant eu bysedd yn eu clustiau rhag clywed pethau ɔr annerbyniol; gwaeddant â llef uchel i'w ddrysu, ac i beri chlywer ei eiriau. O'r diwedd, heb allu ymatal yn hwy, ıe llifeiriant eu dialedd wedi croni mor aruthrol nes rhwygo argenau oll,—a "rhuthrasant yn unfryd arno." Ond yn hanol y pangfeydd cynddeiriog yna, mor hunan-feddianol oedd Stephan ; mor bwyllus yr edrychai, "Ac efe yn gyfwn o'r Ysbryd Glan a edrychodd yn ddyfal tua'r nef." Seflodd ei lygaid uwchlaw y byd yma ; fel un yn gwybod nas llasai ei elynion wneyd niwed iddo.

4. *Duwiolfrydedd meddwl, a maddeugarwch ysbryd.* yma elfenau gloewaf ac uchaf crefydd. Nid yn unig y ddiant o grefydd, ond y naws dduwiolfrydig hono arni, sydd cario argyhoeddiad i'r meddwl ei bod o radd uchel iawn. n peth ydyw bod yn dduwiol, peth arall ydyw bod yn dduwfrydig. Un peth ydyw bod mewn cyflwr cyfiawnhâol ger on Duw, peth arall ydyw fod y grefydd hono wedi cyrhaedd fath lywodraeth ar ei pherchenog nes dwyseiddio ei deimlad, ìistroli ei dueddiadau, dysgu iddo ddyledswyddau anhawdd ɜfydd, cymeryd meddiant o holl alluoedd yr enaid, a darosng y dyn mor llwyr dan ei hawdurdod nes y byddo ei fywyd ymarweddiad yn gorfforiad byw o grefydd ger bron y byd. ae tanbeidrwydd ac angerddoldeb crefydd oddifewn yn cario graff ar y dyn oddiallan. Enaid yn byw mewn cymundeb os â Duw, gwelir hyny yn nelweddau ei wyneb. Sonir ìithiau gyda diystyrwch am ddynion "a'u penau mawr a'u ynebau sanctaidd." Nid oes dim yn fwy dirmygedig na chalon han, oer, yn cario pen mawr yn plygu fel brwynen,—a gwyneb g-sancteiddiol yn cuddio calon ragrithiol. Ond y mae hyny yn fodi oddiar fod yr ystum a'r ffurf yn cael eu cadw pan y ıe yr ysbryd wedi ei golli. Argyhoeddiad dwfn o bechod, niad goruchel am sancteiddrwydd a chymdeithas agos a'r rglwydd, osododd yr argraff yna ar benau a gwynebau ein lau. Darllenid duwiolfrydedd eu calonau yn nelweddau eu ynebau. Yr oedd Moses wedi bod gyda Duw yn derbyn

y gyfraith, ac yr oedd tanbeidrwydd gorddysglaer y gymdeithas wedi ei hargraffu ar wyneb Moses yn y fath fodd fel na allai plant Israel edrych arno gan fawredd y gogoniant,—a gwelwyd llawer Cristion, wedi bod fel Jacob mewn ymdrech gyda Duw, yn dyfod allan o'i ystafell a'i wyneb yn dysgleirio fel wyneb angel. Yr oedd Stephan felly. "Gwr llawn o ffydd ac o'r ysbryd Glan" ydoedd yn yr hanes cyntaf a gawn am dano. Yr oedd ei dduwioldeb o radd uchel. *Yn ei ymddangosiad* cyhoeddus cyntaf, yr oedd rhyw neillduolrwydd yn "y doethineb a'r Ysbryd trwy yr hwn yr oedd yn llefaru," fel "na allent ei wrthwynebu." Yr oedd y doethineb a ddangosai y fath na allent ddymchwel ei brofion, a'i ysbryd yn gyfryw ag oedd yn cario dylanwad drostynt yn anymwybodol iddynt. Yr oedd "yn gyflawn o'r Ysbryd *Glan*." "Ac yr oedd y rhai a eisteddent yn y cyngor yn dal sylw arno, a hwy a welent ei wyneb ef fel wyneb angel." Y fath ddifrifwch sanctaidd,—y fath ddiniweidrwydd pur,—y fath sancteiddrwydd angylaidd,—y fath hynawsedd perffaith,—a'r fath hunan-feddiant diofn—oedd yn argraffedig ar ei wynebpryd, fel nas gallesid ei gydmaru i ddim ond i wyneb angel. Ac yn ei ingoedd diweddaf galwai ar Dduw, cyflwynai ei ysbryd i'r Arglwydd Iesu, ac anadlodd weddi ato dros ei lofruddwyr cyn trengu, "Arglwydd, na ddod y pechod hwn yn eu herbyn." Nid oes genym engraifft o'r fath ysbryd ond yn yr Arglwydd Iesu Grist; ac yr oedd y dysgybl hwn wedi yfed yn helaeth o ysbryd ei Feistr. Melldithiodd Dafydd ei elynion gyda'i anadl ddiweddaf, a thynghedai Solomon ei fab i ddial ar Joab a Simei. Ond plygodd Stephan ar ei liniau, pan oedd y ceryg yn disgyn arno, a llefodd â llef uchel, fel y clywid ef, er twrf disgyniad y ceryg, yn dywedyd, "Arglwydd na ddod y pechod hwn yn eu herbyn. Mae ei holl hanes yn dangos duwiolfrydedd ei ysbryd, a maddeugarwch ei dymer.

5. *Ffyddlondeb hyd angeu i argyhoeddiad ei feddwl.* Diffyg mawr llawer o ddynion ydyw nas gellir argraffu yn ddwfn ar eu meddyliau. Egwein yw eu hargyhoeddiadau.

Nis gallant deimlo yn ddwys dros unrhyw beth. Er y gellir eu cael i gyd-ddweyd âg agos bob peth, eto nis gellir eu cael i deimlo zel dros unrhyw beth. Maent yn oer, gwan, anwadal a llaith. Nis gall cymeriadau o'r fath wneyd eu hol ar y byd. Nid oes un egwyddor mor bwysig yn en golwg ag yr ânt i anfantais er ei mwyn. Nid oes yr un gwirionedd ag y cysylltant âg ef y fath ganlyniad fel y cyhoeddant ef beth bynag fyddo y perygl. Canmolant egwyddorion, a dilynant y gwirionedd, tra na byddo unrhyw aberth yn cael ei ofyn, nac unrhyw berygl yn ei fygwth, nac unrhyw groes i'w chodi, nac unrhyw ddyoddefaint yn canlyn; ac os gwelant fod, ciliant yn eu hol "heb rodio mwyach gyda'r Iesu." Maent yn hollol amddifaid o'r elfenau angenrheidiol i "wrthwynebu hyd at waed, gan ymdrech yn erbyn pechod," i fyned "i garchar ac angeu" cyn gwadu y ffydd, i fod "yn barod fel Paul, nid i'w rwymo yn unig, ond i farw yn Jerusalem er mwyn enw yr Arglwydd Iesu," ac fel Pedr ac Ioan i "fyned allan o olwg y cynghor yn llawen, am eu cyfrif yn deilwng i ddyoddef anmharch o achos ei enw ef." Dyma y dynion sydd wedi ysgwyd y byd, wedi gosod eu hargraff ar eu hoes, a chodi iddynt eu hunain feini coffadwriaeth a ol-fodolant ddinystriad anian. Dynion y mae defnyddioldeb yn bwysicach yn eu golwg na phoblogrwydd, "llesad llaweroedd" o fwy gwerth yn eu golwg na'u mwyniant personol, cydwybod a gwirionedd yn rhy uchel yn eu golwg i gymeryd arbediad eu bywydau yn gyfnewid am danynt Dynion ddilyna argyhoeddiad eu cydwybodau trwy y ffwrn a'r ffau, trwy garchar ac angeu, trwy dân a ffagodau, trwy arteithglwydi ac ystanciau. Un felly oedd Stephan. Ymlynodd wrth ei grefydd yn angeu Amddiffynodd hi wrth fyw, a bu farw yn aberth iddi,—"bwriasant ef allan o'r ddinas, ac a'i llabyddiasant." Ni siglodd ei ffydd, ni wanychodd ei hyder hyd yn oed dan y gawod geryg,—"Efe a welodd y nef yn agored." Cauodd y ddaear arno, gwasgwyd ef allan o honi, ond "Efe a welodd y nef yn agored;" a "chan weled Mab y dyn yn eistedd ar ddeheulaw Duw," gweddiodd arno

gyda'i anadl ddiweddaf, "Arglwydd Iesu, derbyn fy ysbryd." Dyma ffyddlondeb hyd farw i argyhoeddiad ei feddwl. Ac y mae eglwys Dduw mewn gwahanol oesau wedi ei bendithio â dynion o gyffelyb ysbryd. Ffyddlondeb i argyhoeddiad ei feddwl barodd i Paul wneyd aberth o'i holl obeithion am ddyrchafiad yn y grefydd Iuddewig; a "chyfrif y cwbl yn dom a cholled" er mwyn "ennill Crist." Ffyddlondeb i argyhoeddiad ei feddwl barodd i Martin Luther, wedi i oleuni dwyfol dywynu ar ei enaid wrth hen Feibl gafodd yn llyfrgell hen fynachdy Exfurt, fyned allan i'r byd gan bregethu hen athrawiaeth fendigedig cyfiawnhad trwy ffydd, a thaflu pelenau poethion gwirionedd nes llosgi nenadd y dyn pechod, ac er y bygythient yr un dynged iddo ef ac a fu i John Huss o'i flaen; ond meddai yn newrder ei enaid, "Pe cyneuant dân a gyrhaeddai o Worms i Witemberg, ac a ymestynai hyd y nefoedd yn enw yr Arglwydd myfi a awn trwyddo" Ffyddlondeb i argyhoeddiad ei gydwybod barodd i'r gwrolfrydig John Rogers, y merthyr cyntaf yn nheyrnasiad Mari, er fod ganddo wraig hynaws a deg o blant anwyl, ac y teimlai tuag atynt y serch gwresocaf, eto nis gallasai wadu ei Brynwr er mwyn ei wraig a'i blant; am hyny esgynodd i'r nefoedd trwy ganol ymddyrchiad y colofnau tân. Ffyddlondeb i argyhoeddiad ei gydwybod barodd i'r Cymro gwladgarol John Penry gymeryd ei grogi yn St. Thomas Watering yn hytrach na gwadu ei egwyddorion, a rhoddi i fynu ei amcanion i efengyleiddio ei genedl yn ol y cnawd; er ei fod yn gadael ar ei ol wraig yn weddw, a phedair o ferched yn amddifaid, yr hynaf yn bedair blwydd, a'r ieuangaf yn bedwar mis oed. Ffyddlondeb i argyhoeddiadau eu meddwl barodd i'r ddwy fil anghydffurfwyr droi allan o'r Eglwys Sefydledig, gan aduel eu meddianau a'u bywiolaethau, oddiar ystyriaeth gydwybodol mai "Rhaid yw ufuddhau i Dduw yn fwy nag i ddynion." Ffyddlondeb i argyhoeddiad ei feddwl a barodd i John Bunyan oddef yn dawel yn ngharchar Bedford am ddeuddeg mlynedd. Ymwelid ag ef yno gan ei wraig a'i ferch fechan ddall, ond er cymaint oedd

ei gariad atynt nis gallai wadu ei grefydd er mwyn ei ryddid. Gallesid cyfeirio at lu mawr yn ychwaneg o ddynion nad oedd yn byd yn deilwng o honynt; a gymerasant eu hysbeilio yn llawen o'r hyn oedd ganddynt, gan wybod fod ganddynt iddynt eu hunain olud gwell yn y nef, ac un parhaus. Dyma y cymeriadau y mae eu claddu yn golled i'r byd; a merched Jerusalem yn wylo ar eu hol. Llanwer pwlpudau, ac eglwysi Cymru a dynion o'r fath nodwedd.

II. Ymofynwn paham y mae colli y cymeriadau hyn yn achosi y fath alar? "*ac a wnaethant alar mawr am dano ef.*"

1. *Oblegid mai dyma y cymeriadau sydd o wir werth i'r byd.* Mae dosbarth lluosog o ddynion yn felldith i'r byd. Maent fel y pren Upas yn diferu marwolaeth ar bob peth a ddaw yn agos atynt. Llygrant bwy bynag ddelo i gyffyrddiad a hwy. Olynwyr Jeroboam ydynt, yn dysgu i eraill bechu. Ac y mae un cymeriad annuwiol felly mewn ardal yn dinystrio llawer o ddaioni. Mae dosbarth mawr arall yn ddiddefnydd hollol i gymdeithas. Er nad ydynt yn euog o ddrygau cyhoeddus i beri i'w hesiamplau lygru y byd; eto y maent yn gwbl amddifaid o bob rhinwedd cadarnhaol. "Peidio gwneuthur drwg," ydyw eu synied uchaf am rinwedd;—y maent erioed heb ddychymygu am "ddysgu gwneuthur daioni." Pe cleddid hwy oll yr un dydd, ychydig iawn o'u heisiau welid yn y byd. Hwyrach y teimlid yn eu cylchoedd teuluol dros ychydig wedi eu colli; ond ni byddai y cwbl ond fel taflu careg i lyn tawel, llonyddai y tonau yn fuan. Mae dosbarth pwysig arall yn gwasanaethu y byd yn dymhorol a chymdeithasol. Teilyngant barch am eu hymdrechion canmoladwy dros eangiad masnach—cynydd gwareiddiad—gwelliant celfyddyd—helaethiad rhyddid—lledaeniad addysg—a diwygiad moesau. Cymwynaswyr eu gwlad, eu hoes, a'u holoeswyr, ydyw y dyngarwyr haelfrydig, a gysegrant eu talentau, a'u meddianau i'r fath amcanion gwerthfawr; ac nis gellir eu claddu heb deimlo fod eu colli yn golled i'r byd. Ond y cymeriadau sydd o wir werth i'r byd ydyw, y rhai sydd yn cysegru eu hunain i

achos daioni ysbrydol dynoliaeth. Dyma halen y ddaear. Yr oedd un Lot gyfiawn yn werth llonaid tref o Sodomiaid anniwair Yr oedd un Noah dduwiol o fwy gwerth na llonaid byd o ddynion llygredig. Yr oedd un Ioan Fedyddiwr, yn werth llonaid gwlad o Ysgrifenyddion a Phariseaid, oedd fel locustiaid yn difa y wlad. Ni byddai yn werth gan Dduw gynnu haul i roddi golen i'r byd, oni bai fod yma ryw rai yn "gwasanaethu eu cenedlaeth yn ol ewyllys Duw" dan ei dywyniadau. Gadael ei bobl yn y byd i wneyd y byd yn well y mae Duw; a phan gasgla ei eiddo i gyd oddiar yr hen ddaear yma, rhoddir hi i dan y farn ddiweddaf Pa ryfedd fod eu colli o'r byd yn peri y fath alar.

2. *Oblegid fod y fath gymeriadau yn brin yn y byd.* Nid all dyn tlawd ddim fforddio colli arian, nid oes ganddo ond ychydig o honynt. Rhaid i ddyn gwan ofalu am ei iechyd, oblegid y mae y peth lleiaf yn effeithio arno. Felly hefyd rhaid i'r byd fod yn ofalus iawn am yr ychydig ffyddloniaid sydd ynddo. Nid yw dynion da iawn ddim mor lluosog yn y byd fel y gallwn oddef eu colli heb alaru ar eu hol. Mae y byd yn llawn trigolion. Ni bu yn fwy felly er pan y mae dyn yndde; ond "y mae gweithwyr yn anaml." Nid yn unig yr oeddynt felly yn nyddiau ein Hiachawdwr, ond y maent felly yn y dyddiau hyn. Ac nid yn unig y maent yn anaml mewn cydmariaeth i fawredd y gwaith; ond y maent felly mewn cydmariaeth i nifer proffeswyr crefydd. Gofynodd Solomon "Pwy a fedr gael gwraig *rinweddol?*" Y gair diweddaf ynddo sydd yn gwneyd y gofyniad yn un anhawdd. Gofynaf finau, Pwy a fedr gael proffeswr gweithgar? Mae genym lonaid gwlad o broffeswyr; ond "y mae y *gweithwyr yn anaml.*" Gwirionedd a gadarnheir gan holl hanes yr Eglwys o'r dechreuad ydyw; mai ychydig o ddynion yn mhob oes sydd yn gweithio gyda chrefydd; ac am yr holl ddaioni sydd yn cael ei wneyd, ei fod yn cael ei wneyd gan ychydig bersonau; ac "oni buasai i'r Arglwydd adael i ni ychydig iawn o weddill, fel Sodoma y buasem, a chyffelyb fuasem i Gomorah." A phan

y mae cymeriadau felly yn cwympo i angau, nid rhyfedd fod calon cymdeithas yn rhwygo gan hiraeth. Yr oedd calon Elisens yn glwyfus wedi deall fod Elias i gael ei gymeryd oddiwrtho; a phan y gwelodd ef yn esgyn, mae yn gwaeddi yn synedig, "Fy nhad! Fy nhad! cerbyd Israel a'i farchogion!" Ac yr oedd colli un Elias yn golled fawr yn yr oes hono. Cymerodd dysgyblion Ioan gorff eu hathraw, a chladdasant ef; ac yn eu tristwch a'u hiraeth, aethant a dywedasant i'r Iesu. Ac yr oedd galar mawr am Stephan oblegid "yr oedd efe yn ŵr da, ac yn llawn o ffydd ac o'r Ysbryd Glan." Cynhyrfwyd galar trwy Gymru oll pan fu farw yr anfarwol Williams o'r Wern, oblegid fod "tywysog a gŵr mawr yn Israel wedi syrthio." Aeth y saeth at galon y genedl pan gyrhaeddodd y newydd fod yr areithiwr hyawdl John Elias yn ei fedd,—oblegid fod un o'r cedyrn wedi cwympo. Ymdaenodd prudd-der trwy y wlad oll pan ddeallwyd fod yr hyglod Christmas Evans wedi disgyn i'r bedd. Teimlodd miloedd fod un o wroniaid gwrolaf y fyddin wedi syrthio pan fu farw yr hybarch D. Morgan, Llanfyllin. Bydd yr ieuangaf sydd yn fyw yn isel yn y bedd yn mhell cyn yr anghofia Cymru yr hen bregethwr scraffaidd John Jones, Talysarn. Ac y mae eraill nas gallwn eu nodi yma, y mae crybwyll eu henwau yn cyffroi hiraeth mewn miloedd o galonau. Dynion fel y dywedodd y Bardd am un o honynt.

"Pe bai tywallt dagrau 'n tycio, er cael eilwaith wel'd eu gwedd;
Ni chaent aros, gallaf dystio, haner munyd yn y bedd;
Deuai 'r holl Eglwysi i wylo, a gollyngent yn y fan,
Ffrwd ddigonol i eu nofio, o waelodion bedd i'r lan."

Prin yw y fath gymeriadau yn y byd; pa ryfedd ynte fod galar mawr pan y collir hwy.

3. *Oblegid yr amddifadrwydd mawr deimla y rhai sydd ar ol wedi colli y fath gydlafurwyr.* Mae colli cyfeillion yn dwyn gydag ef ryw deimlad o unigedd; ac yn enwedig wedi colli y rhai yr arferem edrych i fyny atynt yr ydym yn teimlo fel plant amddifaid. Pan y mae cadlywydd medrus

yn syrthio ar faes y rhyfel y mae milwyr cyffredin yn dueddol i ddigaloni. Pan y mae y Cadben cyfarwydd yn cael ei ysgubo dros y bwrdd yn yr ystorm, y mae y dwylaw oll yn llesgau ac yn ymollwng. Pan y mae y tad gofalus yn cael ei gymeryd ymaith â dyrnod, y mae y plant oll o r hynaf i'r ieuangaf yn teimlo yr amddifadrwydd; oblegid fel y dywedai un "y mae rhyw noddfa yn yr enw tad." Felly hefyd y mae eglwys Dduw ar lawer adeg yn wylo yn hidl uwch ben bedd llawer "gwr Duw,"—gan ddyweyd "O! fy mrawd!" Ac y mae y teimlad yma yn myned yn mhellach na chylch ein hadnabyddiaeth a'n cyfeillgarwch personol. Dywedai un gwr enwog sydd yn fyw wrth gyfeirio at ymadawiad un o gewri y pwlpud yn Nghymru. "Nid mynych" meddai "*y byddwn* i yn cyfarfod a'r brawd ymadawedig, ychydig yn wir o'i *gyfeillach* a gefais erioed; ond yr oedd yn un o'r dynion hyny y byddai yn dda genyf bob amser feddwl ei fod yn y byd." Ac y mae rhyw ddynion, mae yn hyfryd meddwl eu bod yn y byd; a gellir bod yn sicr am danynt eu bod yn rhywle yn gwneyd rhyw ddaioni. Ond wedi eu marw yr ydym yn gorfod teimlo ein bod hebddynt a'u "lle yn wag." Heb eu cynghorion doeth—eu gweddiau taer—eu hesiamplau cywir—a'u pregethau grymus. A hebddynt am byth ar y ddaear. Rhaid eu gadael oll yn y bedd; ac wrth droi cefn ar bob un, ddywedyd, "Ni ddychwel efe mwy i w dŷ, a'i le nid edwyn ddim o hono ef mwy." Mae yr unigrwydd yn peri galar mawr.

4. *Oblegid yr amgylchiadau trwy ba rai y cymerir hwy ymaith.* Mae hyny weithiau yn ychwanegu y galar. Felly yr oedd yn amgylchiadau Stephan. Bu farw yn ferthyr. "Rhuthrasant yn unfryd arno; ac a'i bwriasant allan o'r ddinas, ac a'i llabyddiasant. A hwy a labyddiasant Stephan, ac efe yn galw ar Dduw." Yr oedd ei golli trwy y fath ddull yn mwyhau eu galar. Nid yw angau ond ymwelwr pur ddiroesaw yn mha wedd bynag y daw. Gelyn ein natur ni ydyw yn mhob ffurf arno; ond daw weithiau er hyny, mewn dull mwy brawychus a dirdynol i natur; a than amgylchiadau

sydd yn ein gwneyd yn fwy anaddfed i'w gyfarfod; ac y mae hyny yn peri fod y galar yn fwy. Mae hir nychdod yn ein paratoi i ollwng ein gafael o'n cyfeillion; ond os cymerir hwy ymaith yn ddisymwth, cyffroir "galar mawr." Ymdaenodd prudd-der trwy Liverpool oll pan ddaeth y newydd trwm fod yr anwyl ddyn Thomas Spencer wedi boddi! Yr oedd colli gweinidog ieuanc mor dalentog, yn nghanol ei boblogrwydd yn golled fawr; ond yr oedd ei golli yn y dull, a than yr amgylchiadau y collwyd ef yn dyfnhau y galar am dano. Yr oedd colli John Williams y Cenhadwr yn golled mor drom fel nas gallasai yr Eglwys Gristionogol oll lai na'i theimlo. Ni bu yr un dyn yn fwy cysegredig i waith ei Arglwydd er dyddiau Paul. Ond, y newydd trist iddo farw trwy ddwylaw ei lofruddion ar draeth Erromanga roddodd glwyf i'r galon. Llanwyd Scotland a Lloegr a thristwch pan gyrhaeddodd y newydd fod Dr. Chalmers wedi myned i'r gwely fel arferol, a'i gael yn gorff marw yn y boreu. Anhawdd ein cael i gymodi ag angau yn un wedd arno; ond y mae colli dynion da, yn nghanol eu defnyddioldeb, trwy oruchwyliaethau chwerwon yn rhwym o beri "galar mawr." Gallem o ran ein teimladau yn fynych aralleirio galarnad Dafydd am Saul a Jonathan, a'i chymhwyso at lawer o gedyrn Cymru, a archollwyd ar eu huchelfaoedd; a gofyn, "Pa fodd y cwympodd y cedyrn yn nghanol y rhyfel?"

Ond yn nghanol ein colledion dylem gymedroli ein galar. "A'r rhai a wylant, megis heb wylo." Os rhaid i natur wylo, gadewch i grefydd, sychu y dagrau. "Na thristaoch megis eraill y rhai nid oes ganddynt obaith." Ac os ydyw y gweision yn cael eu symud, y mae y meistr yn aros. "Iesu Grist ddoe a heddyw, yr un, ac yn dragywydd." Os yw y ser yn machludo, y mae yr haul yn aros. Os yw aberoedd yn sychu, y mae y môr yn llawn. Ac y mae wedi myned trwy angau yn dywedyd, "Wele yr wyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd."

Mae colli ffyddloniaid yn galw yn uchel ar Eglwys Dduw i

weddio am i'r Arglwydd godi rhyw rai i lenwi y bylchau wneir gan angau "Atolygwch ar Arglwydd y cynhauaf, ir anfon gweithwyr i'w gynhauaf." O! cyfoded yr Arglwydd ddynion cymwys wedi eu "gwisgo a nerth o'r uchelder" i gyfarfod angen y byd yn y dyddiau hyn.

Mae un cymhwysiad y dymunwn ei adael gyda phob un yn bersonol. *A ydym ni yn ddynion a'r fath hynodrwydd yn ein cymeriad, fel y teimla Eglwys Dduw golled ar ein hol?* A oes rhyw le yn cael ei lanw genym, fel y teimlid ei fod yn wag wedi ein myned? A welai yr Ysgol Sabbothol—y cyfarfod gweddi—y gyfeillach grefyddol—neu ryw ran o waith crefydd ein heisiau. Ah! mae miloedd yn marw, a'u "coffa hwy a anghofiwyd." "Hwy a ebargofiwyd yn y ddinas lle y gwnaethant felly." "Enw y drygionus a bydra." Ond "coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig." "Y cyfiawn fydd byth mewn coffadwriaeth." Bywyd o ymroddiad i grefydd a berarogla ein coffadwriaeth. Yr Arglwydd a'n gwnelo y cyfryw ddynion. Amen.

---

# PREGETH XIX.

## ERFYNIAD Y WEINIDOGAETH.

1 THESSALONIAID V. 25.

"O frodyr gweddiwch drosom!"

Cyfarchiad serchiadol o eiddo yr apostol at ei frodyr am ran yn eu gweddiau yw y testyn. A'r hyn a ddymunai iddo ei hun, a ddymunai hefyd i'w holl frodyr sanctaidd. Mae swn difrifwch a theimlad yn y geiriau "O! frodyr, gweddiwch drosom." A byddai yr apostol yn fynych yn galw am help

gweddiau y saint. "Gweddiwch drosom ni, canys yr ydym yn credu fod genym gydwybod dda, gan ewyllysio byw yn onest yn mhob peth." Teimlai er ei holl gymwysderau fod yn rhaid iddo wrth eu gweddiau hwy. Nid dros y weinidogaeth yn gyffredinol y dymunai eu gweddiau, ond dros Weinidogion yn neillduol; a throsto ei hun yn bersonol. "Gan weddio bob amser a phob rhyw weddi a deisyfiad yn yr Ysbryd, a bod yn wyliadwrus at hyn yma, trwy bob dyfal-bara, a deisyfiad dros yr holl saint; a *throsof finau.*" Nid digon ganddo oedd cael ei gynwys yn yr holl saint; ond yr oedd am iddynt weddio yn neillduol drosto ef yn bersonol "a *throsof finau hefyd.*" Ond drosto yn ei swydd, cofier, oblegid pwysigrwydd ei waith a barai ei fod yn gofyn rhan mor arbenig yn eu gweddiau. Mae drwy ei epistolau yn dymuno eu gweddiau drosto am bedwar peth yn neillduol.

*Am i'w ddeall gael ei oleuo yn ngwirioneddau mawrion yr efengyl.* "Gan weddio hefyd drosom ninau, ar i Dduw agor i ni ddrws ymadrodd, i adrodd dirgelwch Crist; am yr hwn yr ydwyf hefyd mewn rhwymau. Fel yr eglurhawyf ef megis y mae yn rhaid ei draethu." Yr oedd "dirgelwch Crist, a dirgelwch yr efengyl," ganddo i'w draethu, ac yr oedd am wneyd hyny "yn eglurhad yr Ysbryd a nerth." Rhaid i'r pregethwr ei hunan weddio yn fynych "Dadguddia fy llygaid fel y gwelwyf bethau rhyfedd allan o'th gyfraith di;" ac y mae "pob ysgrifenydd sydd wedi ei ddysgu i deyrnas nefoedd yn dwyn allan o'i drysor bethau newydd a hen."

*Am i'w berson gael ei amddiffyn yn nghyflawniad ei waith.*—"Eithr yr wyf yn atolwg i chwi frodyr, er mwyn ein Harglwydd Iesu Grist, ac er cariad yr Ysbryd, ar gydymdrech o honoch gyda myfi mewn gweddiau drosof fi at Dduw; fel y'm gwareder oddiwrth y rhai anufudd yn Judea." "Ac ar ein gwared ni oddiwrth ddynion anhywaeth a drygionus." "Yr hwn a'n gwaredodd ni oddiwrth gyfryw ddirfawr angau, ac sydd yn ein gwaredu, yn yr hwn yr ydym yn gobeithio y gwared ni hefyd rhagllaw;—a chwithau hefyd yn cydweithio

drosom mewn gweddi, fel am y rhoddiad a rodded i ni o herwydd llawer, y rhodder diolch gan lawer drosom."

*Am i'w feddwl gael ei wroli yn nhraddodiad ei genadwri.* "A throsof fianau fel y rhodder i mi ymadrodd trwy agoryd fy ngenau yn hyf, i hysbysu dirgelwch yr efengyl. Dros yr hon yr wyf yn genad mewn cadwyn; fel y traethwyf yn hyf am dani fel y perthyn i mi draethu." "Paratoad y galon ac ymadrodd y tafod oddiwrth yr Arglwydd y mae." Mae traddodiad hyderus o'r genadwri yn argyhoeddiad i feddwl y gwrandawyr fod y pregethwr ei hun yn ei chredu.

*Am i'w weinidogaeth fod yn llwyddianus i gyrhaedd yr amcan,* "Bellach frodyr gweddiwch drosom ni ar i air yr Arglwydd redeg, a chael gogonedd megis gyda chwithau." "O frodyr gweddiwch drosom." Yr oedd Paul yn *teimlo fel* hyn—er ei holl gymwysderau fod yn rhaid iddo wrth help gweddiau yr eglwys am ddylanwadau Ysbryd Duw cyn y cyrhaeddai ei weinidogaeth ei hamcan i droi eneidiau. Ac os teimlai Paul y dibyniaeth yma, pa faint mwy y dylem ni deimlo fel hyn? A chymerwn y geiriau yn sylfaen i gosodiad canlynol:—

FOD Y CYMHWYSDERAU GWEINIDOGAETHOL UCHAF YN ANNIGONOL I GYRHAEDD AMCAN MAWR YR EFENGYL, HEB GYDWEITHREDIAD GWEDDIAU YR EGLWYS.

Yr oedd y cymwysderau uchaf yn cyfarfod yn Paul, ac eto dyma ei deimlad "O! frodyr, gweddiwch drosom."

1. *Mae y nerth corfforol cryfaf yn annigonol.* Mae corff cryf, iach, yn un o'r cymwysderau gwerthfawrocaf i bregethwr. Mae llawer wedi nychu dan bwys gwendid corfforol, *nid* yn gymaint oblegid caledrwydd y gwaith; ond oblegid y pryder meddwl sydd yn nglyn ag ef. Ac y mae amgylchiadau *yn ei* wneyd yn fywyd afreolaidd iawn, fel nas gellir cydffurfio â'r deddfau cyffredin ynglyn a'r rhai y mae iechyd yn cael ei ddiogelu. Mae y pregethwr yn chwysu ac oeri—yn cynhyrfu ac arafu—nes y mae ei natur yn ddiarwybod iddo ei hun yn treulio allan. Mae corff iach yn fendith anmhrisiadwy: i

egethwr yn enwedig. Y mae yn wir fod rhai pregethwyr
.wog wedi bod mewn cyrff bychain eigwein. Pebyll eiddil
dd gan eneidiau byw Richard Baxter ac Isaac Watts; ac
d oedd ond corff gwangrwm gan y seraff tanllyd R. Roberts,
ynog. Ond fel rheol yr oedd cyrff iach, cryfion, golygus
ın yr hen bregethwyr. Yr oedd Duw wedi eu gwneyd i
eb i'w hoes. Yr oedd Dafydd Morris yn dywysog mewn
rffolaeth. Yr oedd Henry George, Brynberian, yn uwch
i ysgwyddau i fynu na phawb yn mhob cynulleidfa y byddai.
r oedd Abram Tibbot yn un o'r dynion cryfaf yn ei oes, a
ı dda iddo hyny lawer gwaith pan ddeuai terfysgwyr i af-
nyddu arno; a'r yr oedd golwg fawreddog Ebenezer Jones,
ontypridd, yn peri i bawb dalu gwarogaeth iddo. Yr oedd
ı tadau wedi eu cyfaddasu i'w hoes, a'u gwneyd yn ddynion
allasai oddef caledi. Ond nid yw nerth corfforol ynddo ei
ın yn ddigon, oblegid yr oedd Paul felly. Dywedir nad
dd yn ddyn mawr corfforol; ond yr wyf yn bur sicr ei fod
ı gryf, onide nis gallasai ddal y tywydd yr aeth drwyddo.
u yn mhob math o helbulon ar fôr a thir. Ei labyddio a
eini y nos o'r blaen, ac yn lle rhwymo ei ben a myned i'r
vely fel y gwnaethem ni, pregethu a'i holl egni boreu dran-
th. Myned i garchar Philippi yn waed ac yn glwyfau; ac
. lle cwyno ei boenau aeth i ganu a gweddio nes siglo seil-
ı yr hen garchar, ac wedi cael golchi ei friwiau, allan ag ef
regethu dranoeth. Yr oedd "wedi ei lunio o'r groth" yn
lestr etholedig i'r gwaith"—Duw a'i gwnaeth ef i ateb ei
s.

Ond nid yw nerth corfforol y pregethwr ddim yn ddigon.
allu anianyddol yw hwnw, a rhaid cael rhywbeth heblaw
llu anianyddol i effeithio ar ansawdd ysbrydol y galon.
Canys arfau ein milwriaeth ni nid ydynt gnawdol." "Nid
wy lu ac nid trwy *nerth*." Rhaid cael mwy na nerth corff-
ol y pregethwr—"Y *nerth* o'r uchelder." Ac am hwnw,
O! frodyr gweddiwch drosom."

2. *Mae y galluoedd meddyliol grymusaf yn annigonol.* O

angenrheidrwydd y mae y pregethwr i fod yn ddyn o feddwl uwchraddol. Nid oes dim rhaid ei fod o gorff cryfach na chyffredin, ond rhaid ei fod o feddwl galluocach, onide dirmygir ef. Arweinydd ydyw i fod, a phwy a ymddiriedai i gymeryd eu harwain gan ddyn os na bydd argyhoeddiad yn eu meddwl ei fod yn mlaen arnynt. Un i osod argraff ar feddyliau eraill ydyw, ac os na bydd nerth yn ei feddwl ef, pa fodd y gall osod argraff ar eu meddyliau hwy? "Gwae y wlad sydd a bachgen yn frenin arni. Y cadarn a'r rhyfelwr, y brawdwyr, y proffwyd, y synwyrol, a'r henwr; y tywysog deg a deugain, a'r anrhydeddus, a'r cynghorwr, y crefftwr celfydd, a'r areithiwr hyawdl wedi eu tynu ymaith; a phlant yn dywysogion iddi, a bechgyn yn arglwyddiaethu arni." Dyma farn drom ar wlad. Bechgynos diwybod yn ei llywodraethu. Barn drom hefyd ar wlad ydyw fod ei hathrawon crefyddol "yn blantos yn bwhwman." Llonaid gwlad o bregethwyr meddal, marw, dienaid, a dichwaeth fel locustiaid yn difa gwinllan Arglwydd y lluoedd. Blaenion meddyliau cenedl ddylai y pwlpud gael; ac y mae wedi eu cael yn llwyrach yn Nghymru nag yn un wlad arall. Dyma yr unig faes sydd wedi bod hyd yn ddiweddar i ddynion arddangos eu hathrylith yn ein mysg, a gobeithio nad â gwerth meddwl ddim i lawr yn ei bris yn ein plith. Rhaid cael meddyliau i borthi meddyliau. Ni wna gwrachiaidd chwedlau, a dychymygion ymenyddia meddalion, a choeg farddoniaeth mo'r tro—gallent fod yn boblogaidd: ond byth ni fegir arnynt genedl gref mewn crefydd. Ond y mae y galluoedd cryfaf yn aneffeithiol. Yr oedd Paul yn un o'r meddylwyr cryfaf—dwfn, arddansoddol, eang a phendant; ymdriniai a materion y teimlai yr Apostolion eraill wyleidd-dra uwch eu penau. Addefa Pedr fod rhyw bethau yn ysgrifeniadau ei frawd Paul "yn anhawdd eu deall," ac felly y mae; ond y mae yr anhawsder yn cyfodi nid oddiar unrhyw aneglurder yn ei ddull ef o ymadroddi, ond oddiar fawredd y pynciau a drinir. Yr oedd Pedr yn colli ei olwg yn nyfnderoedd y gwirioneddau [illegible] a

drinid gan Paul; ond yr oedd Paul yn feistr perffaith ar pob pwnc yr ymdriniai ag ef. Mor alluog y mae yn trafod Arfaeth ac Etholedigaeth—Cwymp y ddynoliaeth, a'i llygriad llwyr trwy gamwedd Adda—Iawn a Chyfiawnhad—Offeiriadaeth ac Eiriolaeth Crist—Adgyfodiad y meirw, a'r Farn dragywyddol. Er y gallwn ni fethu ei ddirnad, ond y mae hyny yn cyfodi oddiar wendid ein hamgyffredion; a pheth ffol iawn ydyw i ddynion ddyweyd nad yw y pregethwr yn deall ei hun, oblegid nad ydynt hwy yn ei ddeall ef. Ac nid ymdrin a'r athrawiaethau yna yn y golygddysg yn unig y byddai, ond medrai ddyfod i lawr at y syml a'r ymarferol. Disgynai oddirhwng mynyddoedd y bwriadau a'r arfaethau tragywyddol—dros ddyffrynoedd breision cnawdoliaeth a marwolaeth Crist—i ddolydd tlysion gweinidogaeth ymarferol—"i dystiolaethu i'r Iuddewon ac i'r Groegwyr hefyd, yr edifeirwch sydd tuag at Dduw, a'r ffydd sydd tuag at ein Harglwydd Iesu Grist." "Mynegai holl gynghor Duw," ac nid "ataliai ddim o'r pethau buddiol," a thrwy y ddau mynai "ddwylaw glân oddiwrth waed pawb oll." Ac eto teimlai y meddwl mawr, galluog, gafaelgar yma fod yn rhaid iddo ef waeddi, "O! frodyr, gweddiwch drosom."

3. *Mae y cyrhaeddiadau addysgol uchaf yn annigonol.* Rhaid i'r meddwl galluocaf gael ei amaethu ag addysg dda cyn y parhâ i gynyrchu cnwd. Mae meddwl cyffredin dan driniaeth dda yn wastadol yn dyfod yn alluocach na meddwl anghyffredin yn cael ei adael yn ddi-oruchwyliaeth. Oes noddedig dros addysg yw yr oes hon. Mae pob rhieni ystyriol am roddi i'w plant yr addysg oreu a ganiata eu hamgylchiadau; ac y maent yn hyny yn gwneyd yn ganmoladwy iawn. Addysg sydd yn tynu allan y dyn. Bydd yn well aelod o gymdeithas yn mha gylch bynag y gosodir ef i droi, yn ddedwyddach iddo ei hun, ac yn ddefnyddiolach i eraill. Ond a ydyw i gael ei rhoddi i bawb, a chyfarwyddwyr y bobl i fod hebddi? Mae addysg weinidogaethol yn dyfod bob dydd yn fwyfwy angenrheidiol; ac os mynwn gael dynion i ateb angen yr

oes, y mae yn rhaid eu cael fel Daniel, wedi eu "hyfforddi mewn deall a gwybodaeth, yn mhob dysg a doethineb." Bu adeg yn ein cof ni pan y dirmygid addysgu pregethwyr, a edrychid ar y cyfryw wedi eu gwneyd gan ddynion, ac nid gan Dduw: ond y mae hyny yn mysg y pethau a fu. Onid dysgedigion oedd ein tadau? Dynion dysgedig oedd yr Anghydffurfwyr Cymreig—Samuel Jones, Brynllywarch—Rees Prydderch, Ystradwalter—a James Owen, Croesoswallt. Dynion dysgedig oedd tadau Methodistiaeth—Rowlands, Llangeitho Peter Williams—William Williams, Pantycelyn—a Charles o'r Bala. Ac nid yw cael ein gweinidogion yn ddysgawdwyr o'r radd flaenaf yn un rhwystr i'w cael hefyd yn bregethwyr o'r radd flaenaf. Ond y mae y ddysgeidiaeth uchaf yn annigonol. Yr oedd Paul yn ddysgedig iawn. Yn hyn yr oedd yn wahanol i'w frodyr. Dynion anllythyrenog ac annysgedig oeddynt hwy. Ond yr oedd ef wedi ei ddwyn i fyny wrth draed Gamaliel—yn hyddysg yn ysgrifeniadau y tadau—yn gyfarwydd yn ngweithiau yr athronwyr cenhedlig—ac wedi darllen cyfansoddiadau y beirdd Paganaidd. Ped arosasai gyda chrefydd ei dadau, efe ond odid a ddyrchafasid i gadair Gamaliel ar ol ei athraw. Medrai areithio yn yr iaith Roeg yn Areopagus ger bron doethion Athen, nes eu gyru oll i fudanrwydd; ac amddiffyn ei hun yn Hebraeg ger bron yr Iuddewon nes y rhoisant iddo osteg gwell. Ac eto teimlai y dyn mawr dysgedig yma fod yn rhaid iddo ef wrth help gweddiau ei frodyr. Rhaid cael rhyw beth heblaw dysgeidiaeth y pwlpud i wneyd y gwaith. Mae pwlpudau Eglwys Loegr, a phwlpudau yr Undodiaid wedi eu llenwi â boneddigion dysgedig er's mwy na chan' mlynedd; ond y mae y diafol yn gofyn iddynt fel y gofynodd i feibion Scefa gynt—"Yr Iesu a adwaen, a Phaul a adwaen, eithr pwy ydych chwi?" Pwlpudau oerion—a chapelau gweigion. Dywedai Mr. Williams, Wern, wrth ordeinio gwr ieuanc i'r weinidogaeth—"Mae rhywogaeth o gythreuliaid yn y wlad yma fy mrawd ieuanc, nad ânt allan ond trwy 'weddi ac ympryd.' Chwarddant wrth

eich gweled â'ch Testament Groeg yn gorfeirniadu y testyn; ond dychrynant os gwelant chwi ar eich gliniau yn ymdrechu â Duw cyn myned ger bron y gynulleidfa," "O! frodyr, gweddiwch drosom."

4. *Mae y doniau araethyddol penaf yn annigonol.* Mae doniau yn angenrheidiol i'r weinidogaeth—"tafod y dysgedig i lefaru gair mewn pryd wrth y diffygiol;" medr i "iawn gyfrannu gair y gwirionedd;" a thraethu y genadwri yn hyf, fel y perthyn ei thraethu. "Deisyfwch y doniau goreu." Mae yr eglwys yn deilwng o honynt oll. Dyger holl hanfodion araethyddiaeth yn offrymau i'w gwasanaeth hi—yr iaith ddetholedig—y cydmariaethau tlysion—y troellymadroddion pryd-ferth—y ffigyrau barddonol—y traddodiad gwresog—yr ymadrodd ffrydlifol—y llais soniarus—a'r apeliadau nerthol. Mae gan yr holl bethau yna swyn i'r glust a dylanwad ar y galon; a hwyrach na fendithiwyd yr un wlad mor fechan, erioed â nifer mor luosog o bregethwyr nodedig am eu doniau a Chymru; megis Daniel Rowlands, Howell Harris, Jones, Llangan, Griffiths, Nevern, Ebenezer Morris, Davies, Abertawe, Christmas Evans, John Elias, Williams o'r Wern; Hughes, Groeswen, Francis, Hiley, John Jones, a llu mawr yn ychwaneg. Dynion o ran doniau y gallasai unrhyw genedl fod yn falch o honynt; a diamheu, i'w doniau hwy fod o wasanaeth dirfawr i alw sylw y wlad at grefydd. Ond nid yw y doniau mwyaf poblogaidd yn ddigon. Yr oedd Paul yn ddoniol iawn. Yn Lystra mynai y bobl ei addoli ef a Barnabas, gan gredu mai duwiau yn rhith dynion oeddynt. "Galwasant Barnabas yn Jupiter, a Phaul yn Mercurius, oblegid efe oedd yr ymadroddwyr penaf." Mae darnau mor hyawdl fel cyfansoddiadau yn ysgrifeniadau Paul, a dim a geir mewn unrhyw iaith. Maent yn ddigon i gyffroi y galon wrth eu darllen neu wefreiddio unrhyw gynulleidfa wrth eu gwrando. Cymerer engraifft neu ddwy yn y rhan olaf o'r wythfed benod at y Rhufeiniaid; y mae yn ymgodi ac yn herfeiddio pob gelyn, "Pwy a rydd ddim yn erbyn etholedigion Duw? Duw

yw yr hwn sydd yn cyfiawnhau; Pwy yw yr hwn sydd yn damnio? Crist yw yr hwn a fu farw, ie, yn hytrach yr hwn a gyfodwyd hefyd; yr hwn hefyd sydd ar ddeheulaw Duw, yr hwn hefyd sydd yn erfyn trosom ni. Pwy a'n gwahana ni oddiwrth gariad Crist? ai gorthrymder, neu ing, neu ymlid, neu newyn, neu noethni, neu enbydrwydd, neu gleddyf? (Megis y mae yn ysgrifenedig, er dy fwyn di yr ydys yn ein lladd ni ar hŷd y dydd; cyfrifwyd ni fel defaid i'r *laddfa.*) Eithr yn y pethau hyn oll yr ydym ni yn fwy na choncwerwyr, trwy yr hwn a'n carodd ni. Canys y mae yn ddiogel genyf na all nac angau, nac einioes, nac angylion, na thywysogaethau, na meddianau, na phethau presenol, na phethau i ddyfod, nac uchder, na dyfnder, nac un creadur arall, *ein gwahanu* ni oddi wrth gariad Duw, yr hwn sydd *yng Nghrist* Iesu ein Harglwydd." Cymerer engraifft arall a geir yn yr unfed ar ddeg o'r Hebreaid. Wedi myned trwy gofres o'r seintiau, mae yn symio y gweddill i fynu, "A pheth mwy a ddywedaf? canys yr amser a ballai i mi i fynegi am Gedeon, am Barac, ac am Samson, ac am Jephthae; am Ddafydd hefyd, a Samuel a'r proffwydi; y rhai trwy ffydd a oresgynasant deyrnasoedd, a wnaethant gyfiawnder, a gawsant addewidion, a gauasant safnau llewod, a ddiffoddasant angerdd y tân, a ddiangasant rhag min y cleddyf, a nerthwyd o wendid, a wnaethpwyd yn gryfion mewn rhyfel, a yrasant fyddinoedd yr estroniaid i gilio. Gwragedd a dderbyniodd eu meirw trwy adgyfodiad: ac eraill a ddirdynwyd, heb dderbyn ymwared; fel y gallent hwy gael adgyfodiad gwell. Ac eraill a gawsant brofedigaeth trwy watwar, a ffiangellau, ie, trwy rwymau hefyd a charchar. Hwynt hwy a labyddiwyd, a dorwyd â llif, a demtiwyd, a laddwyd yn feirw â'r cleddyf; a grwydrasant mewn crwyn defaid, a chrwyn geifr; yn ddiddym, yn gystuddiol, yn ddrwg eu cyflwr; (y rhai nid oedd y byd yn deilwng o honynt) yn crwydro mewn anialwch, a mynyddoedd, a thyllau ac ogofeydd y ddaear. A'r rhai hyn ... tystiolaeth trwy ffydd, ni dderbyniasant yr ...

Duw yn rhag weled rhyw beth gwell am danom ni, fel na pherffeithid hwynt hebddom ninnau." Dacw Paul yn pregethu ger bron Ffelix a Drusila. Mae yn ymresymu am "gyfiawnder, a dirwest, a'r farn a fydd." Dyna y tair saeth sydd ar fwa ei weinidogaeth—traetha y gwirionedd yn hyf ger ei bron, a chyfeiria at bethau priodol i'w sefyllfa. Mae ei ymresymiad yn fanol—ei draddodiad yn ddifrifol—ei gyfeiriadau yn finiog—a'i apeliadau yn argyhoeddiadol—edrycha yn llym arnynt, ac a llais dwfn, dwysdeimladol darlunia iddynt "*y farn a fydd.*" Dan bwysau y weinidogaeth gyffrous "Ffelix a ddychrynodd," er na chredodd fe ddychrynodd—er nad edifarhaodd fe ddychrynodd—er na ddychwelodd fe ddychrynodd. Gallodd dawn y pregethwr beri hyny. Ond y mae amcan pellach i'r efengyl, ac i gyrhaedd hwnw rhaid cael help eich gweddiau. "O frodyr gweddiwch drosom."

5. *Mae yn ymroddiad gweinidogaethol llwyraf yn [illegible]gonol.* Mae y weinidogaeth yn gofyn yr ymroddiad mwyaf egniol. Gellir bod ynddi yn segur, ond nis gellir ei chyflawni ond a'r holl egni. Nid cadw y cytundeb—dilyn hyn a hyn o gyfarfodydd—pregethu nifer penodol o Sabbothau—a gwneyd nifer o ymweliadau bob wythnos, yw cyflawni y weinidogaeth. Ond "ymboeni yn y gair a'r athrawiaeth." "Glynu wrth ddarllen, myfyrio yn y pethau hyn, ac yn y pethau hyn aros." "Pregethu y gair, yn daer, mewn amser ac allan o amser; argyhoeddi, ceryddu, annog gyda phob hirymaros." "Gwylio yn mhob peth, gwneyd gwaith efengylwr, cyflawni y weinidogaeth;" "rhybuddio pob dyn a dysgu pob dyn, yn mhob doethineb;" "treulio ac ymdreulio yn y gwaith." Nis gellir disgwyl am lwyddiant, na rhyfygu gofyn am lwyddiant heb hyny. Yr oedd Paul yn ymroddi felly yn Ephesus, "llafuriodd yn gyhoedd ac o dŷ i dŷ:" a "thros dair blynedd ni pheidiodd ddydd a nos, a rhybuddio pob un o honynt â dagrau." Yn Athen "ymresymodd yn y synagog â'r rhai crefyddol, ac yn y farchnad beunydd a'r rhai a gyfarfyddent ag ef." Nid oedd yn gofalu am ddim ond ei waith, ac yr oedd yn barod i fyned

i bob anfantais yn unig am y cai gyfle i'w wneyd. Dyma ei ysbryd, "Canys er fy mod yn rhydd oddiwrth bawb mi a'm gwnaethum fy hun yn was i bawb fel yr enillwn fwy." Ac yr oedd yn cwbl anghofio ei hunan yn ei waith. "Beth a wnewch chwi yn wylo ac yn tori fy nghalon" meddai wrth ei gyfeillion, "canys parod wyf, nid i'm rhwymo yn unig ond i farw hefyd yn Jerusalem er mwyn enw yr Arglwydd Iesu." Yn wir aeth drwy gymaint o beryglon fel mai yn *briodol* y dywedai ei fod "yn marw beunydd." Mae wedi *gadael* ar ol i ni gofres o'r dyoddefiadau yr aeth drwyddynt. "Ai gweinidogion Crist ydynt hwy? mwy wyf fi;—mewn blinderau yn helaethach;—mewn gwialenodiau dros fesur, mewn carcharau yn amlach, mewn marwolaethau yn fynych. Gan yr Iuddewon bum' waith y derbyniais ddeugain gwialenod *ond un.* *Tair* gwaith y'm curwyd a gwiail, unwaith y'm llabyddiwyd; *teir*gwaith y torodd llong arnaf; noswaith a diwrnod y bum yn y dyfnfor. Mewn teithiau yn fynych; yn mheryglon gan fy nghenedl fy hun, yn mheryglon gan y cenhedloedd, yn mheryglon yn y ddinas, yn mheryglon yn yr anialwch, yn mheryglon ar y môr, yn mheryglon yn mhlith brodyr gau. Mewn llafur a lludded, mewn anhunedd yn fynych, mewn anwyd a noethni. Heblaw y pethau sydd yn digwydd oddiallan, yr ymosod yr hwn sydd arnaf beunydd, y gofal dros yr holl eglwysi." Ond yn nghanol y cwbl gwelwch ei ymroddiad penderfynol, "Ond nid wyf yn gwneuthur cyfrif o ddim, ac nid gwerthfawr genyf fy einioes fy hun, os gallaf orphen fy ngyrfa trwy lawenydd, a'r weinidogaeth a dderbyniais i gan yr Arglwydd Iesu, i dystiolaethu efengyl gras Duw." Aeth allan gan gwhwfanau ei faner o Jerusalem yn Asia hyd Illyricum yn Europe; a dyna yr arwyddair oedd arni,—"Canys *byw* i mi yw Crist." O! disgyned deuparth ei ysbryd ef arnom ni. Ac eto teimlai y dyn mawr, cysegredig yma, ei enaid galluog yn suddo dan bwysau ei waith fel y dymunai "O frodyr, gweddiwch drosom."

6. *Mae y dduwioldeb fwyaf diamheuol yn annigonol*

Mae duwioldeb yn gymhwysder hanfodol i'r weinidogaeth. Gellir bod yn "weinidog da i Iesu Grist" heb lawer o'r cymhwysderau eraill. Gwyddom am ddynion o gyrff digon eiddil —o feddyliau digon cyffredin—o wybodaeth digon cyfyng—ac o ddoniau byr iawn—eto trwy dduwioldeb amlwg, a llafur caled wedi "gwasanaethu eu cenhedlaeth yn ol ewyllys Duw cyn huno o honynt gyda'u tadau." Ond y mae duwioldeb yn gymhwysder nas gellir ei hebgor dan unrhyw amgylchiad. Ac nid duwioldeb cyffredin a wna y tro, ond duwioldeb amlwg a diamheuol. Duwioldeb rydd hyder yn meddwl y dyn ei hun, ac a weithia argyhoeddiad i feddyliau eraill. Y gwirionedd y mynai Iesu Grist ei wasgu at feddwl Simon Pedr wrth ofyn iddo dair gwaith "A wyt ti yn fy ngharu i?" oedd, mai cariad ato yw y prif gymhwysder i swyddogaeth yn ei eglwys dano. Nid ymddirieda y "bugail da" i neb "borthi ei wyn"—a "bugeilio ei ddefaid"—ond y rhai sydd yn ei garu. Drychfeddwl ofnadwy ydyw Pregethwr annuwiol! Un yn pregethu Crist i eraill heb dderbyn Crist ei hunan. Mynegfys yn cyfeirio eraill tua'r noddfa heb symud cam tuag yno ei hun. Cafn yn cario dwfr i eneidiau eraill a'i enaid ei hun yn pydru, nes na bydd yn gymwys i ddim ond i dân. Troseddwr ar y dienyddle yn rhoi gair o gyngor i'r bobl a'i wddf ei hunan yn y cortyn. Judas o ran swydd—a diafol o ran cyflwr. Yr oedd enaid duwiol Paul mewn cymaint o bryder yn y mater fel y dywedai, "Ond yr wyf fi yn cospi fy nghorff ac yn ei ddwyn yn gaeth rhag i'm mewn un modd wedi i mi bregethu i eraill fod fy hun yn anghymeradwy." Ond nid yw y dduwioldeb fwyaf diamheuol yn ddigon i sicrhau llwyddiant. Yr oedd Paul yn ddyn gwir dduwiol—yn "llestr etholedig"—wedi ei "alw trwy ras"—yn "apostol Iesu Grist"—a chanddo y seiliau egluraf o ddwyfoldeb ei anfoniad; eto dyma ei deimlad ef yn yr olwg ar fawredd ei waith "O frodyr gweddiwch drosom." Pe caech bregethwyr a'r holl gymwysderau yna yn cyfarfod ynddynt, i'r graddau perffeithiaf, ni lwyddent hwy heb help eich gweddiau chwi.

Rhaid i'r weinidogaeth oreu gael ei hategu gan weddiau yr eglwys cyn y cyrhaeddir ei hamcanion goruchel. Byddai yn well genyf fentro pwlpudau Cymru am ganrif eto i'r hen gynghorwyr anllythyrenog a'u Duw, na phe caem Christmas Evans, a John Elias, a Williams o'r Wern, heb "Arglwydd Dduw Elias." Ac ond i ni bregethwyr egwein, eiddil yr oes hon gael ein cylchio â'ch gweddiau chwi ni wnawn orchestion teilwng o'n tadau. "O frodyr gweddiwch drosom." O! *y mae* ein gwrandawyr yn gelyd. Mae gwrthgilwyr rhyfygus yn britho ein cynulleidfaoedd. Mae gwyr ieuainc hyfion yn tyfu yn ein Hysgolion. Mae proffeswyr iach yn ein heglwysi. Mae ein gweinidogaeth yn methu y nod, "O frodyr gweddiwch drosom." Anfonwch eich gweddiau i'r *nefoedd* am i fraich yr Arglwydd gael ei diosg i achub, "*Gwregysa dy* gleddyf ar dy glun O! gadarn, a'th ogoniant a'th harddwch, ac yn dy harddwch marchoga yn llwyddiannus, o herwydd gwirionedd a lledneisrwydd, a chyfiawnder, a'th ddeheulaw a ddysg i ti bethau ofnadwy. Pobl a syrthiant danat o herwydd dy saethau llymion yn glynu yn nghalon gelynion y brenhin." O disgyned ysbryd gweddi yn helaeth ar yr eglwys. Mae y gosodiad gan hyny yn dangos yn eglur fod cyd weithrediad yr eglwys a'r weinidogaeth yn hanfodol i sicrhau llwyddiant. Un achos sydd cyd rhyngddynt ac os cydweithiant mae y llwyddiant yn sicr. Mae gweddiau yr eglwys dros y weinidogaeth yn meithrin cydymdeimlad rhyngddi a llafur ei gweinidogion; ac y mae aflwyddiant yr efengyl yn myned yn ddwfn at ei chalon. Eglwys yn gweddio dros y weinidogaeth a wyr o ba le y mae y llwyddiant yn dyfod. A'r *rhai* sydd yn gweddio mwyaf dros eu gweinidogion yw y rhai parotaf i'w cysuro yn ngwyneb eu haflwyddiant.

Mae gweinidogion Crist "rhwng y porth a'r allor" yn apelio yn ddifrifol at yr eglwysi yn y dyddiau hyn am help eu gweddiau. Maent yn hau mewn dagrau—yn ymboeni trwy y nos heb ddal dim—yn gofyn yn synedig yn niwedd pob Sabboth,—"Pwy a gredodd i'n hymadrodd?" ac yn cwynfan yn

siomedig, "Yn ofer y llafuriais, yn ofer ac am ddim y treuliais fy nerth." Ond y maent yn eu digalondid yn ymollwng ar weddiau y saint, gan erfyn, "O! frodyr, gweddiwch drosom!" Tywallter ysbryd gweddi dros eu gweinidogion yn helaeth ar yr eglwysi yn y dyddiau hyn, yna y bydd heddwch Seion fel yr afon, a'i chyfiawnder fel tónau y môr."

# PREGETH XX.

## Y LLANCES YN NHY NAAMAN.

2 BRENHINOEDD v. 2, 3.

"A'r Syriaid a aethant allan yn finteioedd, ac a gaeth-gludasant o wlad Israel lances fechan: a hono oedd yn gwasanaethu gwraig Naaman. A hi a ddywedodd wrth ei meistres, O na byddai fy arglwydd o flaen y proffwyd sydd yn Samaria: canys efe a'i hiachai ef o'i wahan-glwyf."

Mae crefydd yn gweddu i bob sefyllfa. Ceir yn yr Ysgrythyrau engreifftiau am ddynion yn byw yn dduwiol yn mhob math o amgylchiadau,—yn y swyddau uchaf a'r sefyllfaoedd isaf—yn y llawnder mwyaf ac yn y tlodi dyfnaf—dan goronau euraidd ar orseddau, ac mewn gefynau haiarn yn y cellau tywyll—yn hoenusrwydd ieuenctyd, ac yn mhwylledd henaint. Pob oed, gradd, sefyllfa, a rhyw, yn byw yn dduwiol. Anhawdd dyweyd yn mha le yr ymddengys crefydd harddaf. Tueddir ni i feddwl mai yr un yr edrychwn ni arni ar y pryd a ymddengys brydferthaf. Mae yn y testyn engraifft darawiadol o dduwioldeb dan amgylchiadau tra anfanteisiol. Cawn edrych ar yr olygfa a chymeryd addysg.

I. YR ANFANTEISION O DAN RA RAI Y GWEITHIODD Y LLANCES FECHAN YMA EI CHYMERIAD CREFYDDOL.

*Merch ydoedd.* Nid yw menyw ar y goreu ond y "llestr gwanaf," a dysgir ni i'w pharchu fel y cyfryw. Deallodd Satan yn Eden ei gwendid, a chymerodd fantais i ddylanwadu arni; ac y mae llawer dyhiryn wedi cymeryd yr un fantais ar y fenyw i'w diraddio a'i gwaradwyddo. Mae menyw yn gryf i demtio, ond yn wan i wrthsefyll.

*Merch ieuanc ydoedd.* Nid oedd wedi cael amser i galedu ar gyfer ystormydd y byd, ac i adnabod ei dwyll a'i ddichellion. Mae ambell fenyw trwy bwyll a phrofiad o'r byd wedi ei harfogi i ymladd ei ffordd. Ond *llances fechan* oedd hon eto heb gael profiad o'r byd.

*Merch ieuanc oddicartref ydoedd.* Gall merch ieuanc ymdaro yn weddol gartref tra yn cael ei chylchynu gan gynghorion ei mam, a llygaid ei thad yn gwylio ei chamrau, ond pan yr el oddicartref, y mae o'u golwg ac o'u clyw. Amgylchiad rhwygedig i deimlad ydyw yr ymadawiad â chartref am y tro cyntaf. Mae fel llong wedi ei harwain o'r afon, mae y Pilot yn troi yn ol, ac yn rhoddi y llyw yn llaw y dyn ei hun. Clywsom rai yn galw arnom weithiau wrth groesi lleoedd peryglus, "Well i chwi gael *guide.*" Wrth droi allan i'r byd well i bob merch ieuanc gael *guide.* "Oni lefi di arnaf fi o hyn allan? fy nhad, ti yw tywysog fy ieuenctyd." Ond nid ymadael â chartref yn wirfoddol a wnaeth yr eneth yma, ond cael ei chymeryd trwy orthrech, ac yr oedd hyny yn gwneyd ei chyflwr yn fwy anfanteisiol.

*Merch ieuanc mewn gwasanaeth ydoedd.* Nid boneddiges yn myned oddicartref i rodio ydoedd; syrthiodd Dinah i brofedigaeth er bod felly, ond morwynig oedd hon. *Nid yw* yn syndod i Esther gael y fath ddylanwad yn y llys, oblegid yr oedd yn wraig i'r brenin; ond morwyn oedd hon. Mae gwasanaethu yn anrhydeddus; mae y Beibl lawer gwaith wedi gosod urddas arno; ac y mae y merched a ddygwyd i fyny mewn gwasanaeth yn troi allan bob amser yn well gwragedd, ac yn

well mamau, na'r merched a fegir yn segur gartref. Nid oes un gwarth mewn llafur.

*Merch ieuanc yn ngwasanaeth teulu annuwiol ydoedd.* Yr oedd hyny yn mwynhau yr anfantais i gadw ei gwisgoedd yn lân. Anturiaeth go bwysig ydyw myned i weini i deulu annuwiol. Ni ddylid ei wneyd o ddewisiad. Aeth ambell ferch yn forwyn i dafarn er mwyn cael ychydig ychwaneg o gyflog. Mae y *risk* yn ofnadwy,—peryglu cymeriad er mwyn elw. Ei gyru gafodd y llances yma i'r teulu annuwiol hwn ac nid ei ddewis. Nid oes unrhyw ystyriaeth o elw bydol yn ddigon i orbwyso y perygl y mae cymeriad ynddo mewn teulu annuwiol.

*Caethferch ydoedd.* Yr oedd hyn yn gwneyd ei chyflwr yn waeth fyth. Mae holl deimladau y natur ddynol yn ffieiddio caethiwed. Yr ydym yn gwrthdystio gydag angerddoldeb yn erbyn y dôn isel yn yr hon y lleferir ac yr ysgrifenir am y gaethfasnach yn y dyddiau hyn gydag amcan i liniaru cynddaredd y wlad yn ei herbyn. Cydmerir sefyllfa llawer o weithwyr yn Nghymru â sefyllfa llu o'r caethion yn America. Dywedir fod llawer o'r caethion yn cael gwell ymborth, a gwisgoedd, a [pharch, a myned mewn cerbydau i'r addoliad. Ond *caethion* ydynt er hyny; a pha mor gyfyng bynag y gall fod cyflwr gweithwyr tlodion Cymru, y maent yn *rhyddion*, ac nis gellir eu gwerthu fel anifeiliaid. Mae yn rhaid fod syniadau isel gan y dynion hyny ar hawliau dynoliaeth pan y llonydda eu digofaint yn erbyn y gaethfasnach yn unig wrth weled rhai o'r caethion yn cael eu porthi yn dda. Onid yw yr amaethwr doeth yn gwneyd felly a'i anifeiliaid? Bydd eu cadw felly yn fantais am y gwnant fwy o waith. Mae caethiwed yn y ffurf oreu arno yn ddiraddiad ar ddyn, yn ysbeiliad ar iawnderau gwreiddiol ei natur, yn dreisiad ar holl ddeddfau ei feddwl, yn ddarostyngiad arno i ddosbarth yr anifail a ddyfethir, ac yn werthiad i gadwynau ar y creadur fwriadodd Duw i fod yn rhydd. Mae cyflwr y gweithiwr tlawd, yn y bwthyn llwyd, a'i fwrdd llwm, ar lechwedd un o fryniau moelion Cymru, sydd yn gallu eistedd ar yr aelwyd gyda'i briod

hoff a'i blant anwyl, heb ofni, pa galedi bynag a'u cyfarfydd, y bydd i fethiant y meistr, pe deuai, beri iddynt gael eu gwala fel yr anifeiliaid ar ei faes. Mae cyflwr hwnyna meddwn yn angylaidd mewn cydmariaeth i gyflwr y caethwas goreu ei fyd ar fwrdd llawn ei feistr, ac yn cael marchog gydag ef yn ei gerbyd; oblegid *caethwas* ydyw yn y diwedd, a gall gael ei werthu cyn pen pythefnos i'r meistr creulonaf gyda'r anifail sydd yn ei lusgo. Dyfais ddieflig ydyw codi cyflwr truenus gweithwyr tlodion Cymru i fyny i atal i ddyrnod drom y teimlad dyngarol ddisgyn ar y farsiandiaeth felldigedig mewn cnawd dynol. *Caethferch* oedd y llances fechan hon; a gallasai o bosibl yn hiraethlon ar lenydd Abana a Pharphar gwyno gydag *Yamba y gaethas ddu*:—

> "Er bod mewn caethiwed yn mhell o fy ngwlad,
> 'Rwy 'n cofio hoff gartref fy mam a fy nhad;
> Y babell, y goedwig, yr afon, a'r ddol,
> Ond byth ni chaiff Yamba ddychwelyd yn ol."

Yr oedd yr holl bethau hyn yn anfanteision iddi i ddadblygu ei chrefydd. Ond er y cwbl fe weithiodd ei chymeriad rhinweddol i'r golwg. Edrychwn gan hyny yn

II. AR YR ELFENAU HYNY A ARDDANGOSWYD YN FWYAF AMLWG YN EI CHYMERIAD CREFYDDOL. Ac y mae yr un elfenau yn bwysig iawn i bawb, ond yn enwedig i ferched ieuainc mewn gwasanaeth.

*Geirwiredd ag onestrwydd.* Yr ydym yn cyplysu y ddau yn nghyd oblegid eu bod yn perthyn yn agos i'w gilydd. Pwy a ymddirieda y bydd y celwyddwr yn onest? Rhaid fod y forwynig yma yn hyn wedi enill hyder y teulu cyn y buasai cymaint o bwys yn cael ei roddi ar ei chwedl, a chyn yr aeth-ai ei meistr mor bell oddicartref ar ei gair. Nid oes *dim* yn bwysicach i ferch mewn gwasanaeth na'r elfenau hyn, a'r diffyg o honynt sydd wedi andwyo llu o ferched Cymru. Bu ein calon yn cynhyrfu, a'n gwaed yn berwi, wrth weled cynifer o hysbysiadau yn rhai o bapurau Lloegr am forwynion yn eisiau, ac mewn cysylltiad, "*No Welsh woman need apply.*"

Yr oedd yn hawdd deall fod rhyw ferch o Gymru wedi colli ei *character*, ac nid yn unig *colli* ei *character* ei hun, ond wedi *tori caracter* ei chenedl yn ngolwg estroniaid. Ond yr oedd yn nheulu Naaman ymddiried yn ngair y llances yma.

*Ufudd-dod a gwyleidd-dra.* Mae ei hanes yn dangos nad un hyf, haerllug, siaradus, oedd. Mor wylaidd y mae yn cyflwyno y proffwyd yn Samaria i'w meistres. Nid oes dim yn gweddu yn well i fenyw na gwyleidd-dra, na dim yn addasach i forwynion nag ufudd-dod, "nid yn gwrthddywedyd." "Gwraig ffol a fydd siaradus, anghall yw, ni wyr ddim." Menyw hyf, ymyrgar, gleberllyd, safnrwth, pa beth sydd mor wrthun? Ac O! angyles brydferth ydyw y ferch hynaws, wylaidd, ufudd, ostyngedig, mae swyn yn ei gwedd, a'i llygaid yn denu y galon. Yr oedd y llances yma felly yn nheulu Naaman.

*Tynerwch a gofal.* Yr oedd clywed cwynion a deall am drueni ei meistr yn cyffroi ei chalon. Er nad oedd wedi gweled unrhyw garedigrwydd oddiar ei law i beri hyny, eto llosgai ei chalon mewn awydd gwneyd lles iddo. Mae creulondeb yn wrthun yn mhawb, ond yn felldigedig mewn menyw. Mae enwau rhai o honynt trwy eu creulondeb "yn felldith ac yn rheg." Yr Athalia greulawn hono, a laddodd yr had brenhinol. Y Jezebel ddrygionus hono, fynodd roddi Naboth ddiniwed i farwolaeth. Yr Herodias ddialgar hono, ddysgodd ei merch lygredig i ofyn pen Ioan Fedyddiwr mewn dysgl. Y Fari waedlyd hono, dywalltodd afonydd o waed saint Duw. Yr Elizabeth drahaus hono, gauodd ddynion goreu y ddaear mewn carcharau gan eu nychu i angeu, a lluaws o'r un ysbryd sydd trwy eu creulondeb wedi gwneud eu hunain yn ysgymunedig. Ond y mae tynerwch menywaidd yn iachau briwiau y fynwes, yn gwella doluriau y galon, yn tywallt olew cydymdeimlad ar yr ysbryd drylliedig, ac yn gweinyddu fel angyles drugarog i'r ddynoliaeth wywedig. Cafwyd hyny yn y llances yma.

*Parch i broffwyd y Goruchaf.* Er ei gyru yn mhell o'i

gwlad, ni chollodd o'i meddwl barch i'r Arglwydd a'i broffwyd. Tebygol mai ar aelwyd ei rhieni y magwyd y syniadau parchus yma yn ei meddwl am eneiniog yr Arglwydd. Ffordd sicr i ddamnio plant ydyw gwenwyno eu meddwl at weision Crist. Yr oedd plant Bethel wedi eu dysgu felly—gwawdient y proffwyd duwiol; ond rhuthrodd dwy arth allan a lladdasant o honynt ddau blentyn a deugain. Ni wnaeth y plant, mae yn bur debyg, ond adrodd y wers a ddysgasant ar aelwydydd eu rhieni. Duw eiddigus yw ein Duw ni,—"Na ddrygwch fy mhroffwydi, ac na chyffyrddwch â'm heneiniog." Yr oedd parch dwfn yn ei chalon i broffwyd yr Arglwydd.

Dysgwn oddiwrth hanes a chymeriad y llances hon:

*Y gwerth sydd mewn cael gwas neu forwyn dduwiol i deulu.* Bu y ferch fechan hon yn iachawdwriaeth i deulu Naaman.

*Y gellir byw yn dduwiol yn yr amgylchiadau mwyaf anfanteisiol.* Er na ddylid myned iddynt o ddewisiad, eto os arweinir ni iddynt gan ragluniaeth Duw gellir byw yn dduwiol dan yr anfanteision mwyaf.

*Mor bwysig ydyw yr addysg a gyfrenir yn foreuol.* Bychan wyddai rhieni yr eneth hon wrth ei dysgu y gwnelid pethau mor neillduol drwyddi; ond yr oedd y dodrefniad wnaed ar ei meddwl, yn addasiad arni i wneyd pethau mawrion dros Dduw. Dydd y farn yn unig a esbonia werth addysgiadau boreu yr oes.

# PREGETH XXI.

## Y CORFF A'R EGLWYS.

1 CORINTHIAID xii. 12—27.

"Canys fel y mae y corff yn un, ac iddo aelodau lawer, a holl aelodau yr un corff, cyd byddont lawer, ydynt un corff; felly y mae Crist hefyd. * * * * * Eithr chwychwi ydych gorff Crist, ac aelodau o ran."

Mae dibyniaeth y naill beth ar y llall, a gwasanaetholdeb y naill beth i'r llall, yn llinellau sydd yn rhedeg trwy holl lywodraeth Duw. Mewn natur y mae y cwbl yn gwasanaethu eu gilydd. Y ddaear ar yr haul, a'r haul ar y ddaear; y lleuad ar y môr, a'r môr ar y lleuad. Nid oes yma ddim yn rhy fawr i fod yn ddibynol, na dim yn rhy fychan i fod yn ddylanwadol: mae cysylltiad rhwng y cwbl â'u gilydd, o'r llwch sethrir genym dan draed, hyd at y bydoedd sydd yn crogi wrth orsedd Duw. Mae sylweddau y greadigaeth—elfenau natur—tymhorau y flwyddyn—a hinsoddau yr awyr—oll mewn cysylltiad â'u gilydd, a'r oll yn wasanaethol i'w gilydd. Mae yr Arglwydd ei hun yn darlunio y cyd-ddibynedd yma trwy y proffwyd Hosea—"A'r dydd hwnw y gwrandawaf, medd yr Arglwydd, ar y nefoedd y gwrandawaf; a hwythau a wrandawant ar y ddaear; a'r ddaear a wrendy ar yr ŷd, a'r gwin, a'r olew; a hwythau a wrandawant ar Jezreel." Yn mysg dynion, y mae y ddeddf yr un. Mae gwledydd yn dibynu ar eu gilydd, diffygion un wlad yn cael eu cyflenwi gan orddigonedd y llall; a nwyddau yn cael eu newid i gyflawni angenrheidiau yr oll. Mae gwahanol ddosparthiadau cymdeithas yn ymddibynu ar eu gilydd—y tlodion ar y cyf-

oethogion—y pendefigion ar y werin—y crefftwr ar yr amaethwr—a'r naill alwedigaeth ar y llall, fel y mae dibyniaeth pob dosparth ar eu gilydd, a gwasanaetholdeb y cwbl i'w gilydd yn ddeddf gymdeithasol. Ac y mae yr un egwyddor yn mhob rhan o lywodraeth Duw—O'r tywodyn ar y traeth, heibio i'r bryniau cribog at y moelydd llwydion, ac oddiyno hyd at y mynyddoedd uchel, ac yn mlaen at fydoedd bychain, a heibio i fydoedd mawrion hyd at y cyfundraethau eangfaith sydd yn llywodraeth Duw; O'r abwydyn sydd yn ymlusgo yn y llwch heibio y mân, hyd at y mawr greaduriaid, ac oddiyno at y dyn grewyd yn "uchder llwch y byd," ac ymlaen at yr angylion, ei "feibion hynaf," hyd at yr archangel uchaf sydd yn ysgwyd ei adenydd yn ymyl yr orsedd. Mae yn *ddeddf* yn mhob dosparth, ac nas gellir ymgodi uwchlaw *iddi, nes dyfod* at yr anfeidrol ei hun. Mae ef yn annibynol ar bawb, a phawb a phob peth yn gyd-ddibynol arno ef. Yn briodol, Duw ydyw yr unig fod Annibynol yn y bydysawd. Y mae dibyniaeth pob peth ar eu gilydd, a gwasanaetholdeb pob peth i'w gilydd, yn ddeddf yn mhob dosparth yn llywodraeth Duw. Yn y llinell yna y mae y testyn yn gorwedd, neu y mae y llinell yna yn rhedeg trwy y testyn. Dangosir dibyniaeth aelodau y corff dynol ar eu gilydd, a'u gwasanaetholdeb i'w gilydd; a gwneir hyny i egluro yr un egwyddor yn Eglwys Duw. Mae yn rhedeg trwy natur a rhagluniaeth—anianeg a chrefydd—ac amcanwn edrych ar

Y CORFF DYNOL YN DDARLUN O'R EGLWYS GRISTIONOGOL.

Mae y gydmariaeth yn cael ei dilyn yn dra hapus yma, a'i gosod allan gyda phrydferthwch. Edrychwn ar y cyffelybrwydd.

1. *Fel y mae yn y corff dynol wahanol aelodau, felly y mae yn yr Eglwys Gristionogol wahanol ddoniau.* Mae i'r corff wahanol aelodau—dwylaw, traed, llygaid, clustiau. Un corff—ond gwneir ef i fynu o wahanol aelodau. Felly hefyd y mae yn yr eglwys wahanol ddoniau. Yr oedd yn yr eglwys yn Corinth "amryw ddoniau, ac amryw weinidogaethau."

"Oanys i un trwy yr ysbryd y rhoddir ymadrodd doethineb; ac i arall ymadrodd gwybodaeth trwy yr un ysbryd; ac i arall ffydd, trwy yr un ysbryd; ac i arall ddawn i iachau, trwy yr un ysbryd; ac i arall wneuthur gwyrthiau, trwy yr un ysbryd; ac i arall wahaniaeth ysbrydoedd; ac i arall amryw dafodau, ac i arall gyfieithiad tafodau; a'r holl bethau hyn y mae yr un a'r unrhyw ysbryd yn eu gweithredu gan rannu i bob un o'r neilldu megis y mae yn ewyllysio." "A rhai yn wir a osododd Duw yn yr eglwys; yn gyntaf apostolion, yn ail prophwydi, yn drydydd athrawon, yna gwyrthiau; wedi hyny doniau i iachau, cynorthwyau, llywodraethau, rhywiogaethau tafodau." Dyma y doniau cyffredin ac anghyffredin oedd yn yr eglwysi cyntefig; er nad yw y doniau gwyrthiol yn cael eu rhoddi i neb yn awr, y mae eto wahaniaeth yn noniau yr eglwys. Y mae gwahaniaeth yn nhymherau naturiol yr eglwys; rhai yn fywiog, tanllyd a chyffrous fel Pedr; eraill yn hynaws, addfwyn, a llariaidd fel Ioan; ac eraill yn bwyllus, arafaidd, a digynwrf fel Iago. Mae rhai yn hyf fel llew; ânt allan yn wrol a diofn, ac eraill yn llwfr a digalon. Mae i'r tymherau hyn oll eu manteision, ac ond eu cysegru yn briodol y maent yn gwasanaethu crefydd. Y mae gwahaniaeth yn ngwybodaeth grefyddol yr eglwys. Ceir rhai fel Apolos yn "gadarn yn yr Ysgrythyrau"—ac fel Timotheus, er yn fachgen "yn gwybod yr Ysgrythyr lân"—eu "calonau wedi eu cryfhau a gras"—ac wedi eu "gwreiddio a'u cadarnhau fel na'u sigler yn fuan oddiwrth eu ffydd." Tra y mae eraill heb gyrhaedd y fath fesur o wybodaeth, ac heb eu cynysgaeddu â galluoedd cryfion i allu synied yn eang am ddyfnion bethau Duw. Rhai yn athrawon a rhai yn ddysgyblion. Y mae gwahaniaeth yn mhrofiadau ysbrydol yr eglwys. Rhai wedi cyrhaedd tir uchel cymdeithas â Duw, nes gallu ymddiddan ag ef "fel gwr â'i gyfaill," a nesau ato gyda hyder fel plant at eu tad, tra y mae eraill "yn rhodio mewn tywyllwch ac heb lewyrch"—ac yn "cerdded yn alarus eu holl ddyddiau yn chwerwedd eu henaid." Rhai yn gymwys i "fwyd cryf,

ac eraill y mae yn rhaid iddynt wrth laeth." Rhai yn ddigon mawr i siarad â hwy fel wrth rai ysbrydol, eraill y mae yn rhaid "llefaru wrthynt megis wrth rai cnawdol, megis wrth rai bach yn Nghrist." Y mae gwahaniaeth yn nghylchoedd dyledswyddol yr eglwys. Nid yn yr un cylch y bwriadwyd i bawb wasanaethu, o ganlyniad nid yr un ddawn sydd wedi ei rhoddi i bob un. Mae un yn gymwys i athrawiaethu, i borthi yr eglwys mewn gwybodaeth a deall—eraill o synwyr a barn i arwain yr eglwys yn ei hamgylchiadau allanol—eraill o brofiad ysbrydol i rybuddio yr afreolus—adferu y dirywiedig—a gwroli yr ofnus—eraill o ddawn nodedig mewn gweddio neu ganu. Y mae gwahaniaeth yn amgylchiadau bydol yr eglwys. Nid yw pawb ddim yn yr un sefyllfa, ac nid *trefn Duw* ydyw i'r eglwys daflu eu meddianau i un drysorfa, a phob *peth* ganddynt yn gyffredin. Mae rhai mewn gallu i gyfranu yn helaeth at achos yr Arglwydd, tra y mae eraill mewn sefyllfa na chaniata eu hamgylchiadau iddynt roddi odid ddim. Ond y mae rhyw gylchoedd yn yr eglwys y gall y tlawd wasanaethu ynddynt yn well na'r cyfoethog. "Yr aelodau o'r corff y rhai a dybir eu bod wanaf ydynt angenrheidiol." Nid un aelod sydd yn gwneyd y corff, ond cyflead a chyd-wasanaeth yr holl aelodau, ac nid un dawn sydd yn cyfansoddi yr eglwys, ond cydgyflead yr holl ddoniau, a'u cydwasanaeth i'r un amcan mewn golwg. Fel y mae yn y corff dynol wahanol aelodau, felly hefyd y mae yn yr eglwys Gristionogol wahanol ddoniau.

2. *Fel y mae i holl aelodau y corff dynol eu dyben priodol, felly y mae i wahanol ddoniau yr Eglwys Gristionogol eu gwasanaeth neillduol.* Mae dyben gwahanol aelodau y corff yn eglur, y glust i glywed seiniau a gwahaniaethu lleisiau—y llygaid i ganfod peryglon a chyfarwyddo ein camrau—y dwylaw i weithio, llafurio, a gwasanaethu y corff—y traed i gynal a chario y corff—y galon i daflu y gwaed i wahanol ranau y cyfansoddiad—y cylla i dreulio yr ymborth a'i droi yn faeth; mae i bob aelod a phob rhan o'r corff eu dyben priodol. Felly

hefyd y mae i holl ddoniau yr eglwys eu gwasanaeth neillduol. Yn eglwys Dduw y mae i bob dawn ei gylch priodol. "A chan fod i ni amryw ddoniau yn ol y gras a roddwyd i ni, pa un bynag a'i proffwydoliaeth, proffwydwn yn ol cysondeb y ffydd; a'i gweinidogaethu, byddwn ddyfal yn y weinidogaeth; neu yr hwn sydd yn athrawiaethu yn yr athrawiaeth; neu yr hwn sydd yn cynghori yn y cynghor, yr hwn sydd yn cyfranu, gwnaed mewn symlrwydd; yr hwn sydd yn llywodraethu mewn diwydrwydd; yr hwn sydd yn trugarhau mewn llawenydd." I ba gylch bynag y gelwir ar ddyn gan Dduw a dynion, gan ei dalent a'i amgylchiadau, dylai wasanaethu ynddo. Rhaid i bob aelod yn y corff wneyd gwasanaeth yr aelod hwnw. "Y glust i glywed, a'r llygad i weled, yr Arglwydd a greodd bob un o'r ddau;" ac a greodd bob un o'r ddau i'w ddyben priodol ei hun. "Os dywed y troed am nad wyf law, nid wyf o'r corff; a'i am hyny nid yw efe o'r corff; ac os dywed y glust am nad wyf lygad nid wyf o'r corff; a'i am hyny nid yw hi o'r corff? Pe yr holl gorff fyddai lygad, pa le y byddai y clywed? pe y cwbl fyddai glywed, pa le y byddai yr arogliad? Eithr yr awrhon Duw a osododd yr aelodau bob un o honynt yn y corff fel yr ewyllysiodd efe." Peth gwrthun iawn fyddai dyn yn llygaid i gyd,—un llygad mawr yn gweled y cwbl, ond heb glust i glywed dim—na throed i gerdded at ddim—na llaw i ymafael mewn dim; dim ond un llygad mawr anferth i weled y cwbl. Felly hefyd yn eglwys Dduw. Mae eisiau rhyw rai yn llygaid yr eglwys, yn ddynion o gallineb a chraffder i sylwi ar ysgogiadau a chyfarwyddo gweithrediadau yr eglwys. Mae eisiau rhyw rai yn glustiau i wrando pa fodd y mae pethau yn gweithio a gwylio y symudiadau. Ond y mae eisiau rhyw beth heblaw llygaid a chlustiau. Rhaid cael y traed bywiog, parod i redeg, a'r dwylaw cyflym awyddus i weithio; ond peryglus iawn fyddai traed i redeg heb lygaid i'w cyfarwyddo, neu ddwylaw parod i weithio heb bwyll i ymwrando pa beth sydd eisiau. Ond caiff llygaid y craffus gyfarwyddo traed yr anturiaethus—a

chlust y pwyllus reoli dwylaw yr hyderus. Pe bai yr eglwys i gyd yn llygaid, ac yn glustiau, ni wnelai ddim ond craffu a gwrando; byddai ofn gwneyd ar bawb; a phe byddai yr eglwys oll yn ddwylaw a thraed rhedent ar draws eu gilydd, a gweithient i'r annhrefn mwyaf, ond y cwbl yn nghyd a phob un yn ei le priodol ei hun, a bydd pob peth yn ddiogel. Mae yn dda nad yw pawb yn yr eglwys ddim yr un dymer, oblegid os pwyllog fyddent oll ni byddai byth yn bosibl eu hysgogi; ac os byrbwyll oll byddant fel cerbyd yn chwyrnellu ar y goriwaered, heb un reolaeth arno. Mae yn dda nad yw yr eglwys oll ddim yr un dalent. Pe buasai pawb wedi eu swyno gan ysbryd canu pwy fuasai yn gofalu am y cyfarfod gweddi. Ac oddiar hyn y cyfyd, fod pob aelod yn teimlo dyddordeb neillduol mewn rhyw ran briodol o grefydd. Un yn canu—*y llall* y cyfarfod gweddi—y llall yr Ysgol Sabbothol—y llall ddirwest—y llall y gyfeillach—y llall cyfranu. Mae dynion neillduol wedi derbyn doniau at bethau neillduol; ac felly y mae oreu; "Canys pe baent oll un aelod, pa le y byddai y corff." Pe byddai pawb yn gofalu am yr un peth pa beth ddeuai o bethau eraill sydd yr un mor angenrheidiol i gorff Crist. "Nid ar fara yn unig y bydd byw dyn"—ac nid ar *gyfranu* yn unig, nac ar *ganu* yn unig, nac ar *bregethu* yn unig, nac ar *weddio* yn unig y bydd fyw crefydd. Fel y mae i holl aelodau y corff dynol eu dyben priodol; felly hefyd y mae i holl ddoniau yr eglwys eu gwasanaeth neillduol.

3. *Fel y mae gwahanol aelodau y corff dynol yn eu sefyllfaoedd priodol yn gwasanaethu eu gilydd; felly y mae gwahanol ddoniau yr Eglwys Gristionogol yn wasanaethgar y naill i'r llall.* Mae gwahanol aelodau y corff yn gwasanaethu eu gilydd. "Ac ni all y llygad ddywedyd wrth y llaw nid rhaid i mi wrthyt; na'r pen ychwaith wrth y traed nid rhaid i mi wrthyt. Eithr yn hytrach o lawer, yr aelodau a dybiwn ni eu bod wanaf ydynt angenrheidiol, a'r rhai a dybiwn ni eu bod yn anmharchedicaf o'r corff, yn nghylch y rhai hyny y gosodwn ychwaneg o barch ac y mae ein haelodau anhardd

yn cael ychwaneg o harddwch, oblegid ein haelodau hardd ni nid rhaid iddynt wrtho; eithr Duw a gyd-dymherodd y corff gan roddi parch ychwanegol i'r hyn oedd ddiffygiol. Fel na byddo annghydfod yn y corff, eithr bod i'r aelodau ofalu yr un peth dros eu gilydd. A pha un bynag a'i dyoddef a wna un aelod y mae yr holl aelodau yn cyd-ddyoddef; a'i anrhydeddu a wneir un aelod y mae yr holl aelodau yn cydlawenhau." Mae yr ymadroddion hyn yn dangos fod aelodau y corff yn ddibynol ar eu gilydd—yn wasanaethol i'w gilydd—ac yn cydymdeimlo â'u gilydd. Mae y llaw yn amddiffyn i'r llygad, a'r llygad yn gyfarwyddwr i'r llaw. Mae Menenius Agrippa yn defnyddio y gydmariaeth yma wrth geisio rhoddi i lawr wrthryfel y bobl yn erbyn y bendefigaeth, oblegid nad oeddynt yn ol eu barn hwy ond baich ar y wladwriaeth. Mae Menenius yn tybied fod holl aelodau y corff yn cyngreirio yn erbyn y cylla, oblegid nad oedd yn gwneyd dim er enill, dim ond treulio—ac y mae y dwylaw, y traed, a'r genau yn cyngreirio i beidio rhoddi dim iddo; a'r canlyniad naturiol oedd fod y corff dynol yn fuan yn treulio ymaith—o ddiffyg maeth i lenwi y cylla. Nid oes un ran o'r corff ar nad yw yn gwasanaethu yr holl ranau eraill. Yn eglwys Dduw y mae yr aelodau oll yn angenrheidiol i'w gilydd. Ac yn hytrach na dirmygu eu gilydd dylent werthfawrogi doniau eu gilydd. Ac yn fynych iawn yr aelodau hyny sydd yn ddisylw ac annghyoedd; y gostyngedig, yr hynaws, y tangnefeddus, a'r gweddigar, y maent yn fwy angenrheidiol i wir lwyddiant yr eglwys na'r rhai sydd yn fwy enwog am eu talent a'u dysgeidiaeth. Yn fynych y mae gan y tlawd gymhwysder neillduol at weddio a chynghori; tra y mae y cyfoethog yn ddiffygiol o'r cymhwysderau hyny, ond y mae ganddo yntau allu a chalon i gyfranu; ymhyfryded y naill yn nawn y llall, a thrwy gariad "gwasanaethwch eich gilydd." Yr oedd dau aelod gyda Gweinidog ffraeth unwaith. Un yn ddyn lled dlawd ond yn weddiwr doniol a ffyddlon yn mhob cyfarfod, ond ni byddai byth yn cyfranu dim. Y llall yn wr cyfoethog, rhoddai fwy

nag un chwech yn yr eglwys, ond ni weddiai, ac ni ddeuai i'r cyfarfod gweddi. Mynai yr hen frawd doniol, a rhai eraill ei alw ger bron i'w ddysgblu. "Gadewch iddo," meddai y Gweinidog. "Yr ydych chwi newyrth Dafydd yn rhoddi eich gweddiau yn hael, ac y mae Mr. P., yn rhoddi ei arian yn hael. Allwn ni ddim byw ar eich gweddiau chwi, heb ei arian ef; nac ar ei arian ef heb eich gweddiau chwithau. Mae eich eisiau eich dau arnom, a chwi wnewch un go dda rhyngoch." Eithaf priodol. Dylai y cyfranwr haelionus werthfawrogi ysbryd gweddi y tlawd na all gyfranu nemawr; a'r tlawd brisio yn briodol haelioni y cyfoethog. Dylai yr athrawiaethwr cryf werthfawrogi y Cristion profiadol; a'r Cristion profiadol barchu yr athrawiaethwr cryf. Dylai y *pwyllus* werthfawrogi gwroldeb yr anturiaethus, ac nid dyweyd *wrtho* am nad wyt yr un peth a mi, "nid rhaid i mi wrthyt." Yr oedd yr hen John Evans o'r Bala yn bregethwr araf, pwyllog, pur ddigynwrf, unwaith erioed, meddir, y chwysodd wrth bregethu; ac yr oedd ei oes yn danllyd iawn. Barnai ei hen frodyr na alwyd mo hono i bregethu, onide y cawsai ddawn at hyny; ac mewn rhyw gyfarfod misol, yn ei absenoldeb, penderfynwyd anfon ato i ddyweyd wrtho eu bod yn barnu mai gwell fuasai iddo roddi i fynu pregethu. Aeth y genad ato i'w hysbysu. "O, felly!" ebe yntau, "ewch chwi yn ol at y brodyr, a dywedwch wrthynt y pregethaf fi nes y gwelo yr Arglwydd yn dda godi rhyw un allo bregethu yn well na mi." Llygad craff fu yr hen John Evans i'r corff am driugain mlynedd. Ond aeth mor wan unwaith a dyweyd wrtho, "Nid rhaid i mi wrthyt."

Un galon sydd i Eglwys Dduw, ac y mae cydymdeimlad drwyddi oll. Mae dylanwad gan weddi yr hen wraig wrth erchwyn ei gwely gartref ar feddwl y Gweinidog yn ei fyfyrgell, a'i effeithiolaeth yn y pwlpud. Mae pob ysgogiad mewn natur yn cario ei dylanwad hyd at orsedd Duw. Mae dylanwad gweithred dda un aelod yn cerdded trwy yr eglwys i gyd. Mae y pethau lleiaf yn cario dylanwad grymus iawn. Dy-

wedai hen wraig dlawd, dduwiol, wrth y diweddar Dr. Beecher, "Nis gwn paham y mae yr Arglwydd yn fy ngadael ar y ddaear cyhyd; nid ydwyf o les i neb." "O! ydych," ebe Dr. Beecher, "yr ydych o les mawr i mi." "Pa les allaf fi fod i chwi, syr?" ebe yr hen wraig yn synedig iawn. "Wel," ebe y Dr., "yr ydych yn help mawr i mi i bregethu. Yr ydych pob amser yn eich lle yn yr eglwys yn brydlawn, pan y bydd llawer yn eisiau; mae hyny yn help mawr. Yr ydych bob amser yn effro yn gwrando, pan y bydd llawer o'ch amgylch yn cysgu; mae hyny yn help mawr i mi. A byddaf yn deall wrth weled y dagrau yn treiglo dros eich gruddiau, fod fy ngweinidogaeth yn gwneyd lles i'ch calon; ac y mae hyny yn galondid i'm hysbryd; ac y mae yn werth i chwi gael byw, pe na byddai ond er fy mwyn i." Ac y mae llawer Gweinidog yn yr un brofiad. Mae un ddawn grefyddol yn effeithio ar y llall,—mewn awyr haelionus y mae yn haws gweddio; ac mewn awyr wedi ei chysegru â gweddiau y mae yn ysgafn i bregethu. "A pha un bynag ai dyoddef a wna un aelod, y mae yr holl aelodau yn cyd-ddyoddef; ai anrhydeddu a wneir un aelod, y mae yr holl aelodau yn cydlawenhau."

Fel y mae gwahanol aelodau y corff yn eu sefyllfaoedd priodol yn gwasanaethu eu gilydd, felly y mae gwahanol ddoniau yr Eglwys Gristionogol yn wasanaethol y naill i'r llall.

4. *Fel y mae holl aelodau y corff dynol, wrth wasanaethu eu gilydd, yn cydwasanaethu i gynydd y corff, felly y mae gwahanol ddoniau yr Eglwys Gristionogol, wrth wasanaethu yn eu lleoedd priodol, yn cydwasanaethu i adeiladaeth corff Crist.* "Ond yn awr llawer yw yr aelodau, ond un corff." Maeth, cynydd, ac iechyd y corff ydyw amcan cydwasanaeth pob aelod. Wrth wasanaethu eu gilydd y maent yn cydwasanaethu y corff. Yr oedd gelynion yn parotoi i wneyd ymosodiad ar ddinas unwaith, deallodd y trigolion hyny a ffoisant ymaith oll, ond dau—un dall, ac un cloff, a dyna lle yr

oedd y ddau druain wedi eu gadael yn ddigymhorth. "Wel," meddai y dall wrth y cloff, "pe buasai genyf fi lygaid i weled, ni buaswn i fawr o dro yn rhedeg ymaith." "Y mae genyf fi eithaf llygaid," ebe y cloff, "pe buasai genyf draed i'm cario." "Mi ddywedaf i ti beth a wnawn ni," ebe y llall; "mi gymeraf fi di ar fy nghefn, cei di fod yn lle llygaid i mi, mi fyddaf finau yn lle traed i tithau;" ac felly fu; a diangodd y ddau. Y naill yn gwasanaethu y llall, ac yn cydwasanaethu i achub bywydau eu gilydd. Mae gwahanol ddoniau yr Eglwys yn cydwasanaethu i gynydd a pherffeithiad yr Eglwys. "Y rhai yn wir a osododd Crist yn ei Eglwys." "Ac a roddes rai yn apostolion, a rhai yn broffwydi, a rhai yn efengylwyr, a rhai yn fugeiliaid ac yn athrawon,—i berffeithio y saint i waith y weinidogaeth i adeilad corff Crist;" "Hyd oni ymgyfarfyddom oll yn wr perffaith, at fesur oedran cyflawnder Crist." Un amcan sydd i'r holl lafur. Er fod yma wahanol ddoniau, eto un amcan. "Ac y mae amryw ddoniau, eithr un Ysbryd; ac y mae amryw weinidogaethau, eithr un Arglwydd; ac y mae amryw weithrediadau, ond un Duw, yr hwn sydd yn gweithredu pob peth yn mhawb." "Canys fel y mae y corff yn un, ac iddo aelodau lawer, a holl aelodau yr un corff cydbyddont lawer, ydynt un corff; felly y mae Crist hefyd;" h. y., felly y mae corff Crist hefyd. "Yr Eglwys, yr hon yw ei gorff ef, ei gyflawnder ef, yr hwn sydd yn cyflawni oll yn oll." "O herwydd trwy un Ysbryd y bedyddiwyd ni oll yn un corff, pa un bynag ai Iuddewon ai Groegwyr, ai caethion ai rhyddion; ac ni a ddiodwyd oll i un Ysbryd." Peiriant ydyw Eglwys Dduw, mae yma filoedd o fân a mawr olwynion, ond y mae y cwbl dan reolaeth y Peirianydd doeth i'r un amcan. "Canys yn hyn y mae y gair yn wir, Mai arall yw yr hwn sydd yn hau, ac arall yw yr hwn sydd yn medi; a'r hwn sydd yn medi sydd yn derbyn cyflog, ac yn casglu ffrwyth i fywyd tragywyddol, fel y byddo i'r hwn sydd yn hau a'r hwn sydd yn medi lawenychu ynghyd." Un amcan sydd i holl lafur yr hauwr a'r medelwr—"casglu ffrwyth i fywyd tragywyddol." Y mae gwahanol ddoniau, ond un amcan.

Yn nyddiau yr Anghydffurwyr yr oedd Gweinidog duwiol o'r enw Ambrose Mostyn yn y Pant mawr, ger Llanfyllin, a deuai Vavassor Powell heibio yn achlysurol, ac yr oedd ei weinidogaeth yn rymus ac argyhoeddiadol iawn. Un prydnawn Sadwrn, yn y Pant mawr, ymddiddanai Mr. Mostyn â phedwar oedd i gael eu derbyn dranoeth; ac yn ol yr hen arfer dda gofynai iddynt pa beth a wasgodd ar eu meddyliau am fater enaid: ac atebent oll mai gweinidogaeth Vavassor Powell. Llwfrhaodd hyn feddwl Mr. Mostyn, ac ofnai na alwyd mo hono i bregethu, onide y rhoddasid iddo eneidiau yn seliau ei weinidogaeth. Methodd gysgu trwy y nos, ac yr oedd yn glaf dranoeth. Yr oedd y cyfeillion yn ofidus oblegid ei anhwyldeb. Ond aeth un hen frawd craff ato a deallodd ei ddolur—ac meddai, "Chwi wyddoch mai *cooper* ydwyf fi, ac y mae genyf lawer ar hyd y wlad yn tori coed, ond myfi sydd yn eu llunio at waith. Mae Vavassor Powell yn myned â'i fwyall finiog i gwympo y coed, mae eich gwaith chwithau yn yr Eglwys, i'w llunio a'u cymhwyso; yr ydych eich dau yn angenrheidiol fel offerynau i barotoi llestri trugaredd i ddal eu llon'd o ogoniant." Codwyd calon y Gweinidog, a daeth o'i wely at ei waith. Y Gweinidog yn y pwlpud—yr athraw yn y dosbarth—y fam ar yr aelwyd, un amcan i'r cwbl—"adeiladu corff Crist." "Casglu ffrwyth i fywyd tragywyddol."

## OL-NODIADAU.

*Mai peth pwysig iawn ydyw i bob aelod yn Eglwys Dduw adnabod ei ddawn.* Deall ei dalent; yn mha gylch y gall ef wasanaethu crefydd oreu. O! gynifer o ddynion sydd wedi rhedeg i gylchoedd a andwyodd eu defnyddioldeb. Mae ysfa am swydd wedi dinystrio gwerth llawer aelod gwasanaethgar. Mae gan bob dyn ryw gymhwysder i wasanaethu crefydd; ac ond iddo ddeall ei dalent, a'i gwrteithio, gall fod yn ddefnyddiol iawn.

*Y dylai gwahanol aelodau yr Eglwys barchu a gwerthfawrogi doniau eu gilydd.* Yn yr amrywiaeth y mae yr hardd-

wch. Y mae llawer dyn mor gul a hunanol fel nad oes gwerth yn ei olwg yn neb ar nad yw yn dwyn ei ddelw ef. Eiddo cyffredin yr Eglwys ydyw yr holl ddoniau, a dylem ymhyfrydu ynddynt oll.

*Mai peth peryglus ydyw bod yn aelod diffrwyth a gwywedig yn Eglwys Dduw.* Mae perygl i'r dyn ei hun, a pherygl i'r Eglwys oddiwrth hyny. Mae goddef aelod drwg mewn corff wedi nychu y cyfansoddiad lawer gwaith ; buasai ei dori ymaith mewn pryd yn arbed y bywyd. "Goddef y rhai drwg," oedd bai mawr Eglwys Asia. Mae aelodau gwywedig, meirw, yn lladd nerth yr Eglwys.

*Mai peth pur ddifrifol ydyw diarddel aelod o Eglwys Dduw.* Tori aelod oddiwrth gorff ydyw ; ac *nid oes neb* a wna hyny, ond wedi i bob peth arall fethu. Ni ddylid diarddel mewn nwyd, a byrbwylldra, a dialgarwch, ac mewn ysbryd plaid ; ond wedi pob ymdrech gan y dynion mwyaf ysbrydol i adgyweirio y cyfryw un mewn ysbryd addfwynder. Ac y mae rhyw deimlad yn parhau yn Eglwys Dduw dros y gwrthgilwyr. Mae rhyw ddwysder mwy yn ei gweddiau pan y daw at y gwrthgilwyr. Dywedai dyn gollodd ei fraich fod rhyw gydymdeimlad byth rhyngddo â hi ; nis gallasai oddef cyfeirio ati heb fod rhyw deimlad yn myned trwyddo. Felly hefyd y mae rhwng Eglwys Dduw a'r gwrthgilwyr. Nid mewn nwyd y dylid taflu neb allan o Eglwys Dduw. Unwaith yr ânt allan, anhawdd fydd eu dychwelyd. Mae llawer yn wan a gwywedig, ond dylid arfer pob dylanwad er "sicrhau y pethau sydd yn ol, y rhai sydd barod i farw." A'r gorchwyl diweddaf, wedi i bob peth arall fethu, ydyw i'r Eglwys "fwrw y dyn drygionus hwnw o'u plith."

Mae yr olwg y mae y testyn yn ei roddi ar Eglwys Dduw yn ein dysgu mai "*un yw hi;*" ac mai un amcan sydd i'w holl weithrediadau ; a phan y bydd ysbryd y testyn yn cael ei weithio allan yn llawn, bydd gweddi Crist wedi ei hateb—"FEL Y BYDDONT OLL YN UN."

# PREGETH XXII.

## YR ORSAF GENHADOL GYNTAF.

LUC xxiv. 47.
"Gan ddechreu yn Jerusalem."

Llefarwyd y testyn ar un o'r amgylchiadau hynotaf a gymerodd le erioed. Rhoddir yn y bennod hon adroddiad pwysig o hanes yr Arglwydd Iesu Grist; "y gwr gofidus a chynefin â dolur." Ei ymddangosiad i'w ddisgyblion wedi ei adgyfodiad—a'r "geiriau grasusol" a ddyferodd dros ei wefusau. Cyhoeddodd dangnefedd i'w meddyliau brawychus—cysurodd eu calonau trallodus—"dangosodd iddynt ei ddwylaw, a'i ystlys" er perffaith argyhoeddiad i'w meddyliau—"esboniodd iddynt y gyfraith a'r proffwydi am dano ei hun"—"agorodd eu deall fel y deallent yr ysgrythyrau"—awdurdododd hwy i fyned "a phregethu edifeirwch a maddeuant pechodau yn ei enw ef yn mhlith yr holl genhedloedd"—a sefydlodd ar Jerusalem fel gorsaf gychwynol eu llafur "gan ddechreu yn Jerusalem." Mae Iesu Grist yma yn sefyll mewn lle hynod, y rhan ddyoddefol o'i waith wedi ei gwblhau—a'r oruchwyliaeth weinidogaethol oedd i ddwyn ei achos yn mlaen ar gael ei sefydlu. Y Gwaredwr wedi marw ac adgyfodi, a'r disgyblion yn cael eu hawdurdodi i fyned i'r holl fyd i hysbysu hyny. Mae "y cwpan a roddes y Tad iddo i'w yfed," gwaddod y cwpan erchyll," wedi ei sychu. Mae y cleddyf gloyw, a dysglaer a ddeffrodd i'w daro, wedi ei lonyddu a'i ddigoni mewn aberth, ac wedi dychwelyd yn ol i'w wain. Mae dydd tymhestlog arllwysiad cymylau y dialedd wedi pasio, a'r awyr-

gylch wedi clirio. Mae y gwinwryf wedi eu sathru, a'r gyngafnau wedi eu gorlenwi. Mwyach nid yw ei gnawd briwedig yn crogi ar bren—ei ben dolurus dan y goron ddrain—a'r bicell yn cael ei chladdu yn ei galon glwyfus. Mae melldith y ddeddf—grym pechod—colyn angau—llid y ddaear—cynddaredd uffern—a digter Duw *wedi* cydarllwys eu digofaint arno. Mae darostyngiad y bedd byth wedi pasio—y cadwynau wedi dryllio—y barau wedi eu chwilfriwio—angau wedi ei goncro—agoriadau ei gelloedd wedi eu hyspeilio. "Yr hwn oedd a nerth marwolaeth" ganddo wedi ei ddinystrio—a'r Tywysog gorchfygol a'i droed ar wddf angau yn bloeddio, "byw ydwyf yn oes oesoedd." Ac yn rhoddi yr awdurdod i'w weision ffyddlonaf i fyned allan i'r byd i *gyhoeddi y newyddion*, a gwneyd yn hysbys trwy yr holl ddaear y *bendithion* pwrcasedig trwy ei lafur. "A phregethu edifeirwch, a maddeuant pechodau yn ei enw ef yn mhlith yr holl genhedloedd; gan ddechreu yn Jerusalem."

*Eu swyddogaeth*; "pregethu"—esbonio, egluro, cyhoeddi, mynegi gwirioneddau yr efengyl. Mae mewn gwir bregethu oleuo y deall—gwresogi y serchiadau—a deffroi y gydwybod. Gwna y cyntaf ddyn yn bregethwr synwyrol. Gwna yr ail ddyn yn bregethwr bywiog. Gwna y trydydd ddyn yn bregethwr difrifol. Ond y tri gyda'i gilydd a wna ddyn yn "weinidog da i Iesu Grist."

*Testyn eu gweinidogaeth;* "edifeirwch a maddeuant pechodau." Mae edifeirwch yn tybied fod ryw gamwri wedi bod, y camwri mawr yma oedd "croeshoelio Arglwydd y bywyd." Mae edifeirwch yn cynwys gofid dwys am bechod—casineb gwirioneddol at bechod—cyfaddefiad gonest o bechod—ac ymadawiad llwyr â phechod; "*pregethu edifeirwch*;" esbonio iddynt beth ydyw, a dangos y priodoldeb o hono. "*A maddeuant pechodau*;" cyhoeddi fod maddeuant—egluro telerau maddeuant—a chyfeirio at ffrwythau maddeuant. Mae edifeirwch a maddeuant wedi eu cysylltu â'u gilydd, mae y naill yn ddyledswydd dyn, a'r llall yn ras Duw.

*Sylfaen cyhoeddiad y genadwri;* "yn ei enw ef." Yn ei awdurdod ef; ac yn ei haeddiant ef. Defnyddir yr ymadrodd "yn ei enw ef" yn y ddau ystyr. "Ni a welsom un yn bwrw allan gythreuliaid *yn dy enw di;*" hyny ydyw, yn dy awdurdod di. "Yn enw Iesu o Nazareth cyfod a rhodia;" hyny yw, yn ei awdurdod ef. "Ac nid oes iachawdwriaeth yn neb arall, ac nid oes *enw arall* dan y nef wedi ei osod yn mhlith dynion trwy yr hwn y mae yn rhaid i ni fod yn gadwedig." *Yn ei haeddiant ef.* "A hyn fu rhai o honoch chwi, eithr chwi a olchwyd, eithr chwi a sancteiddiwyd, eithr chwi a gyfiawnhawyd *yn enw yr Arglwydd Iesu.*" *Yn ei haeddiant ef.* Gallwn ei gymeryd yma yn y ddau olygiad. Myned allan i bregethu yn ei awdurdod ef—wedi eu danfon ganddo ef—a chyhoeddi maddeuant yn ei haeddiant, ei aberth, ei gyfryngdod ef. "Yn ei enw ef."

*Cylch y weinidogaeth;* "yn mhlith yr holl genhedloedd." O'r blaen gwaherddid hwy i fyned "i ffordd y Cenhedloedd." Ond yn awr y mae "canolfur y gwahaniaeth wedi ei dynu ymaith." "Yn Nghrist Iesu nid oes nac Iuddew na Groegwr," enwaediad na dienwaediad, ond "Un Arglwydd ar bawb, sydd oludog i bawb sydd yn galw arno." Mae "gras Duw wedi ymddangos yn dwyn iachawdwriaeth *i bob dyn.*" Mae "Iawn wedi ei roddi dros bechodau *yr holl fyd.*" Mae Iesu Grist wedi "marw *dros bawb,*" a thrwy "ras Duw wedi profi marwolaeth *dros bob dyn.*" Gan hyny y mae gwyneb y weinidogaeth "*ar holl gyrau y ddaear.*" Mae llais ar "bob un sydd a chlustiau ganddo." Mae ei darpariadau ar gyfer "*pob creadur.*" Mae ei galwadau ar "*yr holl fyd;*" a'i thestyn i gael ei bregethu "*yn mhlith yr holl genhedloedd.*"

*Gorsaf gychwynol ei llafur;* "gan ddechreu yn Jerusalem." Jerusalem oedd gorsaf gychwynol yr apostolion. Mae hyny yn eglur yn eu hawdurdodiad. Mae neillduolrwydd yn y gorchymyn—mae gofal wedi ei gymeryd i ddyweyd wrthynt pa le i ddechreu. Nid dygwyddiad oedd hyn; rhaid fod rhyw reswm drosto, a rhyw egwyddorion neill-

duol yn cael eu dadblygu ynddo, yr hyn fydd testyn ein hymchwiliad.

PAHAM "GAN DDECHREU YN JERUSALEM?"

Yr oedd sefyllfa y ddinas a'i chyfleusderau gwladol a chymdeithasol yn gwneyd hyny ynddo ei hun yn dra phriodol; ac yr oedd hefyd amcanion neillduol yn ngolwg yr Arglwydd Iesu Grist wrth orchymyn felly. Paham yn

1. *Er anrhydeddu gosodiadau dwyfol yr hen oruchwyliaeth.* Cyfundraeth ddwyfol oedd Iuddewaeth. Cyfaddaswyd hi i'r byd yn ei sefyllfa fabanaidd, yr oedd i fod "ein hathraw ni at Grist," ac i barhau "hyd amser y diwygiad." Gan yr Arglwydd y cawsant eu cyfreithiau. Efe a ordeiniodd eu swyddogion, benododd eu haberthau, *sefydlodd eu* defodau, apwyntiodd eu gwyliau, ac a nododd *eu terfynau*—"y winllan ydoedd a blanodd ei ddeheulaw." Yr oedd yn eiddigeddus iawn dros ei ordeiniadau, a blinai yn dwyn beichiau seremoniol y rhai a wnant "orchymyn Duw yn ddirym trwy eu traddodiadau eu hunain." Iuddew oedd Iesu Grist, "o'r rhai yr hanodd Crist yn ol y cnawd," a dangosodd ymostyngiad manwl i ordeiniadau *dwyfol* y grefydd Iuddewig. Yr oedd Iesu Grist yn Iuddew llawer mwy defosiynol na'r rhai a'i beient o eisiau dilyn eu defodau cnawdol hwy. Jerusalem oedd gorseddfa Iuddewaeth, dyma eisteddfa crefydd yr hen oruchwyliaeth, dyma "y man lle yr oedd yn rhaid addoli," oddiyma yr oedd y "gyfraith i fyned allan, a gair yr Arglwydd i gychwyn." Safai "y ddinas sanctaidd" mewn llanerch gysegredig, amddiffynid hi gan y mynyddoedd o amgylch, sibrydai y Cedron rhwng y ceulanau, â dyffryn Jehosaphat a addurnid â phrydferthion natur. Mae wedi ei "hadeiladu fel dinas wedi ei chydgysylltu ynddi ei hun;" ei thyrau a ddyrchent eu penau i'r nefoedd, ei rhagfuriau a herient arfau y gelynion, a harddwch ei phalasau a'i gwnelai "yn degwch bro, llawenydd yr holl ddaear." Ond ei phrif ogoniant oedd y deml, cysegr yr Anfeidrol, "preswylfa Duw gyda dyn ar y ddaear," eisteddle y presenoldeb Dwyfol, lle y safai y drugar-

eddfa, am yr hon y dywedodd Duw "Myfi a gyfarfyddaf â thi yno." Jerusalem—dyma "ddinas y brenin mawr." Yma "Duw yn ei phalasau a adwaenir yn amddiffynfa," bendithiai ei thlodion â lluniaeth, gwisgai ei hoffeiriaid âg iachawdwriaeth, a'i saint dan ganu a ganant." Yma yr oedd eisteddfa cyfiawnder—"gorseddfeinciau barn, gorseddfeinciau tŷ Dafydd," cynullfan addoliadau crefyddol yr hen oruchwyliaeth, lle y cynalient eu gwyliau arbenig, ac y dygent aberthau i'w cyflwyno i Arglwydd yr holl ddaear. Yr oedd calon yr Iuddew yn rhwym wrthi. Dyma "ddymuniant ei lygaid," ymhyfrydai yn ngheryg ei muriau, carai lwch ei heolydd—"Os anghofiaf di Jerusalem, anghofied fy neheulaw ganu; glyned fy nhafod wrth daflod fy ngenau, oni chofiaf di, oni chodaf Jerusalem goruwch fy llawenydd penaf." Yn awr, gan fod Cristionogaeth yn llyncu Iuddewaeth iddi ei hun—y cyntaf yn cael ei symud er rhoddi lle i'r ail—nid oedd dim yn fwy naturiol a rhesymol nag i'r cyhoeddiad cyntaf o honi gymeryd lle yn eisteddfa Iuddewaeth. Nid oes yma unrhyw ddirmyg ar Iuddewaeth, na gwrthodiad o'r Iuddewon; oblegid cyfeiriodd ei llais yn gyntaf atynt, a rhoddwyd y cynyg cyntaf iddynt hwy, i arddangos fod anrhydedd yn cael ei gysylltu â'r hen oruchwyliaeth fel trefniant paratoawl i "weinidogaeth fwy rhagorol."

2. *Er tystiolaeth o ddwyfoldeb awdurdod yr Efengyl.* Mae Cristionogaeth yn cychwyn allan gan "ddwyn rhywbeth dieithr i glustiau dynion." Honiadau uchel ei gweinidogaeth ydyw "farw o Grist dros ein pechodau ni, a'i gladdu, a'i gyfodi y trydydd dydd." Ar y colofnau hyn y mae teml Cristionogaeth yn sefyll. Os cyfododd, sicr iddo gael ei gladdu; os claddwyd ef, sicr iddo farw. Nid rhyfedd fod adgyfodiad Crist yn cael lle mor eglur yn y weinidogaeth apostolaidd. Dyma brif golofn Cristionogaeth. Gwadu y ffaith yma fyddai yn ddymchweliad arni. "Ofer yn wir fydd ein pregeth ni, ofer hefyd yw eich ffydd chwithau." Yn awr, nid yw y pwnc yma ddim wedi ei adael i'w benderfynu rhwng llwythau a

chenedlaethau heb gyfle i farnu cywirdeb y ffeithiau; ei gorchymynodd Crist i'w ddysgyblion i fyned i'w pregethu yn gyntaf yn y lle y digwyddasant. Yma gwelwn ei dwyfoldeb yn ei chyhoeddiad cyntaf. Cymerasai twyllwyr fuasent am sefydlu crefydd newydd lwybr tra gwahanol. Ciliasent yn mhell o'r fan yr honent i hyny gymeryd lle, dylanwadasent ar anwybodaeth a hygoeledd dynion, gochelasent ddwyn eu hanesiadau i'r golwg yn nghlyw y craff a'r deallgar, ac ymgroesasent rhag unrhyw ymchwiliad i'w haeriadau. Ond esboniwyd didwylledd yr Efengyl yn ei chynygiad cyntaf. Mynodd Crist i'w ddysgyblion fyned i le amlaf y bobloedd, i synagogau yr Iuddewon, i ddinas Jerusalem, i glyw y rhai a'i croeshoeliodd ef, ac i bregethu rhinwedd ei aberth cyn i'w waed sychu oddiar bren y groes. Nis gallasai y pethau hyn fod yn dwyll. Nid oedd yn haws ffugio yn Jerusalem nag a fyddai ffugio yn Nghymru: oblegid yr oedd yn y byd, y pryd hwnw, lawn cystal barnwyr ar ffeithiau ac sydd yn awr. Ac yn sicr, nid oedd ffafr iddynt: oblegid yr oeddynt yn cynyg chwyldröad trwyadl yn nodwedd ac ysbryd crefydd yr oes. Yr oedd ganddynt uchelgais sanctaidd i ymgyraedd ato, dim llai na llwyr ddymchweliad holl grefyddau y byd er cael lle i'w crefydd newydd hwy. Nid cynyg duw newydd yn nheml yr eilun, ond gosod yr eilun a'i deml ar dân, a seremoniau yr Iuddew yn wenfflam, a chodi oraclau Cristionogaeth i fynu i ddysgu y byd. Nid gofyn caniatad i *enrolio* enw Iesu o Nazareth yn mysg duwiau y byd; ond taflu yr holl ddelwau a'r duwiau i'r wadd ac i'r ystlymod, a chyhoeddi yn uchel lle y clywo yr addolwyr,—"Un Duw sydd, ac un cyfryngwr hefyd, rhwng Duw a dynion, y dyn Crist Iesu." Nid ymofyn darn o dir i godi teml i Grist, dalcen yn nhalcen a themlau yr eilunod, ond chwalu eu temlau hwy i'r llawr, ac ar yr adfeilion godi teml i "Arglwydd yr holl ddaear." Mae yr amcan yn uchel, ond pa le y cynygir y grefydd newydd yma i ddechreu? "Yn *Jerusalem!*" Pe na buasai yn ddwyfol, buasai yn wallgofrwydd ei chynyg yn Jerusalem, dymchwelasid hi ar unwaith

cauasid genau ei phregethwyr gan anghymeradwyaeth y bobl, profasid ei honiadau yn gelwyddog gan fil o dystion, a gordoiasid ei hamddiffynwyr â gwawd a chywilydd. Ond er fod holl ragfarnau yr Iuddewon yn erbyn ei dylanwad, ei dysgeidiaeth yn ei gwaradwyddo, eu hawdurdod yn ei gormesu, a'i sylfaenydd wedi marw mewn gwarth yn y lle "o farwolaeth felldigedig y groes;" eto, y fath oedd eu hyder diofn yn nghywirdeb eu hachos, a'u crediniaeth yn nwyfoldeb eu cenadwri, fel y safasant heb ymgeisio am ffafr dynion, nac ymollwng dan yr holl anfanteision; safasant brawf yn ngoleu haul, cyhoeddasant y ffeithiau yn llygaid goleuni, datganasant eu cenadwri yn nghlyw y llofruddion, ac wele seliau eu gweinidogaeth yn amlwg: "A gair Duw a gynyddodd, a rhifedi y dysgyblion yn Jerusalem a amlhäwyd, a thyrfa fawr o'r Offeiriaid a ufuddhasant i'r ffydd." Mae y frawddeg fechan yma yn llefaru cyfrolau dros ddwyfoldeb yr Efengyl. "Gan ddechreu yn Jerusalem."

3. *Er profi cymhwysder ac effeithiolrwydd y drefn.* Yr oedd ei chynyg yn Jerusalem yn dystiolaeth o'i dwyfoldeb, ac y mae ei chymhwysder iddynt yn brawf o'i heffeithiolrwydd. Os etyb yma, gellir anturio gyda hi i bob man arall; oblegid os oedd Jerusalem wedi ei dyrchafu yn uchel mewn breintiau, yr oedd hefyd wedi ei darostwng yn isel trwy ei phechodau. Os ynddi y llefarai oraclau y nefoedd, ynddi hefyd yr oedd pechodau a'i darostyngai hyd yn uffern. Lliwiwyd ei heolydd â "gwaed y saint, gwaed y proffwydi, a gwaed y rhai cyfiawn." Ynddi yr oedd llofruddion Arglwydd, y bywyd, y rhai a drochodd eu dwylaw yn ngwaed y Ceidwad, ac a rwygodd yr awyr â'r floedd ofnadwy—"*Ymaith ag ef, croeshoelier ef!*" Ond, meddai Iesu Grist, cynygiwch y drefn *yna* i ddechreu; ac os gweithia hi *yna*, "Ewch i'r holl fyd" wedi hyny. Wrth dreio peiriant newydd, rhoddir mwy o nerth a phwysau arno nag fydd eisiau yn arferol, fel os deil *hyny*, y cyflawna y gwaith cyffredin gyda rhwyddineb. Treiwyd peiriant gras yn Jerusalem. Ar ddydd y Pentecost y gwnaed

y prawf. Yr oedd yno dyrfa fawr wedi dyfod yn nghyd o wahanol fanau, a'r dynion caletaf y safodd pregethwr uwch eu penau erioed; chwarddent am ben yr addolwyr, gwawdient ddisgyniad y tafodau gwahanedig megis o dân, a haerent mai meddwon oedd y bobl oedd dan deimladau gwir grefyddol yn addoli Duw. Safodd Pedr i fyny y pregethwr dewr, gwrol a thanllyd; ac wedi "ei wisgo â nerth o'r uchelder;" disgynai ei weinidogaeth yn gawodydd tanllyd ar y gynulleidfa, cerddai awdurdod ei eiriau fel hylif cysegredig trwy y dyrfa; yr oedd pob meddwl yn rhwym gan feddwl y pregethwr, pob calon yn deml neillduedig i'w destyn, a phob mynwes wedi ei thwymno gan gariad y gwirionedd. Yr oedd y dyrfa ar eu traed yn llawn llygaid yn craffu arno, ac yn derbyn y weinidogaeth o'i enau "fel y ddaear yn yfed y gwlaw," a'r genadwri yn "disgyn fel gwlithwlaw ar irwellt, neu gawodydd ar laswellt," nes y torwyd ar draws cadwyn hyawdledd ysbrydoledig y pregethwr gan fonllefau y miloedd wedi "*eu dwys bigo yn eu calon,*" Ha, wyr frodyr, beth a wnawn ni?" Dyna, mae y peiriant yn brofedig, "Ewch i'r holl fyd," bellach. Y drefn orchfygodd *yna*, gall orchfygu yn mhob man. Nid yw fod y drefn wedi ateb *yno*, yn ei gwneyd ynddi ei hun yn ddim gwell; ond y mae yn rym mawr i ni ei phregethu, ac yn galondid mawr i chwithau i wneyd derbyniad o honi. Nid yw fod meddyginiaeth wedi gwella eraill yn ychwanegu un gradd at ei rhinwedd, ond y mae yn wroldeb mawr i feddwl y claf i wneyd prawf arni. Mae meddyginiaeth gras yn brofedig. Mae tystion luaws yn barod i godi i brofi y gwirionedd. "Efe a ddichon hefyd yn gwbl iachâu." Y mae achubiaeth pechaduriaid mawr yn gof-golofnau eglur o ras mawr, ac yn dangos cymhwysder ac effeithiolrwydd y drefn i "achub hyd yr eithaf." Dywedai yr hybarch John Newton wrth Mr. Jay o Bath, pan oedd yn ddyn ieuanc wedi ei benodi i draddodi y bregeth genhadol, ac mewn gradd o amheuaeth a ddaeth yr amser i efengyleiddio y byd, "*Fy mrawd ieuanc,*" ebe Mr. Newton, gyda thôn ddifrifol, gynhyrfus; "*nid wyf wedi er*

*heu gallu Duw i achub y byd byth er y pryd yr achubodd efe fi.*" Felly y dywedwn ninau, y drefn a orchfygodd yn Jerusalem, mae yn alluog i orchfygu y byd. Teimlwn betrusder a digalondid yn ein meddwl gyda golwg ar debygolrwydd dychweliad rhai o'n gwrandawyr sydd wedi dal y gweinidogaethau llymaf, a goroesi nerthol ddiwygiadau, nes y clywn ni ambell i bechadur mawr, fel Saul o Tarsis, o'r dyfnder yn gwaeddi, "*Myfi a gefais drugaredd.*" A thra y byddo adsain hyny yn ein clustiau,—ildwn ni ddim i ddamnio y penaf: oblegid "*gallu Duw yw hi* er iachawdwriaeth i bob un sydd yn credu."

4. *Er arddangos hynawsedd a maddeugarwch calon y Ceidwad.* "Gan ddechreu yn Jerusalem." Beth! a gaiff Jerusalem gynyg? *Jerusalem*—y ddinas y disgynodd cawodydd ei addysgiadau arni yn ofer. *Jerusalem*—y ddinas chwarddodd yn ngolwg ei ddagrau pan wylai drosti. *Jerusalem*—y ddinas y cablwyd ei enw, y gwawdiwyd ei wyrthiau, y cyhuddwyd ef, fod cyngrair rhyngddo â chythreuliaid uffern, ac yr hyrddiwyd ef i'r groes fel adyn gwrthodedig gan gymdeithas. Gallasem ddysgwyl ei glywed yn dyweyd mewn llidiawgrwydd angerddol—"A phregethu edifeirwch a maddeuant pechodau yn ei enw ef yn mhlith yr holl genedloedd;" *ond* na sanged gwadnau eich traed balmant ysgymunedig Jerusalem, torer hi ymaith yn anobeithiol ac yn anadferol, disgyned tân Duw o'r nefoedd ac ysed drigleoedd yr anwir a llosger ffau y llofruddion; mewn un awr bydded ei chosb hi, yn anghyfanedd a heb drigianydd y gadawer hi, ac a gorlifiad dialeddol cyfiawnder ysguber hi. "Cyfoded Duw, a gwasgarer ei elynion." Y cyfryw fuasai iaith teimladau dynol uwchben y fath lofruddion ysgeler; ond ymbwyllwch a gwrandewch ar neillduolrwydd eu hawdurdodiad,—"A phregethu edifeirwch a maddeuant pechodau yn ei enw ef yn mhlith yr holl genedloedd, *gan ddechreu yn Jerusalem.*" Rhowch gynyg iddynt, a rhowch y cynyg cyntaf iddynt. O galon haelfrydig! O deimlad tosturiol! O fynwes faddeugar!

Ceidwad dyn! Un o'i eiriau olaf ef cyn marw ydoedd,—"O *Dad maddeu iddynt!*" ac un o'i eiriau cyntaf wedi adgyfodi ydoedd,—"*Gan ddechreu yn Jerusalem!*" Melldithiai Dafydd ei elynion gyda'i anadl ddiweddaf, a thyngedai Solomon ei fab i ddial ar Joab a Simei; ond dyma Geidwad pechadur yn gweddio dros ei elynion wrth farw, ac yn awdurdodi ei ddysgyblion i gyhoeddi maddeuant iddynt yn ei angeu ef y peth cyntaf wedi adgyfodi. "*Gan ddechreu yn Jerusalem!*" Ewch at gadair Moses, ac i'r neb a eistedda arni "pregethwch edifeirwch a maddeuant pechodau yn ei enw ef." Ewch i lys y Sanhedrim, a phwy bynag yw y gwyr sydd yn ei gyfansoddi, "pregethwch iddynt edifeirwch a maddeuant pechodau yn ei enw ef." Ewch at Caiaphas yr *archoffeiriad, a'r* fintai feitrog sydd gydag ef, a chyhoeddwch iddynt "*edifeirwch* a maddeuant pechodau yn ei enw ef." Ewch at Herod a'i filwyr creulawn, a "phregethwch iddynt edifeirwch a maddeuant pechodau yn ei enw ef." Ewch at Pilat y barnwr anghyfiawn, *staeniodd* ei gydwybod âg euogrwydd er boddio y bobl, a "phregethwch iddo edifeirwch a maddeuant pechodau yn ei enw ef." Chwiliwch weithdai y gofaint, siopau y seiri, a gwarchod-leoedd y milwyr—am y gôf a wnaeth yr hoelion, y saer a wnaeth y groes, a'r milwyr a blethodd y goron ddrain ac a wanodd ei ystlys, a "phregethwch iddynt edifeirwch a maddeuant pechodau yn ei enw ef." Cyhoeddwch yn uchel lle y clywo yr holl ddinas, y gellir golchi euogrwydd y croeshoeliad oddiar eu cydwybodau cyn y sycho y gwaed oddiar eu gwisgoedd. O galon faddeugar!! Dyma draethawd ar barodrwydd Duw i faddeu mewn un frawddeg, nas gall athrylith y byd gyfansoddi ei ail—"GAN DDECHREU YN JERUSALEM."

A raid wrth ryw gasgliad? Os rhaid, dyma fe, *Fod calon y Ceidwad yn llawn awydd am achub.* Mae y testyn yn brawf o hyn. Yr oedd arno awydd yno, ac y mae arno awydd yma.

A raid wrth ryw gymhwysiad? Os rhaid, dyma fe, *Mai peryglus ofnadwy fydd dibrisio trefn mor raslawn.* Mae

geirwiredd Duw yn sicrhau mai ofnadwy fydd tynged y rhai a'i gwna. Digiodd Duw yn fwy wrth yr Iuddewon am wrthod Crist yn y weinidogaeth, nag am ei groeshoelio. Cawsant y cynyg cyntaf arno; ond gan iddynt anghredu yn y drefn, rhoddodd Duw hwynt i fynu. Gwrthod y Mab ydyw y pechod mawr. "Caru y tywyllwch yn fwy na'r goleuni,"—dyna yw y ddamnedigaeth.

# PREGETH XXIII.

## RHYFYG GYDA PHETHAU CYSEGREDIG.

2 SAMUEL vi. 6, 7.

"A phan ddaethant i lawr-dyrnu Nachon, Uzzah a estynodd ei law at arch Duw, ac a ymaflodd ynddi hi; canys yr ychain oedd yn ei hysgwyd. A digofaint yr Arglwydd a lidiodd wrth Uzza; a Duw a'i tarawodd ef yno am yr amryfusedd hyn; ac efe a fu farw yno wrth arch Duw."

Coffr bychan oedd yr arch, yn dair droedfedd a naw modfedd o hyd, yn ddwy droedfedd a thair modfedd o led; ac yn ddwy droedfedd a thair modfedd o uchder. Yr oedd wedi ei gwneyd o goed Sittim, a'i gwisgo oddifewn ac oddiallan ag aur coeth. Ar ei hochrau yr oedd pedair o fodrwyau aur, dwy o bob tu; trwy y modrwyau hyn yr oedd y trosolion yn rhedeg, a'r trysolion hyny ar ysgwyddau y rhai oedd yn ei dwyn, Yn yr arch yr oedd "y crochan aur a'r mana ynddo, a gwialen Aaron yr hon a flagurasai, a llechau y cyfammod." Yn gauad ar yr arch yr oedd y drugareddfa wedi ei gwneyd o aur pur. Yn nau pen y drugareddfa yr oedd dau gerub o

aur, wedi eu gwneyd o gyfanwaith morthwyl, yn lledu eu hesgyll i fynu dros y drugareddfa a'u hwynebau y naill at y llall. Rhwng y cerubiaid ar y drugareddfa yr oedd y Sechina, yr arwydd o'r presenoldeb dwyfol; ac ar y drugareddfa yr oedd addewid barhaus Duw i Israel, "A mi a gyfarfyddaf a thi yno." Yr oedd yr arch gan y genedl yn mhabell y cyfarfod pan byddent yn aros: ac yn cael ei chario ar ysgwyddau y Lefiaid pan y byddent yn symud. Ar ol myned i wlad Canaan bu yr arch am beth amser yn Gilgal, a chymerwyd hi oddiyno i'r tabernacl yn Siloh. Yn eu rhyfel a'r Philistiaid, wrth weled eu bod yn colli y dydd cymerodd Israel arch Duw o Siloh i faes y frwydr gydag amcan i sicrhau *buddugoliaeth*; ond y Philistiaid oedd yn gorchfygu, "ac arch *Duw a ddaliwyd*." Cymerodd y Philistiaid yr arch i Asdod, a gosodasant hi yn nhŷ eu duw Dagon, yn ymyl yr eilun—ond syrthiodd Dagon ger ei bron, a bu arch Duw yn farn arnynt. Wedi iddi fod yno saith mis maent yn gymgynghori pa fodd i gael gwared o honi. Mae offeiriaid a dewiniaid y Philistiaid yn cynghori pa fodd i'w chymeryd ymaith; ar fèn newydd, yn cael ei thynu gan ddwy fuwch flith; a'r Arglwydd yn cyfarwyddo y buchod i fyned ar hyd ffordd uniawn i Bethsemes. Mae yn dyfod yno yn amser y cynhauaf gwenith; ac y mae gwyr Bethsemes yn llawen iawn ei gweled ac yn offrymu poeth offrymau i'w chroesawu; ond y maent yn gwneyd yn rhy hyf arni, ac yn edrych i mewn iddi; fel y cyffrodd eiddigedd yr Arglwydd yn eu herbyn a lladdwyd o honynt haner can mil a deg a thriugain o wŷr. Mae gwyr Bethsemes yn brawychu rhag presenoldeb yr arch; ac yn anfon cenhadau at wyr Ciriath-jearim i ddyfod i'w chyrchu; ac y mae yn cael ei dwyn i dŷ Abinadab ar fryn Gibeah, ac yn cael ei rhoddi dan ofal Eleazar, ac y mae yn aros yno am ugain mlynedd.

Daeth i feddwl Dafydd i gael yr arch i'w thrigfan sefydlog ei hun; a chasglodd ddeng mil ar hugain o etholedigion Israel i'w dwyn. Gosodasant hi ar fèn newydd, ac ychain yn ei dwyn; ac Uzza ac Ahio meibion Abindab yn ei gyru. Ar

ysgwyddau ac nid ar fèn y dylesid ei dwyn. Nid oedd fod yr Arglwydd wedi cyfryngu ar ei dygiad o wlad y Philistiaid yn diddymu ordeiniad Duw. Yr oedd Dafydd a holl Israel yn myned yn orymdaith drefnus dan ganu a phob offer cerdd. Tebyg eu bod yn canu yr Salm lxviii, neu yr Salm cxxxii. Wrth eu bod yn dyfod i lawr-dyrnu Nachon yr oedd yr ychain yn ysgwyd yr arch, estynodd Uzza ei law at arch Duw a gwnaeth hyny mor feiddgar ger bron yr holl bobl i ddangos mor hyf y gallasai efe wneyd ar arch Duw. Llidiodd digofaint yr Arglwydd yn erbyn Uzza ; a tharawyd ef am ei hyfdra a'i ryfyg fel y bu farw yno wrth arch Duw. Mynodd Duw argraffu ar eu meddyliau trwy rwygiad Uzza nad oedd ei arch ef i gellwair â hi.

Mae y testyn yn rhoddi cyfle manteisiol iawn i alw sylw at "bechod parod i amgylchu" lluaws mawr yn y dyddiau hyn ; a phechod y mae lle cryf i ofni sydd yn cynyddu yn ddirfawr : a dyna ydyw.

RHYFYG GYDA PHETHAU CYSEGREDIG.

Dyna y drwg yn ei ffurf eithafol. Mae yn dechreu mewn diofalwch, yn myned rhagddo i esgeulusdra, yn cynyddu i ddibrisdod, yn gweithio allan i anmheuaeth, yn cyflymu i hyfdra, yn arwain i gellwair, ac yn terfynu mewn rhyfyg gyda phethau dwyfol. Yn erbyn y drwg mawr hwn y dymunwn ddyrchafu fy llais gan gyfeirio yn benaf at ieuenctyd ein cynulleidfaoedd ; deiliaid ein Hysgolion Sabbothol, a phlant rhieni crefyddol sydd mewn perygl mawr o dyfu i fynu yn hyf a chellweirus gyda phethau sanctaidd. Er cynyg codi gwrthglawdd yn erbyn rhyfyg gyda phethau dwyfol ; cyflwynwn i sylw yr ystyriaethau canlynol.

*Fod hir gynefino a phethau dwyfol yn gosod dynion mewn profedigaeth i fyned yn hyf arnynt.*

Mae yn ddeddf berthynol i'r meddwl fod hir gynefino ag unrhyw beth yn peri ei fod yn colli ei argraff arnom. Mae cynefino â golygfeydd aruchel natur yn lleihau eu rhyfeddol-

rwydd i'r meddwl. Mae enaid yr ymwelydd dieithrol yn cael ei gynhyrfu gan olygfeydd mawreddog Arfon a Meirion. Y mynyddoedd uchel—y clogwyni serth—y rhaiadrau trystfawr—a'r llynoedd tryloewon. Ond nid yw y rhai sydd wedi eu magu yn eu hymyl yn synu dim atynt. Mae llawer hen ŵr wedi byw driugain mlynedd wrth droed y Wyddfa, ac erioed heb weled yn werth myned i'r drafferth i ddringo i'w chopa; er fod cannoedd o ddynion o bob cwr i'r deyrnas yn dyfod bob blwyddyn o gywreinrwydd i'w gweled.

Mae cynefino â pheryglon mawrion yn dileu eu harswydolrwydd oddiar y meddwl. Mae y morwr o herwydd cynefino ag ystormydd yn hwylio dros dònau y môr yn gwbl ddiofn. Mae y glöwr o herwydd cynefino â'r peryglon *tan ddaearol* yn disgyn i galon y ddaear yn hollol ddiarswyd. Mae y milwr drwy gynefino â thwrf magnelau yn gwynebu maes y rhyfel yn gwbl ddigryn. Er fod y peryglon yr un, eto y mae cynefino â hwy yn peri i'w harswyd gilio o'r meddwl.

Mae cynefino â gweithredoedd drygionus yn peri fod eu hysgelerder yn myned yn llai yn ein golwg. Pan y daeth y dyn ieuanc gyntaf i'r dref yr oedd "ei ysbryd yn cynhyrfu ynddo wrth weled y ddinas" wedi ymroddi i lygredigaeth—masnachdai yn agored ar ddydd yr Arglwydd—menywaid digymeriad yn rhodio yr heolydd yn benuchel—a gwehilion cymdeithas yn gwylio eu cyfle i wneyd drygioni. Yr oedd y llwon a'r rhegfeydd y gorfodid ef i'w gwrando yn merwino ei glustiau. Ond, o hir gynefino â hwy, y mae eu hesgelerder yn llai o boen iddo. Lle y dywedai unwaith, "Gwelais y troseddwyr a gresynais," gwena yn awr, ac a heibio heb deimlo. Mae hon yna yn ddeddf gyffredinol, fod ein cynefindra ag unrhyw beth yn peri fod y peth hwnw yn colli ei ddylanwad arnom. Felly hefyd y mae hir gynefino â breintiau yr efengyl yn ein gosod mewn profedigaeth i fyned yn hyf arnynt. Yr oedd Uzza wedi cynefino ag arch Duw. Yr oedd wedi bod yn nhy ei dad am ugain mlynedd, ac yntau ond odid wedi arfer edrych arni fel dodrefnyn cyffredin. Gallai llawer dybied na

wnaeth Uzza ddim ond dangos gofal am yr arch rhag disgyn o honi wrth i'r ychain ysgwyd y fen. Ond yr oedd Duw yn gweled yno ymyriad hyf â'i arch ef; gwnaeth Uzza yn rhybudd i bawb nad oedd ei arch ef ddim i'w thrin fel cist gyffredin. "Yr Arglwydd dy Dduw sydd Dduw eiddigus." Yr ydym oll drwy ein cynefindra â phethau dwyfol yn agored i fyned yn hyf arnynt. Wedi arfer â gair Duw o'n mebyd—wedi cynefino â myned i dŷ yr Arglwydd er yn blant—wedi ein dysgu i adrodd emynau a phenodau gan ein rhieni—ac wedi mynych ymwneyd ag ordinhadau crefydd am flynyddau; yr ydym mewn profedigaeth gref i fyned yn hyf arnynt; ac i'w pwysigrwydd golli oddiar y meddwl. Mae rhai wedi teimlo nerth y perygl o fynych a hir gynefino â phethau sanctaidd i arwain i hyfdra gyda hwy; nes cilio i'r eithafion arall, o gadw y breintiau hyn o ddwylaw y werin rhag iddynt fyned yn ëofn arnynt. Mae hyny yn gamgymeriad pwysig. Ar yr un pryd teimlwn mai peth anhawdd iawn ydyw hir gynefino â phethau crefydd; a chadw y synied o'u cysegroldeb yn fyw yn y meddwl.

*Fod ysgafnder a chellwair gyda phethau dwyfol, yn arwain yn naturiol i ryfyg a chaledwch.* Mae profedigaeth yn yr hir gynefindod a hwy, ond y mae cellwair gyda phethau sanctaidd yn naturiol yn arwain i galedwch. Nid wyf yn golygu yma y duedd hono i wawdio a dirmygu pethau yr efengyl; ond yr ysgafnder a'r gwamalwch hwnw welir yn rhy fynych yn nhy Dduw, ac uwch ben gair Duw gan y rhai na fynent er dim gael eu cyfrif yn mysg gwawdwyr crefydd. Tymer beryglus yw tymer gellwerus. Mae dosbarth o ddynion i'w cael nad ydynt byth yn ddifrifol gyda dim—cymerant bob peth yn ysgafn. Anaml iawn y mae y cellweirwyr yna yn dibenu yn dda. "Dywedais am chwerthin," meddai Solomon, "ynfyd yw; ac am lawenydd pa beth a wna?" "canys chwerthiniad dyn ynfyd sydd fel clindarddach drain dan grochan." Mae bywyd yn rhy bwysig i'w chwerthin i ben. Ond o bob cellwair, cellwair gyda phethau sanctaidd yw y mwyaf peryglus. Mae yn bur debyg nad yw

rwydd i'r meddwl. Mae enaid yr ymwelydd dieithrol yn cael ei gynhyrfu gan olygfeydd mawreddog Arfon a Meirion. Y mynyddoedd uchel—y clogwyni serth—y rhaiadrau trystfawr—a'r llynoedd tryloewon. Ond nid yw y rhai sydd wedi eu magu yn eu hymyl yn synu dim atynt. Mae llawer hen ŵr wedi byw driugain mlynedd wrth droed y Wyddfa, ac erioed heb weled yn werth myned i'r drafferth i ddringo i'w chopa; er fod cannoedd o ddynion o bob cwr i'r deyrnas yn dyfod bob blwyddyn o gywreinrwydd i'w gweled.

Mae cynefino â pheryglon mawrion yn dileu eu harswydolrwydd oddiar y meddwl. Mae y morwr o herwydd cynefino ag ystormydd yn hwylio dros dònau y môr yn gwbl ddiofn. Mae y glöwr o herwydd cynefino â'r peryglon tan ddaearol yn disgyn i galon y ddaear yn hollol ddiarswyd. Mae y milwr drwy gynefino â thwrf magnelau yn gwynebu maes y rhyfel yn gwbl ddigryn. Er fod y peryglon yr un, eto y mae cynefino â hwy yn peri i'w harswyd gilio o'r meddwl.

Mae cynefino â gweithredoedd drygionus yn peri fod eu hysgelerder yn myned yn llai yn ein golwg. Pan y daeth y dyn ieuanc gyntaf i'r dref yr oedd "ei ysbryd yn cynhyrfu ynddo wrth weled y ddinas" wedi ymroddi i lygredigaeth—masnachdai yn agored ar ddydd yr Arglwydd—menywaid digymeriad yn rhodio yr heolydd yn benuchel—a gwehilion cymdeithas yn gwylio eu cyfle i wneyd drygioni. Yr oedd y llwon a'r rhegfeydd y gorfodid ef i'w gwrando yn merwino ei glustiau. Ond, o hir gynefino â hwy, y mae eu hesgelerder yn llai o boen iddo. Lle y dywedai unwaith, "Gwelais y troseddwyr a gresynais," gwena yn awr, ac a heibio heb deimlo. Mae hon yna yn ddeddf gyffredinol, fod ein cynefindra ag unrhyw beth yn peri fod y peth hwnw yn colli ei ddylanwad arnom. Felly hefyd y mae hir gynefino â breintiau yr efengyl yn ein gosod mewn profedigaeth i fyned yn hyf arnynt. Yr oedd Uzza wedi cynefino ag arch Duw. Yr oedd wedi bod yn nhy ei dad am ugain mlynedd, ac yntau ond odid wedi arfer edrych arni fel dodrefnyn cyffredin. Gallai llawer dybied na

wnaeth Uzza ddim ond dangos gofal am yr arch rhag disgyn o honi wrth i'r ychain ysgwyd y fen. Ond yr oedd Duw yn gweled yno ymyriad hyf â'i arch ef; gwnaeth Uzza yn rhybudd i bawb nad oedd ei arch ef ddim i'w thrin fel cist gyffredin. "Yr Arglwydd dy Dduw sydd Dduw eiddigus." Yr ydym oll drwy ein cynefindra â phethau dwyfol yn agored i fyned yn hyf arnynt. Wedi arfer â gair Duw o'n mebyd—wedi cynefino â myned i dŷ yr Arglwydd er yn blant—wedi ein dysgu i adrodd emynau a phenodau gan ein rhieni—ac wedi mynych ymwneyd ag ordinhadau crefydd am flynyddau; yr ydym mewn profedigaeth gref i fyned yn hyf arnynt; ac i'w pwysigrwydd golli oddiar y meddwl. Mae rhai wedi teimlo nerth y perygl o fynych a hir gynefino â phethau sanctaidd i arwain i hyfdra gyda hwy; nes cilio i'r eithafion arall, o gadw y breintiau hyn o ddwylaw y werin rhag iddynt fyned yn eofn arnynt. Mae hyny yn gamgymeriad pwysig. Ar yr un pryd teimlwn mai peth anhawdd iawn ydyw hir gynefino â phethau crefydd; a chadw y synied o'u cysegroldeb yn fyw yn y meddwl.

*Fod ysgafnder a chellwair gyda phethau dwyfol, yn arwain yn naturiol i ryfyg a chaledwch.* Mae profedigaeth yn yr hir gynefindod a hwy, ond y mae cellwair gyda phethau sanctaidd yn naturiol yn arwain i galedwch. Nid wyf yn golygu yma y duedd hono i wawdio a dirmygu pethau yr efengyl; ond yr ysgafnder a'r gwamalwch hwnw welir yn rhy fynych yn nhy Dduw, ac uwch ben gair Duw gan y rhai na fynent er dim gael eu cyfrif yn mysg gwawdwyr crefydd. Tymer beryglus yw tymer gellwerus. Mae dosbarth o ddynion i'w cael nad ydynt byth yn ddifrifol gyda dim—cymerant bob peth yn ysgafn. Anaml iawn y mae y cellweirwyr yna yn dibenu yn dda. "Dywedais am chwerthin," meddai Solomon, "ynfyd yw; ac am lawenydd pa beth a wna?" "canys chwerthiniad dyn ynfyd sydd fel clindarddach drain dan grochan." Mae bywyd yn rhy bwysig i'w chwerthin i ben. Ond o bob cellwair, cellwair gyda phethau sanctaidd yw y mwyaf peryglus. Mae yn bur debyg nad yw

y dull y dygir ein Hysgolion Sabbothol yn mlaen, y mwyaf manteisiol i feithrin difrifoldeb. Onid oes llawer o ysgafnder mewn dosbarthiadau uwch ben gair Duw? a llawer o "gyndyn ddadleu" nad yw yn gydweddol â phwysigrwydd y pethau sydd dan sylw? Er nad fwriedir unrhyw anmharch ar y Beibl, eto y mae y fath ddull uwch ei ben yn arwain i hyfdra a chaledwch. Mae y cyfarfodydd cystadleuol ac adroddiadol—sydd yn awr mor gyffredin a phoblogaidd mewn cysylltiad â chymdeithasau llenyddol a'r Ysgolion Sabbothol yn tueddu i fagu hyfrdra yn yr oes sydd yn codi gyda phethau sanctaidd. Pa dda bynag a gynyrchir drwyddynt mewn eangu gwybodaeth a gwella chwaeth y genedl ieuainc; eto mae y drwg a gynyrchir drwy osod bechgyn a genethod i adrodd a dynwared mewn ysgafnder bethau difrifolaf yr efengyl, yn fwy na gorbwyso yr holl ddaioni. Os dysgir plant trwy goeg ddadleuon i ymdrin yn gellweirus â thrugaredd Duw—ac angau y groes—a Gethsemane a Chalfaria, a pharodrwydd Duw i faddeu, pa beth atolwg sydd i ddifrifoli eu meddyliau? A ydyw addoldai Cymru i gael eu troi yn chwareudai? A ydyw gwag gyfansoddiadau is nac *interludiau* yr oes o'r blaen, i gael eu hactio ar y llanerch gysegredig lle yr eisteddwn i gofio angau y groes? Os felly megir anffyddiaid wrth draed ein pwlpudau; a throir y Capelau godwyd i addoli Duw, yn lleoedd o ddifyrwch i feibion dynion. Dyma y ffordd fawr i ryfyg a chaledwch.

Mae tuedd mewn llawer o ieuenctyd i gyrchu i wrando dadleuon anffyddol, lle y trinir gair Duw yn ysgafn. Ac er o bosibl yr eir yno ar y dechreu i glywed beth sydd gan elynion Cristionogaeth i'w ddyweyd; ond nis gellir mynychu y fath leoedd heb i'r meddwl gael ei lygru—cyll y Beibl ei ddylanwad ar feddwl y dyn all eistedd yn y cwmni lle y mae y llyfr sanctaidd yn cael ei ddirmygu. Ieuenctyd hawddgar, mae eich diogelwch yn y pellder mwyaf oddiwrth bob cynulliad o'r fath. Mae gwamalwch yn arwain i gellwair, a chellwair i *watwar* pethau sanctaidd. Gochelwch gellwair â phethau

dwyfol. Mae ysgafnder â hwy yn sicr o droi yn chwerwder yn rhywle; costia naill ai dagrau edifeirwch yn y byd yma; neu wylofain a rhincian danedd yn y byd a ddaw.

*Fod ymarfer a phethau dwyfol, a chyflawni pechodau bob yn ail, y ffordd effeithiolaf i fyned yn hyf a rhyfygus.* Mae yr apostol yn son am ryw rai a'u "calonau wedi eu caledu trwy dwyll pechod," ac am ryw rai eraill."a'u cydwybod wedi ei serio a haiarn poeth." Cyflwr truenus yw bod a chydwybod seriedig; ond nid oes dim mor sicr o arwain i'r agwedd yna, ag ymwneyd â phethau crefydd a byw mewn pechod ar unwaith. Mae Arglwydd Cherbury wrth gyfarwyddo pa fodd i baratoi y march i'r frwydr, yn cynghori i'w gyfarwyddo a thwrf rhyfel, a sŵn tabyrddau, a dynoethiad y cleddyf, a thaniad y fagnel; gan ofalu rhoddi porthiant iddo rhwng yr ergydion, fel y dysger ef i edrych ar ollyngiad yr ergyd fel gwahoddiad i gael ymborth. Fel yna y mae lluaws mawr yn caledu eu calonau trwy gyflawni dyledswyddau crefydd, ac ymarfer â pechod bob yn ail. Ós bydd y gydwybod yn tyneru yn moddion gras, rhedant i'r dafarn i'w thawelu; ac os bydd pechod yn faich ar y gydwybod, rhedant i'r oedfa am esmwythder; a rhwng y caledu a'r tyneru y mae y gydwybod yn myned yn seriedig hollol—fel y gôf er caledu yr haiarn yn myned ag ef o'r tan i'r dwfr, ac o'r dwfr i'r tan Ac nid oes dim mor effeithiol i galedu y galon mewn rhyfyg, a chyflawni pechodau, a llechu dan gochl crefydd yr un pryd. Dyna feibion Eli yn gweini yn yr offeiriadaeth, ac yn cyflawni y pechod mwyaf ysgeler yn y lle mwyaf cysegredig; halogent y "gwragedd oedd yn ymgasglu yn finteioedd wrth ddrws pabell y cyfarfod." Mae y tebygolrwydd yn gryf iawn, mai yn eu meddwdod yr offrymodd Nadab ac Abihu meibion Aaron dân dieithr ger bron yr Arglwydd; ac y buant feirw dan farn Duw am hyny; oblegid yn uniongyrchol ar ol hyny y cyhoeddodd yr Arglwydd i Aaron y ddeddf waharddiadol, "Gwin a diod gadarn nac yf di na'th feibion gyda thithau pan ddeloch i babell y cyfarfod; fel na byddoch feirw." Ac nid oes dim mor

effeithiol i galedu y galon, a myned o dŷ yr Arglwydd, i serio y gydwybod uwch ben y cwpan meddwol. "Godineb, a gwin, a gwin newydd a ddwg y galon ymaith." Mae calonau dynion yn "trymhau trwy lythineb a meddwdod" O! pa gynifer sydd yn haiarneiddio eu calonau trwy fyned o'r Capel i'r dafarn er tawelu dychrynfeydd cydwybod ddeffroedig. Beth yw tafarnau? Gellir ateb yn ngeirian un o'r Puritaniaid,—"Ffwrneisiau ydynt sydd gan ddiafol er golosg gwrandawyr yr efengyl fel y cyneuont yn gynt yn uffern." O! gochelwch y pechodau sydd yn serio eich cydwybodau.

*Fod yr engreifftiau o'r rhyfyg mwyaf ysgeler i'w cael yn mysg y dynion ddygwyd i fynu mewn cysylltiad agos a phethau dwyfol.* Y ddau ddosbarth sydd yn troi allan yn fwyaf rhyfygus mewn annuwioldeb ydyw hen wrthgilwyr a phlant crefyddwyr· Maent yn troi yr addysg grefyddol a gawsant yn destyn gwawd a chwerthiniad. "Gelwch am Samson i beri i ni chwerthin" meddai y Philistiaid gynt. Felly y mae y cymeriadau hyn yn defnyddio adnodau, hymnau, a darnau o bregethau i gellwair a hwy; dynwaredant mewn difyrwch bethau difrifolaf y Beibl. Yr annuwioldeb mwyaf ydyw cymeryd pethau Duw mewn gwawd i ddangos eich ffraethder. "Ond wrth yr annuwiol y dywedodd Duw, beth sydd i ti a fynegech ar fy ngeiriau neu a gymerech ar nghyfamod yn dy enau?" Hen wrthgilwyr ydyw yr offerynau parotaf at wasanaeth Satan i gyflawni y gweithredoedd mwyaf ysgeler. Nis gallasai neb ond Judas, un wedi bod gyda'r Iesu am fwy na thair blynedd, gyflawni y weithred erchyll o fradychu Arglwydd y bywyd i'w elynion. Mae ei enw yn felldith ac yn rheg, ac ar gareg ei fedd y mae wedi ei ysgrifenu,—"Da fuasai i'r dyn hwnw pe nas ganesid ef." Yr oedd Uzza wedi ei fagu gydag arch Duw; yr oedd yn gyfarwydd â hi yn nhŷ ei dad. Yr oedd meibion Aaron a meibion Eli wedi eu dwyn i fynu i'r offeiriadaeth; ac y mae yn ffaith fod plant rhieni crefyddol os tyfant i fynu yn annuwiol, yn annuwiolach na phlant cyffredin. O! beth pe chwilid Liverpool, a

Manchester, a Llundain, oni cheid cannoedd o blant crefyddwyr, diaconiaid, a Gweinidogion Cymru yn mysg y rhai hyfaf mewn annuwioldeb. Yn euog o bob drygioni, yn ymollwng i gyflawni "pob pechod yn un chwant," yn anghofio Duw eu tadau, ac fel meibion Serfiah gynt yn rhy galed i bob goruchwyliaeth. O! mechgyn anwyl i, gochelwch y tir ofnadwy yna; os unwaith yr ewch iddo, un o fil y deuwch chwi byth oddiarno. Mae y Beibl yn dysgu yn eglur fod yna ryw fan mewn pechu, os eir iddo na ddeuir byth o hono, mae yn anmhosibl ymadnewyddu oddiarno. Nis gwn yn sicr beth ydyw, mae gwahanol enwau yn y Beibl arno; ond y mae yn rhywle tua'r cyfeiriad yna—y cellwair, y gwawdio, y rhyfyg, yr ymwneyd â chrefydd a byw mewn pechod; mae yn rhywle yn y terfynau yna. Gwelir weithiau ar blanhigfeydd (*nurseries*) astell wedi ei chodi er rhybudd, ac arni "*a man trap*"—er mwyn i bawb ochel y lle. Nid yw yn dyweyd pa le y mae; pa un ai yn yr ochr ai yn y canol; ond y mae yna yn rhywle; a'r unig ffordd sicr i fod yn ddiogel ydyw cadw y tu allan i'r terfynau. Mae y Beibl yn eiu dysgu fod yna ryw dir mewn annuwioldeb nad oes neb yn dychwelyd oddiarno. Nid wyf yn sicr pa le y mae, ond y mae yn rhywle yn y cyfeiriad yna; a'r unig ffordd sicr i fod yn ddiogel rhagddo yw gochel y terfynau, "Edrychwch na byddo un amser yn neb o honoch galon ddrwg anghrediniaeth, gan ymado oddiwrth Dduw byw."

*Fod ymwneyd rhyfygus a phethau dwyfol, yn un o'r pethau tebycaf i dynu barn uniongyrchol yr Anfeidrol.* Egwyddor fawr yn llywodraeth Duw ydyw; fod barn yn aros gweithred ddrwg. Er y gall y farn gael ei gohirio, ac i'r gohiriad hwnw beri i ddynion dybied ei bod wedi ei throi heibio; eto y mae Duw a farn y ddaear. Y byd nesaf ydyw byd priodol Duw i gospi; ond nid yw hyny yn profi nad yw yn cospi yn y byd yma. Yr oedd cospau yn gyffredin yn y byd yma dan yr hen oruchwyliaeth; ond nid oedd hyny yn gwneyd nad oedd cosp ddyfodol. Ac nid yw mai y byd nesaf yw y

byd priodol i gospi yn profi nad yw yr Arglwydd yn dyfod allan o'i fangre weithiau i gospi pechodau rhyfygus yn y byd yma. Ac o bob peth tebyg i dynu barn Duw y peth tebycaf ydyw cellwair â phethau dwyfol. Mae y drwg yma wedi ei farcio gan Dduw ag arwyddion eglur o'i anfoddlonrwydd. Lladdwyd Nadab ac Abihu ger bron Duw am offrymu a thân dieithr. Bu Hophni a Phineas farw dan farn Duw am eu hannuwioldeb. Disgynodd y farn ar wŷr Bethsemes am ymwthio yn hyf i weled beth oedd yn yr arch, fel y bu farw o honynt dros haner can' mil. Tarawyd Uzza yn farw am estyn ei law at arch Duw. Ymddangosodd darn llaw ar bared llys Belsassar yn ysgrifenu ei dynged, a'r noson hono *gwysiwyd ef* i'w brawf, am ei hyfdra yn cymeryd llestri cysegredig teml Dduw i yfed gwin ynddynt yn ei wledd annuwiol. Llanwyd cydwybod Judas â dychrynfeydd wedi bradychu ei Arglwydd ac aeth i'r grogfa. Tarawyd Ananias a Saphira yn feirw am ddywedyd celwydd mewn rhagrith wrth yr Ysbryd Glan. Dyna gofgolofnau o farn Duw ar ryfyg gyda phethau sanctaidd, wedi eu codi er rhybudd i ni, nad yw pethau dwyfol i gellwair â hwy, "Oblegid ein Duw ni sydd dân ysol!" Ac y mae yr arwyddion hyn yn aros. Mae Duw yn ein hoes ni wedi marcio dynion rhyfygus allan fel gwrthddrychau *neillduol* ei ŵg a'i anfoddlonrwydd. Mae rhagluniaeth weithiau yn nodi allan ddynion drwg iawn i farn bresenol. Mae diwedd eu hoes, a dull eu hymadawiad a'r byd yn dangos yn eglur fod barn uniongyrchol yr Anfeidrol arnynt. Gallwn gyfeirio at lawer o engreifftiau, a rhai o honynt o fewn cylch fy adnabyddiaeth. Rhoddaf i chwi un engraifft, gallaswn nodi ychwaneg. Magwyd gwr ieuanc yn un o ardaloedd mwyaf crefyddol Cymru. Yr oedd wedi hanu o achau duwiol; a dangosodd yn moreu ei oes arwyddion gobeithiol. Bu tuedd gref ynddo unwaith am fyned i bregethu, ond rhywfodd rhoddodd y meddwl hwnw heibio. Symudodd o'i ardal enedigol i un o weithfaoedd poblogaidd y Dywysogaeth gyda llythyr cymeradwyaeth ei fod yn aelod rheolaidd, a derbyniwyd ef yn llaw-

en gan yr Eglwys yn y lle. Dangosodd ffyddlondeb mawr gyda'r Ysgol Sabbothol yn gystal a holl ranau crefydd—ymgododd mewn parch a dylanwad yn yr Eglwys nes y dewiswyd ef yn Ddiacon ynddi, er nad oedd ond cydmarol ieuanc. "Gwasanaethodd y swydd yn dda," ac "enillodd iddo ei hun radd dda," yn ngolwg pawb. Ond cyfarfu â rhyw ddyryswch yn ei amgylchiadau yr hyn a barodd dipyn o gwmwl arno; er nad oedd y peth y fath nad allesid ei wastadhau, pe buasai yn meddu ar wroldeb moesol digonol i gyfarfod â'i ofynwyr; ond dewisodd yn hytrach gilio, ac aeth drosodd i un o drefi mawrion Lloegr. Yr oedd yr amgylchiadau dan ba rai yr ymadawodd y fath nas gallesid rhoddi llythyr cymeradwyaeth iddo; ac nid wyf yn meddwl iddo ei ymofyn. Dyna fe yn awr yn wrthgiliwr yn nghanol profedigaethau mewn lle dieithr. Ond nid yw wedi colli pob teimlad ychwaith. Mae yn myned i'r Capel bob Sabboth,—a'i fywyd yn gyhoeddus heb ddim drwg gan neb i'w ddywedyd am dano; er ei fod mewn sefyllfa llawn iawn o brofedigaethau. Yn mhen amser priododd, ac aeth yn dafarnwr. Yn awr y mae ar ben yr allt, ac nid oes bellach ryw lawer o dda i'w ddisgwyl. Mae ei le yn y Capel yn aml yn wag, a phan y daw mae yn fwy swrth a chysglyd nag y byddai arfer. Mae yn hawdd deall ei fod yn ymollwng i yfed yn drwm. Cyn hir y mae yn esgeuluso y Capel yn hollol; a'i dŷ yn dyfod yn gyrchfa yfwyr ar nos Sabbothau, ac yntau yn arwain yr annuwioldeb; ac aeth mor ofnadwy o galed a rhyfygus o'r diwedd, fel yr oedd ar un nos Sabboth yn nghanol llonaid ystafell o feddwon yn dynwared Cymundeb, ac yn dywedyd iddo fod yn Ddiacon—a chan gymeryd y cwpan meddwol oddiar y bwrdd, yn myned o gwmpas gan ddangos pa fodd y byddai yn arfer gwneyd. Dyna ryfyg ysgeler! Aeth rhagddo o ddrwg i waeth, a rhyw foreu cafwyd ef yn "gorwedd yn ei waed," wedi tynu yr ellyn trwy ei wddf o glust i glust,—mewn pang o wallgofrwydd yn ei feddwdod; a chyn ei fod yn bump a deugain oed rhoddwyd ef yn medd yr hunan-lofrudd!! Mae gadael dynion iddynt

eu hunain a thynu ei amddiffyn oddiwrthynt yn farn oddiwrth Dduw. Gwn am duedd anffyddol y galon ddrwg i geisio esbonio ymaith bob neillduolrwydd o ragluniaeth ac iachawdwriaeth; ond erys y ffeithiau yn greigiau ansigladwy. Ac o bobl anwyl, gochelwch ryfygu rhag i Dduw eich gwneyd chwi yn esiampl i'r rhai sydd annuwiol. "Peth ofnadwy yw syrthio yn nwylaw y Duw byw!"

Beth a ddywedwch chwi wrth y pethau hyn? Mae yma lawer o honoch heb fyned i'r tir pell yna; ac o gweddiwch nad eloch byth iddo, "atal hefyd dy was oddiwrth bechodau rhyfygus, na arglwyddiaethant arnaf."

Hwyrach fod yma ryw un yn ofni ei fod wedi myned yn mhell i'r tir yna. Byddai yn dda genyf atal hwnw rhag anobaith heb roddi achlysur i neb ymhyfau. Mae genym yn yr Ysgrythyrau, un engraifft, a hyd y gallaf gofio, nid oes genym ond yr engraifft unigol hono am un a aeth yn mhell iawn mewn rhyfyg a chaledwch, ac eto a achubwyd. Dyna Manasseh. Bachgen a fagwyd yn grefyddol; mab i Hezeciah dduwiol. Dangosodd arwyddion ffafriol iawn pan yn ieuanc; cyrchai i dŷ yr Arglwydd gyda'i dad. Bu proffwydi y Goruchaf a'u dwylaw ar ei ben, a'u calonau yn llawn gobeithion y *tyfai* i fynu yn ofn yr Arglwydd. Ond pan fu farw ei dad gwyrodd Manasseh oddiar yr hen ffordd dda—collodd ei holl deimladau crefyddol—ymadawodd ei fwynder fel cwmwl y boreu—ymollyngodd i'r annuwioldeb mwyaf rhyfygus—gwrthweithiodd gynlluniau diwygiadol ei dad—llygrodd addoliad y gwir Dduw—tynodd ei blant trwy dân i Moloch—llanwodd Jerusalem o ben bwygilydd â gwaed y rhai cyfiawn—ac ymroddodd yn mhob peth i ddigio Arglwydd y lluoedd. Gallesid meddwl, os oes rhyw un wedi cyflawni mesur ei anwiredd; a phechu ei hunan allan o gylch trugaredd Duw, mai Manasseh yw hwnw. Ond O! ryfedd ras! Wele yr Arglwydd yn ei "arwain oddiamgylch i beri iddo ddeall"—yn dwyn arno dywysogion llu brenhin Assyria, a'r rhai hyny yn ei ddal mewn dyrysni, yn ei rwymo â dwy gadwyn, ac yn ei ddwyn

yn gaeth i Babilon, ac yno "*pan oedd gyfyng arno ef, efe a weddiodd ger bron yr Arglwydd, ac a ymostyngodd yn ddirfawr o flaen Duw ei dadau.*" Dyna Manasseh wedi ei ddal mewn gwasgfa, ac yn y wasgfa hono yn troi i weddio—cofiodd am Ddnw ei dadau. Cyfyngder sydd yn dwyn pobl i weddio; ac y mae cyfyngder yn rhywle a wasga weddi o'r galon galetaf Gwareded yr Arglwydd chwi rhag i hyny fod pan na byddo yr un gwrandawr iddi. Ond nid gweled Manasseh yn gweddio yw y syndod mwyaf er fod hyny yn syndod; ond y mae gair yn canlyn sydd yn fwy fyth o ryfeddod—a'r Arglwydd "A FU FODDLAWN IDDO, AC A WRANDAWODD EI DDYMUNIAD EF ! !" Dyna drugaredd anfeidrol sydd yn galondid i'r pellaf, y dyfnaf, y gwaethaf i droi at yr Arglwydd. O! byddai yn dda genyf allu cyffwrdd â chalon rhyw afradlon sydd wedi myned i'r wlad bell; a rhoddi nerth yn esgeiriau ffydd ambell un sydd wedi cydgrymu mewn anghrediniaeth, nes dyweyd yn dorcalonus—"Nid oes obaith, canys cerais eilunod, ac ar eu hol hwynt yr af." Oes, fy enaid anwyl, y mae gobaith heddyw. Mae gwyneb Efengyl atat yr awr hon—mae ei hyfrydlais yn cyhoeddi yn uchel, "gan yr Arglwydd ein Duw y mae trugareddau a maddeuant, er gwrthryfela o honom i'w erbyn." Mae yn dy wahodd ato i gael siarad â thi; ac yn sicrhau pe byddai dy "bechodau fel ysgarlad, ânt cyn wyned a'r eira, pe cochent fel porphor, byddant fel gwlan." Mae gwaed Crist yn rhoddi hyder a sail gobaith i'r penaf o bechaduriaid. Wynebwch oll yn galonog arno. Amen.

# PREGETH XXIV.

## CREFYDD YSBRYDOL.

RHUFEINIAID ii. 29.

"Ac enwaediad y galon sydd yn yr ysbryd, nid yn y llythyren."

Mae cyfaddasder Cristionogaeth i'r byd yn un o'r dadleuon cryfaf dros ddwyfoldeb ei hawdurdod. Nid yn unig y mae ei hordinhadau a'i dyledswyddau yn gymwys i'w cyflawni yn mhob gwlad, sefyllfa, ac amgylchiadau ; ond y mae fel cyfundraeth o wirioneddau yn cyfarfod holl anghenion dyn. Mae yn gyfaddas i'w alluoedd deallol fel creadur a'i anghenion ysbrydol fel pechadur. Mae yn cyfarfod dyn yn ei gymeriad dyblyg fel bod meddyliol a throseddwr moesol, ac yn taro *holl deimladau* rhinweddol y galon ddynol. Mae gan ddyn ddeall *i'w* oleuo—teimlad i'w foddio—a chydwybod i'w dihuno. Rhaid i bob crefydd gan hyny cyn y byddo yn cyfateb holl anghenion dyn, roddi goleuni ac eglurhad i'w ddeall—difyrwch a boddhad i'w deimlad—a chynhyrfiad ac argyhoeddiad i'w gydwybod. Yn hyn y mae Cristionogaeth yn cyfateb yn berffaith. Mae yn ei gwirioneddau ddigon o fawredd a gorucheledd i fod yn faes ymchwiliad i'r deall—digon o ddyddordeb a chywreinrwydd i swyno y teimlad—a digon o bwysigrwydd ac awdurdod i ddeffroi y gydwybod a phlygu yr ewyllys. Colli y naill neu y llall o'r pethau hyn ydyw gwraidd pob llygriad a dirywiad ar Gristionogaeth. Y perygl cyffredin ydyw edrych arni yn un un o'r agweddau hyn gan anghofio a dibrisio yr holl agweddau eraill arni. Mae un dosbarth yn edrych arni fel cyfundraeth o egwyddorion i oleuo y deall—i

eangu y dirnadaeth—a chryfhau yr amgyffredion—ond heb wybod dim am brofiad personol o'i dylanwad yn nawseiddio y galon. Edrychant arni fel cyfundraeth pen ac nid fel meddyginiaeth calon ; fel gwyddor i'w dysgu yn hytrach nag fel meddyginiaeth i'w hiachau. Hyn ydyw hanfod Sosiniaeth. Mae fel goleuni y lleuad yn nyfnder y gauaf ar noson oer, yn rhoddi ychydig oleu ond yn rhewi pob peth ; ac y mae lle i ofni fod y golygiadau anffyddol yma yn ffynu nid yn unig yn Germany ac ar y Cyfandir ond yn Nghymru. Edrycha dosbarth arall ar grefydd yn unig fel cyfundraeth i ddifyru a boddhau y teimlad. Ni phetrusent yn nghylch ei hegwyddorion athrawiaethol—ac ni ofalant am ei dyledswyddau ymarferol, ond blysiant am eu gwleddoedd—awyddant am ei phleserau—gwanciant am ei danteithion—a sychedant am ei chysuron. Arswydant os sonir wrthynt am waith crefydd ; ond llygadrythant pan daenir y bwrdd o felusfwyd crefydd. Hyn ydyw hanfod Antinomiaeth — byth ni ofynant, —Beth a wnawn ? ond eu cri oernadol yn wastadol ydyw, Beth a gawn? fel llawer diogyn na welir egni na bywiogrwydd ynddo yn un man ond uwchben y bwrdd yn tafellu y bwyd. Edrycha dosbarth arall arni fel cyfundraeth frawychus i greu arswyd ac ofn ar y gydwybod. " Dallant eu llygaid " rhag tywynu ei goleuni i'w deall " difuddiant eu henaid o hyfrydwch " rhag boddhau y teimlad—a " chospant y corff gan ei ddwyn yn gaeth " er brawychu ac arswydo y gydwybod. Mae eu crefydd i gyd yn gynwysedig mewn penydiau, pardynau, ffurfiau, defodau, ac ystumiau allanol. Hyn ydyw hanfod Pabyddiaeth pa le bynag y byddo, ac o dan ba ffurf bynag yr ymddangoso. Pa un bynag ai yn Rhufain ai yn Lloegr. Yn yr Eglwys Babaidd neu yn yr Eglwys Brotestanaidd. Yn mysg Eglwyswyr neu Ymneillduwyr. Gan daenellwyr neu drochwyr. Pa le bynag y mae mwy o bwys yn cael ei roddi ar allanolion crefydd nag ar ei hanfodion—mwy o ofal am yr addurniadau nag am y defnydd—am y cysgod nag am y sylwedd—am yr arwydd nag am y peth a arwyddir ; *yno* y mae hanfod Pab-

yddiaeth,—oblegid "enwaediad y galon sydd yn yr ysbryd, nid yn y llythyren;" nid yn y ffurf yn allanol, ond yn yr ysbryd yn dumewnol, Yr oedd yr hen oruchwyliaeth yn cynwys llawer iawn o ddefodau cnawdol—cadw dyddiau neillduol a chyfyngu eu hunain at fwydydd penodol. "Y rhai oedd yn sefyll yn unig ar fwydydd, a diodydd, ac amryw olchiadau a defodau cnawdol wedi eu gosod arnynt hyd amser y diwygiad." Yr oedd y *drefn aberthol* yn gynwysedig mewn swyddau ac offrymau—y *drefn seremoniol* mewn bwydydd, diodydd, golchiadau, cysegriadau, ymneillduadau, a chadwraeth amserau nodedig. Ychwanegodd y Phariseaid res o ddefodau gorfanylaidd a chnawdol, ac yr oedd gwreiddyn eu gelyniaeth hwy at Grist yn cyfodi oddiar ei anghydffurfiad ef â'u defodau cnawdol hwy. Eglurai ef egwyddorion mawrion sylfaenol Cristionogaeth, tra yr ymlynent hwy wrth y ffurfiau allanol yn unig. Golygent gan hyny ei fod yn ddiffygiol mewn crefyddolder oblegid nad ymostyngai i gadw eu dulliau cnawdol hwy. Ymlynent hwy wrth y llythyren—tra yr esboniai ef grefydd yr ysbryd. Ac y mae yr un camsyniad wedi ymdaenu trwy y byd. Ac y mae yn nodedig i sylwi arno mor lleied trwy yr oesau sydd yn iawn synied am wir ansawdd crefydd. Os gwrandawn ar leisiau Paganiaeth a Mahometaniaeth ceir mai penydiau, cospau, dyoddefiadau, ac aberthau ydyw hanfod crefydd. Os chwiliwn erthyglau Pabyddiaeth a Phuseaeth ceir mai pentwr o seremoniau a defodau cnawdol ydyw. Ac yn mysg y rhai dybir yn uniongred nid yw y syniadau nemawr cywirach. Myn un dosbarth fod Bedydd dwfr yn Ailenedigaeth, a dosbarth arall, er na phroffesant Ailenedigaeth fedyddiadol—eto a honant fod bedydd dwfr trwy ddull penodol yn hanfodol er profi ufudd-dod i Dduw. Gwneir cyfranogi o fara a gwin ar wely angau yn drwydded i'r nefoedd, ac yn *blastr* ar gydwybod euog. Crefydd yn ol synied lluaws o broffeswyr, ydyw y cyrchu i leoedd o addoliad—ymarfer â moddion gras—cyflawni dyledswyddau crefydd—ymwneyd ag ordinhadau y tŷ—cyfranu yn achlysurol at gynhaliaeth yr

achos—a gwneyd rhyw ffurfiau, ystumiau, a thonau neillduol dan y weinidogaeth. Nid oes syniad uwch am dani gan gannoedd sydd yn ei phroffesu. Arhosant gyda'r llythyren. Na cham ddealler fi. Nid wyf yn golygu fod y ffurf yn ddibwys —y llythyren yn ddiangenrhaid ; ond yn hollol i'r gwrthwyneb. Mae gwirioneddau mawrion crefydd ag ynddynt y fath ddyfnderoedd nas gallasem eu dirnad oni buasai i'r Arglwydd ddefnyddio cydmariaethau naturiol i'w hegluro, ac ordeinio arwyddion gweledig i'w harddangos. Ac y mae dysgu yr "holl bethau a orchymynodd" Crist yn rhan o waith y weinidogaeth. Rhaid eu cyflawni yn onest, a'u gweinyddu yn fanwl. Ond y perygl ydyw aros gydo'r arwyddion--ymorphwys ar y seremoniau—a phwyso ar y ffurfiau ; yn lle myned trwyddynt at enaid a bywyd crefydd—aros gyda'r plisgyn, yn lle ei dori er cael y cnewyllyn—gofalu am y pethau lleiaf ar draul esgeuluso y pethau mwyaf—"golchi y tu allan i'r cwpan" heb ofalu pa faint o fudreddi sydd o'i fewn. "Gwyngalchu y bedd oddiallan" ac esgyrn y meirw yn ffiaidd oddifewn—bod yn selog dros "hender y llythyren,"—ond heb wybod dim am "adnewyddiad yr ysbryd." Ond "enwaediad y galon sydd yn yr ysbryd nid yn y llythyren." Yr oedd Iuddewaeth yn rhoddi pwys mawr ar "enwaediad y cnawd," ond y mae Cristionogaeth yn rhoddi y pwys mwyaf ar "enwaediad y galon." Ymffrostient hwy eu bod yn had Abraham, ond heb ofalu bod yn ddilynwyr "ffydd Abraham."

## CREFYDD YSBRYDOL.

Mae yr ysgrythyrau yn ei dangos felly yn mhob gwedd sydd arni.

*Yn ngwrthddrych ei haddoliad.* Mae yn rhaid i ansawdd yr addoliad gyfateb i natur y gwrthddrych a addolir. Mae hyn yn cael ei ddeall yn holl grefyddau Paganaidd y byd. Dyma yr egwyddor sydd yn rheoli eu holl offrymau a'u haberthau. Yr un yw yr egwyddor mewn Cristionogaeth. Ymresymai Paul a'r Atheniaid oddiar eu perthynas hwy â'r gwir

Dduw y dylasai eu syniadau fod yn gywir am dano, ac nid tybied fod y "Duwdod yn debyg i aur, neu arian, neu faen o gerfiad celfyddyd a dychymyg dyn." Rhaid i'r syniadau fod yn gywir am dano cyn y bydd y gwasanaeth yn deilwng o hono—oblegid yn ol ein syniadau y bydd ein teimladau ac yn ol ein teimladau y bydd ein hymddygiadau. Os cnawdol fydd y syniadau am dano, cnawdol hefyd fydd yr addoliad gyflwynir iddo. Y mae deall Beth yw Duw i fod yr *erthygl* flaenaf yn ein crefydd. Byddai dilyn syniadau plentynaidd a bwhwmanllyd y byd am natur Duw yn orchwyl afreidiol yn bresenol. Caiff yr oracl ddwyfol sefydlu y mater. Distawed holl leisiau dychymyg ddynol a gwrandewch ar Dduw mewn cnawd yn esbonio Duw mewn natur—"Ysbryd yw Duw." Dyna y ffaith—dyna y gosodiad. Y casgliad naturiol gan hyny ydyw "rhaid i'r rhai a'i haddolant ef addoli mewn ysbryd a gwirionedd"—gwasanaeth ysbrydol yn unig sydd deilwng o'r gwrthddrych. Yr oedd yr hen oruchwyliaeth yn ffafrio syniadau lleol am Dduw. Preswyliai ei ogoniant yn y deml yn Jerusalem—a bernid agosrwydd pawb ato yn ol agosrwydd pob un i arhosle y presenoldeb dwyfol. Yr *oedd yn* naturiol i feddyliau daearol gysylltu yr oll o grefydd â'r deml a'i gwasanaeth. Ond ymddangosodd Crist, a dysgodd y byd nad peth lleol ac amgylchiadol yw addoli. Nad oedd un cysegredigrwydd yn y temlau yn Jerusalem neu Gerazim mwy nag ar ben mynydd neu gysgod craig, ond "mai addoli mewn ysbryd ac mewn gwirionedd" yw y pwnc mawr. Ymresymai natur y gwasanaeth oddiwrth natur Duw. Yn gyffelyb y gwnai Paul yn Areopagus. Dengys Dduw yn ei fawredd fel creawdydd "y byd a phob peth sydd ynddo" fel "rhoddydd bywyd, ac anadl, a phob peth oll—fel "yr un a wnaeth o un gwaed bob cenedl o ddynion"—ac fel "penydd amserau rhagosodedig a therfynau preswylfod" ei holl greaduriaid. Dengys Dduw yn ei natur ; yn Ysbryd anweledig "er nad yw nepell oddiwrth bob un o honom"—mor agos atom "a'n bod yn byw, ymsymud, a bod ynddo"—ac nad "yw yn trigo mewn

temlau o waith dynion." Dyna yr ymresymiad galluog sydd ganddo am Dduw. Y casgliad naturiol y mae yn ei dynu ydyw, "Ac nid â *dwylaw* dynion y gwasanaethir ef." Gan mai y cyfryw Fod ysbrydol ydyw—nid gwasanaeth dwylaw cnawdol fydd yn dderbyniol a chymeradwy ganddo.

*Yn eisteddle ei awdurdod.* Mae wedi bod yn hen ddadl yn y byd. Pa le y mae trigle drwg moesol. Mae yn angenrheidiol gwybod hyny cyn gwneyd cynyg ar ei ddiwygio—ac y mae y gwahanol gynygiadau sydd gan ddynion i'w ddiwygio yn codi oddiar wahaniaeth yn eu syniadau am darddle ei ddrwg. Un dosbarth o Athronwyr a olygant fod llygredigaeth mewn defnydd—fod yr ysbryd, yr enaid yn bur a sanctaidd, ac mai yn y cnawd y mae llygredigaeth, ac mai cysylltiad y cnawd a'r ysbryd sydd yn achosi ei halogrwydd—a'r feddygyniaeth a gynygiant gan hyny i ladd drwg y byd ydyw digon o bwysau o boenau a chospau ar y cnawd er gwanhau a marweiddio ei dueddiadau. Mae dosbarth o anffyddwyr yn ein dyddiau ni yn honi mai mewn amgylehiadau yn unig y mae y drwg—nad oes dim ynddo ei hun yn dda na drwg, ond fod drwg a da yn ol amgylchiadau. Ac mai yr unig ffordd i ddiwygio y byd ydyw gwella ac unioni ei amgylchiadau. Nid llawer cywirach yw syniadau eraill a fynent osod eu hunain allan fel diwygwyr cymdeithas. Yr oedd y pwnc yma yn tynu sylw mawr yn nyddiau Crist. Golygai y Phariseaid mai esgeulusiad o ddefodau allanol—"bwyta a dwylaw heb ymolchi," a'r cyffelyb, mai hyny a halogai ddyn—a beient Grist a'i ddysgyblion yn fawr am eu bod yn eu hesgeuluso a thrwy hyny yn troseddu traddodiadau yr henafiaid. Ond dacw Iesu Grist yn ymddangos yn y byd fel diwygiwr awdurdodedig y nefoedd—ac un o'r pethau cyntaf a wnaeth oedd esbonio pa le y mae eisteddle llygredigaeth y byd ; pa le y mae ffynhonell ei aflendid. "Nid y pethau sydd yn myned i mewn i'r genau sydd yn halogi dyn ; ond y pethau sydd yn dyfod allan o'r genau ; canys y pethau sydd yn dyfod allan o'r genau sydd yn dyfod allan o'r galon. Canys o'r galon y mae meddyliau

drwg yn dyfod allan, lladdiadau, torpriodasau, godinebau, lladradau, camdystiolaethau, cablau, dyna y pethau a halogant ddyn." Yn awr, gan mai yn y galon y mae yr afiechyd, at y galon y mae eisiau cymhwyso y feddyginiaeth—rhoddi yr eli ar y clwyf—a plastr ar y dolur—" bwrw yr halen i ffynhonell y dyfroedd, fel yr iacheir y ffrydiau yn y canlyniad." Nid yn mhenau y byd y mae y diffyg ond yn eu calonau. Esboniodd Crist i Nicodemus mewn byr ymddiddan ansawdd y cyfnewidiad sydd yn eisiau ar bechadur. " Oddieithr *geni* dyn drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas Dduw." Nid yn unig y mae yn rhaid gwella ychydig ar ei fuchedd—a glanhau ei fywyd—a gwyngalchu ei ymarweddiad—a phrydferthu y dyn oddiallan; ond y mae yn rhaid i'r cyfnewidiad fyned yn ddyfnach na'r croen, y cnawd, yr esgyrn na'r mer; *rhaid ei* " eni drachefn." Rhaid gwneyd cyfnewidiad hollol a thrwyadl ynddo. Ac meddai Paul, " Od oes neb yn Nghrist, y mae efe yn greadur newydd." Nid yn unig mae ynddo rywbeth nad oedd o'r blaen, ond y mae yn "greadur newydd; yr hen bethau a aethant heibio, wele gwnaethpwyd pob peth o newydd." Calon newydd—buchedd newydd—*iaith newydd* —gwaith newydd—cwmni newydd—pleserau newydd "*pob peth o newydd.*" Ac y mae safle y peiriant sydd i wneyd y cyfnewidiad mawr yma yn dufewnol. " Y dwfr a roddwyf fi iddo a fydd *ynddo* yn ffynon o ddwfr yn *tarddu* i fywyd tragywyddol." Nid rhyw oruchwyliaethau allanol yn taflu y dwfr drosto—ond y mae ffynhonell y dwfr ynddo a'i *spring* mor gryf gweithia i fynu nes llifo drosto i olchi yr holl fudreddi sydd oddiamgylch iddo. Mae holl argraffiadau crefydd i gael eu gwneyd ar y galon—a'i holl rasau i gyfodi o'r galon. " Crist *ynoch* chwi." " Wele ceraist wirionedd *oddimewn* a pheri i mi wybod doethineb yn y dirgel." " Merch y brenhin sydd oll yn ogoneddus o *fewn.*" " A pha beth bynag a wneloch gwnewch *a'r galon.*" Mae gorsedd crefydd yn y galon. Nid yw clywed am y feddyginiaeth ddim yn iachau y claf heb gymeryd y cyffeiriai—nid yw gwybod am grefydd heb deimlo

ei dylanwad ar y galon, ond anigonol i gadw yr enaid. "Enwaediad y galon sydd yn yr Ysbryd."

*Yn agweddiad ei gwasanaeth.* Mae holl wasanaeth crefydd i fod yn yr ysbryd ac nid yn hender y llythyren. Nid oes dim cnawdol a ffurfiol yn dderbyniol gan Dduw. Gofynai mewn dirmyg i'r genedl Iuddewig pan oeddynt yn crugio eu defodau a'u seremoniau o'i flaen—"Ai dyma yr ympryd a ddewisais, dydd i ddyn i gystuddio ei enaid? Ai crymu pen fel brwynen ydyw, a thaenu sachlian a lludw dano? Ai hyn a elwi yn ympryd ac yn ddiwrnod cymeradwy gan yr Arglwydd." Ai rhyw wasanaeth ffurfiol, rhagrithiol, ymddangosiadol fel yna am boddlona? Ai crugio seremoniau—pentyru defodau a chasglu rhyw swp o ffurfiau sydd i fod yn "ympryd ac yn ddiwrnod cymeradwy gan yr Arglwydd?" Ynfydrwydd i gyd. "Onid dyma yr ympryd a ddewisais, datod rhwymau anwiredd, tynu ymaith feichiau trymion, gollwng y gorthrymedig yn rhyddion, a thori o honoch *bob* iau. Onid tori dy fara i'r newynog, (rhanu y dorth i'r neb sydd mewn anghen) dwyn o honot y crwydriaid i dŷ—pan welych noeth ei ddilladu ("y neb sydd ganddo ddwy bais rhodded i'r neb sydd heb yr un") ac nac ymguddiech rhag dy gnawd dy hun." Rhyw wasanaeth sylweddol, yn unig sydd dderbyniol gan Dduw. Blinai yn dwyn eu beichiau seremoniol. Dacw gynulleidfa dan deimlad gwasgedig o'u sefyllfa yn gofyn "A pha beth y deuwn ger bron yr Arglwydd ac yr ymgrymwn ger bron yr uchel Dduw." Mae Duw wedi ei ddigio. Mae ei ddigofaint wedi enyn. Rhaid i ni ymddangos ger ei fron mewn ymostyngiad—ond nid gwiw "ymddangos yn waglaw." "A pha beth y deuwn?" Dyna ryw un yn cyfodi ac yn cynyg cynllun i hyny. "A ddeuaf fi ger ei fron ef â photh-offrymau ac a dyniewaid?" Mae genyf ychydig o'r rhai hyn. Os gwnant y tro yr wyf yn foddlon eu rhoddi. Dyna ryw un arall cyfoethocach yn cyfodi i gynyg cynllun effeithiolach. "A foddlonir yr Arglwydd â miloedd o feheryn neu â myrddiwn o ffrydiau olew?" Er eu gwerthfawroced caent fyned os ydynt dderbyniol. Dyna

ryw dad tyner galon dan ingoedd teimlad yn cynyg ei aberth gwerthfawrocaf. "A roddaf fi fy nghyntaf-anedig dros fy anwiredd?" er mai dau lygaid ei dad ydyw—caiff fyned os gwna y tro. Dyna ryw fam mewn gwasgfa am ei chyflwr yn cynyg "ffrwyth ei chroth dros bechod ei henaid." Os gwasanaetha i ddyhuddo digofaint y Duw sydd wedi ei ddigio, yr wyf yn foddlon ei roddi. *Distewch*, meddai Duw, nid oes eisiau y fath ddifrod ar feddianau a'r fath rwygiad ar deimladau. Cadw di dy boeth-offrymau a'th ddyniewaid. Bydd dithau yn ofalus am dy feheryn a'th olew. Ymddedwyddu dithau dad yn ngwynebpryd a phresenoldeb dy gyntafanedig. Gorwedded dy faban ar dy liniau di y fam dyner galon i sugno dy fronau. Mae y drefn yn fwy syml ac ysbrydol. "Dangosodd efe i ti ddyn beth sydd dda, a pha beth a gais yr Arglwydd genyt, gwneuthur barn, hoffi trugaredd; ac ymostwng i rodio gyda Duw." Darostwng balchder dy galon—ymostwng o uchder dy ysbryd i fod yn ddigon gostyngedig "i rodio gyda Duw." Ysbrydol hollol ydyw ei gwasanaeth. "Nid am dy aberthau y'th geryddaf na'th boeth-offrymau am nad oeddynt ger fy mron I yn wastad," meddai Duw wrth y genedl Iuddewig. Nid wyf yn beio dim arnat am dy esgeulusdra i ddwyn ger fy mron aberthau ac offrymau. Ond "ni chymeraf fustych o'th dŷ na bychod o'th gorlanau, canys holl fwystfilod y coed ydynt eiddo fi, a'r anifeiliaid a'r fil o fynyddoedd. Adwaen holl adar y mynyddoedd, a gwyllt anifeiliaid y maes ydynt eiddo fi. Os bydd newyn arnaf ni ddywedaf i ti, canys y byd a'i gyflawnder sydd eiddo fi." Mae genyf ddigon o ddefnydd aberth wrth law pe yn eu hamledd a'u lliosogrwydd y byddai y rhagoriaeth. Ond "A fwytaf fi gig teirw, neu a yfaf fi waed bychod?" A wyt ti yn meddwl mai rhyw lew gwancus a difäol ydwyf nad oes dim digoni arnaf â gwaed? Nage, Nage, "Abertha *foliant* i Dduw a thal i'r Goruchaf dy addunedau." Oblegid "Y neb a abertho foliant a'm gogonedda I, a'r neb a osodo ei ffordd yn iawn dangosaf iddo fy iachawdwriaeth." Gwasanaeth y galon yn unig sydd dderbyniol gan

Dduw. "Aberthau Duw ydynt galon ddrylliog, ac ysbryd cystuddiedig, O Dduw, ni ddirmygi."

*Yn egwyddor gymhelliadol ei holl weithrediadau.* Mae pob crefydd yn cael ei hysgogi gan ryw brif egwyddor—felly hefyd Cristionogaeth. *Cariad* ydyw egwyddor fawr ei holl ysgogiadau—dyma ei gallu symudol hi. Nid bygythion na melldithion—mellt na tharanau—cospau na dyoddefiadau—ond cymhellir i'w holl ddyledswyddau gan gariad. Cyfundraeth o gariad yw crefydd. Egwyddorion—athrawiaethau—ordinhadau—a dyledswyddau cariad yw y cwbl sydd yn perthyn iddi. Cariad yw ei Halpha a'i Homega. Y mae pob peth a berthyn iddi yn crogi ar gariad fel ar "hoel mewn lle sicr." Edrychwn arni o bob man, agweddiad cariad sydd arni. "A oes Duw yn eich crefydd chwi?" Oes. "Y gwir a'r bywiol Dduw;" ac i ni "nid oes ond un Duw." Pa fath ydyw? "Duw *cariad* yw." "A oes cyfraith yn perthyn i'ch crefydd chwi?" Oes; y gyfraith oreu, buraf, a roddwyd i ddynion erioed Pa fath ydyw? "Cyflawnder y gyfraith yw *cariad*." "A oes ffydd yn eich crefydd?" Oes. "Ffydd sydd yn gweled yr anweledig." Ffydd sydd yn "ymafael yn nerth Duw." "Pa fath ydyw?' "Ffydd yn gweithio trwy *gariad*," "A oes gobaith yn eich crefydd? Oes, dyna sydd yn ein dal rhag suddo—a hwnw yn "obaith da trwy ras." Yn "obaith fel angor yr enaid wedi ei daflu at yr hyn sydd o'r tu fewn i'r llen." "Pa fath ydyw?" "Gobaith ni chywilyddia am fod *cariad* Duw wedi ei dywallt ar led yn ein calonau." Cariad ydyw yn mhob elfen a berthyna iddi—a dylanwad ei chariad sydd i enill eraill ati. Mae Mahometaniaeth wedi estyn ei gwialen haiarn dros filiynau o'r hil ddynol, ond yn nerth y cleddyf bob cam. Mae Pabyddiaeth wedi dwyn miloedd yn gaethion dan ei hawdurdod; ond wrth liwio heolydd â gwaed, a mwydo y ddaear â chnawd dynol. Mae y brenin Iesu yn rhifo ei ddeiliaid wrth y miliynau. Pa fodd? "Cariad Crist sydd yn ein cymell ni;" neu fel y mae P. Doddridge yn darllen y geiriau' "Cariad Crist sy'n myned a ni"—

fel yr agerdd yn myned a'r *train*—fel yr awel yn myned a'r llong—fel y gwynt yn myned a'r cwmwl—felly y mae "cariad Crist yn myned a ni"—swyno y galon—enill yr ewyllys—"tynu â rheffynau dynol ac â rhwymau cariad"—"denu i'r anialwch a dywedyd wrth fodd ein calon." O! y fath swyn sydd gan gariad Crist.

"Anweledig, 'rwy'n dy garu, rhyfedd ydyw nerth dy ras;
Denu'm calon i mor hyfryd o'i bleserau pena' ma's;
Ti wnest fwy mewn un mynudyn nag a all'sai'r byd o'r bron,
Enill it' eisteddfa dawel yn y galon gareg hon."

*Yn ansawdd ei gorfoledd.*—Cnawdol ydyw llawenydd yr annuwiol—clindarddach drain dan grochan ydyw, erbyn rhoddi tân dano, ffagla yn gynhyrfus ac â heibio; nid yw ond rhywbeth i foddio y nwyd a'r dymher dros ychydig—"Byr yw gorfoledd yr annuwiol, a llawenydd y rhagrithiwr dros funud awr." Ond y mae gorfoledd crefydd yn wahanol; ysbrydol hollol ydyw; llawenydd y galon—gorfoledd yr enaid, yn cyfodi oddiar gymdeithasiad meddwl â gwrthddrychau ysbrydol. "Yr hwn er nas gwelsoch yr ydych yn ei garu; yn yr hwn heb fod yr awrhon yn ei weled, ond yn credu, yr ydych yn mawr lawenhau â llawenydd annhraethadwy a gogoneddus." Nid dylanwad llais soniarus yn swnio ar y glust, neu ffraethder ymadrodd yn creu gwên, neu arllwysiad hyawdledd yn boddhan y teimlad; ond y gorfoledd hwnw y mae yr enaid yn ei deimlo oddiwrth symlrwydd ac ysbrydolrwydd pethau iachawdwriaeth. Ac y mae llawenydd a gorfoledd crefydd yn y byd yma o'r un ansawdd a'i llawenydd yn y nefoedd. Mae y gwahaniaeth yn unig mewn graddau. Mae y diferynau yma, y cawodydd mawrion yno; y briwsion yma, y wledd yno; y tywyniadau achlysurol yma, haul canol dydd digymylau yno; y ffrydiau yma, y môr yno. Y mae gan bob crefydd ei nefoedd, ac y mae eu syniadau yn y nefoedd yn wrachiaidd a chnawdol fel hwy eu hunain. Y cyfryw ydyw golygiadau babanaidd Pabyddiaeth a Mahometaniaeth am y nefoedd. Ac o bosibl nad ydyw syniadau lllawer o honom ninau nemawr cywirach. Mae yn wir

fod dylanwad mawr gan olygfeydd dymunol i'r llygaid, a pheroriaeth soniarus i'r glust arnom, ac y mae yn naturiol i ni gysylltu ein syniadau am orfoledd a hyfrydwch a'r pethau hyny; a chan fod ein holl ddrychfeddyliau yn gysylltiedig â chnawd, nis gallwn ffurfio syniadau cywir am sefyllfa, a phethau a phersonau perffaith ysbrydol. Rhydd y Beibl ar ddeall i ni fod y nefoedd yn lle o ryw fath ; ond yn wir y mae yn lle cwbl wahanol i un lle a welsom erioed, ac yn wahanol i un darluniad a allwn dynu o hono yn ein meddwl. Sonir am dani "fel dinas ag iddi sylfaeni ;" "dinas gyfaneddol ;" "gwlad well ;" "paradwys Duw," a'r cyffelyb. Y perygl ydyw cymeryd yr ymadroddion yna yn llythyrenol ; oblegid arwyddluniol ydynt o nefolrwydd ac ysbrydolrwydd y fodoliaeth wynfydedig.

Dychymygwn am y nefoedd fel gwastadir eangfaith, o'r arweddiad mwyaf amrywiol—cylchynedig gan goedwigoedd cauadfrig, yn plygu dan gyforedd o'r ffrwythau melusaf—addurnedig a'r rhodfeydd prydferthaf—afonydd glwysion doleuog yn rhedeg drwyddo, "dysglaer fel y grisial, a'r saint perffeithiedig ar eu glenydd iachusol. Dinas Duw wedi ei hadeiladu yn ei ganol, ei muriau o feini Saphir—ei heolydd wedi eu palmantu ag aur pur—y palasau godidocaf o'i mewn wedi eu codi o'r mynor gwyn, a'u prydferthu â'r lleni gwychaf, a'u dodrefnu yn y dull mwyaf mawreddog ; a'r preswylwyr yn cyfaneddu yn y trigfanau heirdd a'r llys brenhinol yn nghanol y ddinas, ac ynddo

"Orielau uwch eang orielau,
O amgylch yn rhes ar ol rhes,
Yn llawn o seraphiaid a seintiau,
Rhai yn mhellach oddiwrtho, rhai nes ;"

A Chyntaf-anedig Duw fel llywydd galluog y lle yn eistedd ar ei orsedd wen fawr, a bloeddiadau y dyrfa waredigol yn ei glustiau—"Teilwng yw yr Oen." Beth fydd yr olygfa yn sylweddol yn wahanol i'r darluniad dychymygol sydd genym o honi, wyddom ni ddim,—"Nid amlygwyd eto beth a fyddwn;" ond gwyddom hyn, bydd y cwbl er gwell "y tu hwnt i ddim

a allwn ni ei feddwl na'i ddymuno." Yr ydym yn aml yn ffurfio rhyw ddrychfeddwl am bersonau, dinasoedd, a gwledydd cyn eu gweled, ac wedi y gwelsom hwynt, y maent yn troi allan yn wahanol i'n disgwyliadau, weithiau yn well ac yn aml yn waeth. Ond bydd y gwahaniaeth yn y nefoedd i gyd er gwell, "y tu hwnt."—Ond cofier ysbrydol hollol ydyw. Mor ofalus y mae yr ysgrifenwyr sanctaidd, wrth arfer ymadroddion ffigyrol, rhag i neb ffurfio syniadau cnawdol am y nefoedd. "*Gwlad well*" ydyw ; ïe, ond UN NEFOL. "*Ty*" ydyw ; ïe, y godidocaf a adeiladwyd erioed, ond "NID O WAITH LLAW." "*Dinas*" ydyw ; ïe, prif ddinas yr ymerodraeth, ond "SAER AC ADEILADYDD YR HON YW DUW." "DINAS NAD RHAID IDDI WRTH GANWYLL NA GOLEUNI HAUL." "A theml ni welais ynddi." Yn y "ddinas sanctaidd," y "Jerusalem newydd." Nid oes yno yr un deml, ac nid oes ei hangen. Mae yr offrymau, y defodau a'r aberthau wedi eu llyncu i fynu. "Yr Arglwydd Dduw Hollalluog a'r Oen yw ei theml hi" Ysbrydol hollol ydyw. Ysbryd dyn mewn cymundab ag Ysbryd Duw heb y "drych a'r ddameg," y ffurf a'r arwydd—pethau ysbrydol i gyd. "Duw ysbrydol"—angylion yn "ysbrydion gwasanaethgar ;"—"ysbrydoedd y cyfiawn y rhai a berffeithiwyd"—gwasanaeth ysbrydol—enaid ysbrydol—mewn sefyllfa ysbrydol—yn cymdeithasu â gwrthddrychau ysbrydol, a rhyw drosglwyddiad oddiwrthynt yn llanw y meddwl â gorfoledd ysbrydol, "annhraethadwy a gogoneddus." Ond aros, ymbwylla fy nychymyg gwibiog, nid gwiw teithio yn mhell y ffordd yna, mae drychfeddyliau yn methu—mae iaith yn pallu—mae ein cysylltiad â chnawd yn ein llethu, rhaid aros i'r "hyn sydd farwol gael ei lyncu gan fywyd" cyn y gallwn iawn synied am y dedwyddwch sydd uchod.

Ah ! meddai rhyw un, gobeithio y caf y nefoedd. Y mae cwestiwn pwysicach yn nês atat, fy nghyfaill, A wyt ti yn gymhwys i'r nefoedd ? Ni bydd y nefoedd yn nefoedd heb gymhwysder iddi. Beth wnei di yno heb gymhwysder i fwynhau y sefyllfa ? Nid oes dim o dy bethau yno ; carchar fydd-

ai y nefoedd i ddyn a elai yno heb gymhwysder i'r nefoedd. Mae odfa o ddwy awr yn faich ar dy ysbryd—yn boen i dy feddwl; mae dy feddwl yn gwibio ar ol y maesydd a'r anifeiliaid—y prynu a'r gwerthu—y *shop* a'r gwaith, ac a wyt ti yn meddwl y byddi byth yn ddedwydd yn y nefoedd heb ddim ond pethau ysbrydol i gymdeithasu â hwy? Gyfaill anwyl, mae eisiau cymhwysder i'r nefoedd yn y sancteiddhad yn gystal a thitl i'r nefoedd yn y cyfiawnhad. "Lle parotoedig i ddynion parotoedig ydyw y nefoedd," meddai un o'r Puritaniaid; ac "Heb sancteiddrwydd ni chaiff neb weled yr Arglwydd" Nid rhyfedd i Paul dori allan mewn per-lewygfa orfoleddus—"Gan ddiolch i'r Tad yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni."

Frodyr anwyl, pa faint o ymwneyd â Duw sydd yn ein crefydd? Gofynai yr Arglwydd i'r genedl Iuddewig oeddynt yn ofalus am ympryd y pumed a'r seithfed mis, "Pan ymprydiasoch, ai i mi yr ymprydiasoch?" Mae yn gofyn i ninau sydd yr un mor ddefosiynol gyda gwahanol ranau y cyflawniadau —"Ai i mi y gwnaethoch?" Gall fod ein holl wasanaeth yn foddhaol a chymeradwy gan ddynion, ac heb fod ynddynt ddim i'r Arglwydd. Mae yr Arglwydd yn cyfarch y gweddiwr sydd yn trefnu ei fater yn gryno, yn ymadroddi yn ddylanwadol, ac yn lleisio yn beraidd—"Ai i mi y gwnaethoch?" Mae yn gofyn i'r cantorion deallus, coethedig, soniarus—"Ai i mi y gwnaethoch?" Mae yn gofyn i'r pregethwr hyawdl, doniol, araethyddol—"Ai i mi y pregethwch?" O! pa faint o ymwneyd â Duw sydd yn ein cyflawniadau? Gall ein gweddio, ein canu, a'n pregethu synu ein cynulleidfaoedd a Duw yn gofyn, "Pwy a geisiodd hyn ar eich llaw? "Na chwanegwch ddwyn offrwm ofer." Cymaint o ymwneyd â Duw sydd yn ein crefydd yn unig sydd yn wasanaeth i'r Arglwydd.

Wrandawyr hawddgar, os nad ydyw ymwneyd â holl ordeiniadau crefydd yn diogelu yr Eglwys, pa le yr ymddangoswch chwi nad oes genych na'r ysbryd na'r ffurf? Nid gwran-

do a deall yr Efengyl a'ch ceidw, ond ei chredu ac ufuddhau iddi. Llawen iawn genym weled fod egwyddorion crefydd yn cael eu dwyn i gysylltiad â deall ein cynulleidfaoedd; ond crefydd i'r galon fydd yn iachawdwriaeth iddynt. Rhoddir i grefydd awdurdod y galon. Pa gysur i glaf yn nirdyniadau ei afiechyd fyddai i feddyg galluog ddyfod ato ac egluro iddo natur ei afiechyd—ei ymdaeniad drosto—a'i ddylanwad arno; ac er dangos iddo elfenau y feddyginiaeth ar ei gyfer, a'i dwyn i'w dŷ, gan ei gosod yn ei olwg, a'i gyfarwyddo pa fodd i'w defnyddio, eto marw yn sicr a wnelai y claf heb gymeryd y cyffeiriau er ei iachâd. Bobl anwyl, yr ydych yn glaf "o'r clefyd sydd i farwolaeth." Mae y Meddyg "a ddichon yn gwbl iachau" yn cynyg trefn eich iachad—mae y feddyginiaeth wedi ei dwyn i'ch ymyl—mae yn eich golwg—gwyddoch pa fodd i'w chymeryd; ond er y cwbl heb gymeryd y feddyginiaeth; "Chwi a fyddwch feirw yn eich pechodau." Rhaid i grefydd gael gafael yn ei gorsedd. Y galon, dyma ei gorsedd, ac ni bydd yn ei lle yn unman arall; oblegid "*enwaediad y galon sydd yn yr ysbryd, nid yn y llythyren.*"

---

# PREGETH XXV.

## PRESENOLDEB DUW YN AMHEUS.

EXODUS xvii. 7.

"A ydyw yr Arglwydd yn ein plith ni, ai nid yw?"

Mae y geiriau yn wreiddiol yn cynwys ymofyniad amheus Israel rwgnachlyd wrth ddyfroedd Meriba. Nid oedd an ddadl i fod nad oedd yr Arglwydd yn eu plith hwy. Yr

oedd arwyddion gweledig o'i bresenoldeb gyda hwy ; oblegid "yr Arglwydd oedd yn myned o'u blaen hwynt y dydd mewn colofn o niwl, i'w harwain ar y ffordd ; a'r nos mewn colofn o dân, fel y gallent fyned ddydd a nos. Ni thynodd efe ymaith y golofn niwl y dydd, na'r golofn dân y nos, o flaen y bobl." Dyma y ddau arwyddlun mwyaf cyffredin o bresenoldeb Duw a ddefnyddir yn y Beibl. Pan yr ymadawsant o'r Aipht y gwelsant y cwmwl gyntaf. Trwy y golofn a'r cwmwl yma yr edrychodd yr Arglwydd ar fyddin yr Aiphtiaid, a therfysgwyd hwy. Yn y cwmwl yma yr ymddangosodd gogoniant yr Arglwydd yn anialwch Sin, yn ngwyneb grwgnachrwydd y bobl ; yn y cwmwl yma y daeth yr Arglwydd i lawr pan y llefarodd Miriam ac Aaron yn erbyn Moses, ac y tarawyd Miriam â gwahanglwyf ; yn y cwmwl yma y daeth yr Arglwydd i lawr ar babell y cyfarfod, ar ol dinystr Corah, pan yr oedd y bobl ar ddial ar Moses ac Aaron ; yn y cwmwl yma y disgynodd Duw ar Sinai, ac a orchuddiodd y mynydd chwe' diwrnod ; gan ymestyn o bob tu, fel pe buasai Jehovah wedi codi ei babell ar y mynydd ; a galwodd Moses i fynu ato y seithfed dydd, a bu yno ddeugain niwrnod. Y golofn gwmwl yma safodd yn mhorth pabell y cyfarfod i ymddiddan â Moses wedi i Israel bechu gyda'r llo aur. Dyma y cwmwl oedd yn rheoli eu symudiadau, a phan y cyfodai y cwmwl oddiar y tabernacl y cychwynai meibion Israel i'w holl deithiau. Dyma y cwmwl yn mha un yr ymddangosai yr Arglwydd ar y drugareddfa ; y cwmwl yma a aeth drosodd gydag Israel i wlad Canaan, ac a arosodd yn Siloh am dri chant o flynyddoedd, yna a gymerodd ei drigfan yn nheml Solomon, "ac a lanwodd dŷ yr Arglwydd fel na allai yr offeiriaid sefyll i wasanaethu o herwydd y cwmwl ;" ac mewn cyfeiriad uniongyrchol at hyn y dywed y proffwyd, "A'r Arglwydd a grea ar bob trigfa o fynydd Seion ac ar ei gymanfaoedd gwmwl a mwg y dydd a llewyrch tân fflamllyd y nos ; canys ar yr holl ogoniant y bydd amddiffyn." Yr oedd presenoldeb Duw yn amlwg iddynt trwy arwyddion diamheuol. Ac er nad yw y golygfeydd ar-

wyddluniol yna i'w cael yn awr, nid yw ei bresenoldeb grasol yn mysg ei bobl yn llai gwirioneddol. Mae y testyn o gymhwysiad ëang, a chyda llawer mwy o briodoldeb y gallwn ni ofyn yn awr, nag y gofynodd Israel gynt, "*A ydyw yr* Arglwydd yn ein plith, ai nid yw?" O ran presenoldeb *ei* hanfod anfeidrol, y mae yn mhob man, "Onid wyf fi yn llenwi y nefoedd a'r ddaear, medd yr Arglwydd?" "I ba le yr âf oddiwrth dy Ysbryd? ac i ba le y ffoaf o'th ŵydd?" Duw Hollbresenol ydyw o ran ei hanfod. Ond o ran ei bresenoldeb grasol a'i wenau ar ei bobl, y mae weithiau yn amlwg, ac weithiau yn cuddio ei wyneb. Mae rhyw adegau pan y mae yn amlwg fod Duw wedi cilio—ei enaid wedi ymadael, a'r gogoniant wedi myned ymaith. Mae Eglwysi Asia, a llawer o Eglwysi ar eu hol hwy, yn golofnau pruddaidd o hyn. Ac o'r ochr arall, y mae adegau pan y mae yn amlwg fod Duw yn wir yn mysg ei bobl. Gwelsom adegau felly. Mae eu hadgofio yn llonder i'n hysbrydoedd: ac os anghofiwn hwynt, anghofied ein deheulaw ganu. Adegau y cauid genau pob cablwr, ac ni feiddiasai y mwyaf rhyfygus ofyn "Pa le gan hyny y mae eu Duw hwynt?" onide atebasid ef *ar unwaith* gan fil o leisiau, yn dywedyd, "Yr Arglwydd dy Dduw yn dy ganol di sydd gadarn; efe a achub, efe a lawenycha o'th blegid gan lawenydd; efe a lonydda yn ei gariad, efe a ymddigrifa ynot dan ganu." Ond y mae rhyw amgylchiadau pan y mae presenoldeb grasol Duw yn mysg ei bobl yn beth amheus, nis beiddiwn ddyweyd wrtho, "Gadewaist dy dir, gadewaist dy etifeddiaeth;" ac ar yr un pryd nid ydym yn teimlo ei bresenoldeb mor amlwg nes dywedyd yn hyderus, "Diau fod yr Arglwydd yn ein plith;" ac nid oes genym ond ymofyn yn bryderus, "A ydyw yr Arglwydd yn ein plith ai nid yw?"

PRESENOLDEB DUW YN BETH AMHEUS.

Mae llawer iawn o briodoldeb yn yr ymofyniad i sefyllfa crefydd yn ein Heglwysi yn y dyddiau hyn; mae yn weddus

i ni ymofyn, Pa bryd y gellir dyweyd fod presenoldeb grasol Duw yn mysg ei bobl yn beth amheus? A dichon y gwelir wrth chwilio fod llawer iawn o briodoldeb yn yr ymofyniad i sefyllfa bresenol crefydd yn ein Heglwysi.

1. *Pan y byddo diofalwch mawr am athrawiaethau yr Efengyl, a thuedd eithafol at ryddfrydigrwydd mewn barn.* Yr Eglwys ydyw gwarcheidwad y gwirionedd. Ymddiriedwyd oraclau Duw i'r Eglwys Iuddewig, ac y mae "y gyfraith i fyned allan o Seion, a gair yr Arglwydd o Jerusalem." "Eglwys y Duw byw, yr hon yw colofn a sylfaen y gwirionedd." "Agorwch y pyrth fel y del y genedl gyfiawn i mewn, yr hon a geidw wirionedd." Ac y mae gofal am, a sêl dros, egwyddorion mawrion sylfaenol a gwahaniaethol yr Efengyl yn hynodi pob cyfnod llewyrchus a blodeuog ar grefydd, a diofalwch ac yslacrwydd yn hynodi pob adeg isel a dirywedig ar grefydd. Mewn cysylltiad â rhyw wirionedd mawr efengylaidd y mae pob diwygiwr crefyddol wedi ysgwyd y byd. Athrawiaeth fawr cyfiawnhad trwy ffydd oedd baich cenadwri Luther, ac â hono y siglodd y Babaeth i'w seiliau. Rhoddodd John Calvin, diwygiwr mawr Geneva, yr arbenigrwydd mwyaf i wirioneddau hanfodol yr Efengyl, ac addefir gan bawb bron ddarllenodd ei ysgrifeniadau, nad ymddangosodd neb er dyddiau Paul yn deall yr Efengyl yn well na John Calvin. Yr un egwyddorion a ddysgwyd gan Dr. Owen, Howe, Goodwin, Manton, Charnock, ac eraill o'r Puritaniaid; ac i'r un gwirioneddau y rhoddodd diwygwyr y ddeunawfed ganrif yn Nghymru a Lloegr gyhoeddusrwydd trwy y wasg ac yn y pwlpud; a rhoddodd Duw ei sel wrth eu cenadwri. Mae pob cyfnod o lwyddiant mawr ar grefydd wedi ei hynodi yn nyrchafiad rhyw wirionedd neu wirioneddau neillduol i sylw. A phob amser fel y mae dirywiad yn d'od i mewn, un o'r arwyddion cyntaf ydyw diofalwch pa beth a gredir. Gweinidogaeth wan, anmhenodol, arwynebol, yn ysgoi gwirioneddau mawrion yr Efengyl a dyfnion bethau Duw; meddyliau ofnus, heb hyder yn y gwirionedd, ond dyn belled ag y gallent ei

gynwys yn eu hamgyffredion hwy eu hunain ; ac yn hytrach na chydnabod eu heiddilwch i ddirnad "y pethau anhawdd eu deall" sydd yn yr Efengyl, yn gwyrdroi yr ysgrythyrau i ategu eu golygiadau dychymygol a bwhwmanllyd. Mae *holl* gyngor Duw i gael ei fynegi gan y weinidogaeth, a hyny *heb atal* dim o'r pethau buddiol. Mae rhyddfrydigrwydd at eraill yn werthfawr iawn. Ni fynwn atal neb i draethu ei olygiadau yn hyf, na'i osod dan unrhyw anfantais yn gymdeithasol o'u plegid ; ond y mae yn bosibl cario y rhyddfrydigrwydd yma yn rhy bell, trwy gelu y gwirionedd er mwyn boddio, neu rhag tramgwyddo eraill ; neu lefaru mor amwys a dibwynt arnynt nes pylu meddyliau dynion at athrawiaethau mawrion sylfaenol a gwahaniaethol yr Efengyl. Gwneyd pob gwirionedd yn ddibwys yn ngolwg dynion ydyw un o ystrywiau tad y celwydd ; ac unwaith y collir y nodd bywiol o sêl dros yr athrawiaeth o gorff ein crefydd, ni bydd yn aros ond ysgerbwd sych. Dynion o argyhoeddiadau cryfion am y gwirionedd sydd wedi gadael eu hol ar y byd. Eglwysi uniongred Prydain a achubodd fywyd crefydd yn yr ynys. A lle y mae sêl dros y gwirionedd wedi ei golli, nid oes dim gwerth ei gadw yn aros. Pan y gwelir diofalwch mawr am y *gwirionedd*, a gor-ryddfrydigrwydd yn ffynu, gellir gofyn yn bryderus, "*A ydyw yr Arglwydd yn ein plith, ai nid yw?*"

2. *Pan y byddo cymeriadau drygionus yn cael eu goddef yn ddisylw ; a chydffurfiad mawr rhwng yr Eglwys ag ysbryd ac arferion y byd.* Sancteiddrwydd ydyw prif nodwedd Eglwys Dduw. Nid oes ganddi ond ei chymeriad i enill dylanwad, Gall lluosogrwydd, cyfoeth, gwybodaeth, a thalentau wneyd llawer dros barchusrwydd Eglwys ; ond os na bydd iechyd ysbrydol o'i mewn, a sancteiddrwydd yn dysgleirio yn ei bywyd, nis gall gario dylanwad dwfn a pharhaol. Ei glendid moesol yw ei gogoniant. Nis gall Eglwys feddu dylanwad os heb sancteiddrwydd. Nid gwaeth pa mor addurnol ac amrywliwiog yw y ffenestr ; os oes gwe y pryfcopyn drosti, ni welir dim trwyddi. Yr Eglwys sydd i ddangos

Duw i'r byd ; ond os nad yw ei chymeriad yn loyw nis gall adlewyrchu ei sancteiddrwydd ef. Ac un o brif amcanion dysgyblaeth ydyw amddiffyn cymeriad yr Eglwys. Nid fod dynion yn syrthio i bechodau sydd yn tori cymeriad yr Eglwys ; ond eu gadael yn eu pechodau yn ddisylw : "cydymfoddloni â'r rhai sydd yn eu gwneuthur hwy." Disgynodd barn Duw ar feibion Eli oblegid eu pechodau ysgeler hwy, a digiodd Duw wrth Eli eu tad am na waharddodd efe iddynt. "Goddef y rhai drwg" yw yr achwyniad a ddygir yn erbyn amryw o Eglwysi Asia. Dynion drwg yn Eglwys Dduw ydyw y cancr mwyaf dinystriol iddi. Yn llygredig eu hunain, ac yn llygru eraill. "Pobl yn preswylio eu hunain, ac heb gael eu cyfrif gyda'r cenhedloedd," y gwelodd Balaam Israel gynt, a gorfodwyd ef i ddywedyd, "Nid oes swyn yn erbyn Jacob, na dewiniaeth yn erbyn Israel." Ac yn absenoldeb Duw y mae y cymeriadau hyn yn ymhyfhau. Mae presenoldeb Duw yn gyru braw ar gymeriadau llygredig yn yr Eglwys. "Pechaduriaid a ofnasant yn Seion, dychryn a ddaliodd y rhagrithwyr ; pwy o honom a drig gyda'r tân ysol? pwy a breswylia gyda'r llosgfeydd tragywyddol?" Pelydrau dysglaer yr haul yn llewyrchu ar bob congl yn yr ystafell a ddengys y budreddi fyddo ynddi ; felly hefyd y tanbeidrwydd sydd yn nglŷn â phresenoldeb Duw a bair i gymeriadau dryg-ionus yn cael eu noddi a'u dyrchafu—a phechodau yn cael edrych heibio iddynt yn ysgafn—ac ysbryd y byd yn cancro proffeswyr—ac ymollyngiad diatal i arferion cymdeithas yn mysg crefyddwyr—a neb heb ddigon o wroldeb i godi ei lais yn erbyn y drwg, y mae yn llawn bryd gofyn, "*A ydyw yr Arglwydd yn ein plith, ai nid yw!*"

3. *Pan y byd o tuedd ymrysongar yn cryfhau, ac ysbryd ymgyndynu yn ffynu yn yr Eglwys.* Yr addurn prydferthaf mewn Eglwys ydyw heddwch. Dyma nôd gwahaniaethol y saint. "Cariad," meddai un, "yw *lifra* Cristionogoeth." "Wrth hyn y gwybydd pawb mai dysgyblion i mi ydych yn wir, os bydd genych gariad belaeth at eich gilydd." Nid oes

dim ond cariad i gylymu Eglwys Dduw yn nghyd. Gellir cysylltu corfforiaethau dynol â rhwymau eraill ; ond cariad yn unig a gysyllta y saint â'u gilydd. Mae pob cysur yn ffoi pan gollir cariad o'r Eglwys. Ac nid yw dynion heb gariad at Dduw yn cydio yn ei Eglwys ef. Y maent fel pe'd adeiladid mur â phridd rhydd, asia y naill ddim yn y llall ; ac y mae yn rhwym o ddyfod i lawr. Cariad at Dduw ydyw y cymrwd sydd yn cydio y saint â'u gilydd. "Ond am frawdgarwch nid rhaid i chwi ysgrifenu o honof atoch ; canys yr ydych chwi wedi eich dysgu gan Dduw i garu eich gilydd." Sylwa Gurnal fod y Cristion yn myned i Galfaria ac yn cael cariad yno yn sypynau mawrion yn *wholesale*, yna yn agor masnachdy bychan yn ei galon i'w *retailio ;*" ac nid oes diffyg cariad at y frawdoliaeth lle y mae llawnder cariad at Dduw. Mae mor naturiol i'r dyn sydd yn caru Duw garu ei frawd hefyd, ag yw i'r wreichionen ehedeg i fynu. Ar ysbryd dyn y mae crefydd yn effeithio yn benaf. A phan y mae presenoldeb Duw yn amlwg yn Seion y mae calon yr Eglwys yn un, wedi ymroddi i'w gilydd. Ond pan y mae Duw yn cilio, y mae "y gelyn yn dyfod i mewn fel afon." Pan y mae y penteulu oddicartref, ond odid nad â y plant i ymrafaelio—y *maent yn methu* cytuno pwy sydd ben. Mae yr Eglwys yn fuan yn myned i ymryson os na bydd Duw yn amlwg. Nid yw ymrysonau Eglwys yn ddim ond arwydd o ymadawiad Duw. Os clywir dynion yn dadleu am yr awdurdod—yn anystwyth i ymostwng i'r ddysgyblaeth—yn ymbleidio ac ymddadleu am bethau dibwys—ac yn anafu eu gilydd â geiriau fel brath cleddyf, mae yn llawn bryd gofyn, "*A ydyw yr Arglwydd yn ein plith, ai nid yw?*"

4. *Pan byddo gwresawgrwydd yn ymgolli o'n crefydd, a ffurfioldeb yn nodweddu yr holl wasanaeth.* Mae gwres yn perthyn i grefydd. Bywyd Duw yn enaid dyn ydyw, a lle y mae bywyd y mae gwres. Mae gwres yn hanfodol i'r corff iach. Mae yn wir fod gwres anghymedrol yn y corff weithiau yn codi oddiar anhwyldeb y cyfansoddiad—gwres clefyd ydyw.

A gall fod hyny wedi bod weithiau gyda chrefydd. Penboethni crefyddol, ac nid gwres yn codi oddiar iechyd yr enaid. Ac y mae perygl camgymeryd y naill am y llall. Ond y mae gwres mewn crefydd. Cyfundraeth calon ydyw "Yn wresog yn yr ysbryd yn gwasanaethu yr Arglwydd." Mae dynion yn fywiog gyda'r byd, pa reswm sydd dros fod yn oer gyda chrefydd. Mae ffurfioldeb ac oerder llawer Eglwys yn ddigon a pheri i ddyn feddwl mai yn y llys gwladol y mae. Y barnwr ar y fainc—y swyddogion yn disgwyl i weini cyfiawnder—a dynion yn sefyll i aros eu dedfryd ; yn lle bod ar aelwyd gynes tŷ ein tad, a phawb yn ymddiddan yn serchog fel brodyr. Mae pawb arall yn wresog gyda'u gorchwylion, paham y bydd y crefyddwyr yn oer? Ewch i'r farchnadfa lle y mae y prynwyr a'r gwerthwyr wedi ymgasglu, mae yno bawb wrthi â'u holl egni. Ewch i deml y Pagan yno mae ei galon yn llosgi o gariad at y duw a luniodd â'i law ei hun. Ewch i'r chwareudŷ, yno y mae pawb wedi eu cynhyrfu gan olygfeydd ffugiol y lle. Edrychwch ar y cadfridog yn dychwelyd o faes y gwaed, croesawir ef gyda thwrf magnelau fel taranau, a rhwygir yr awyr gan fonllefau y miloedd. Beth, a ydyw pawb i fod yn wresog a'r crefyddwyr i fod yn oer? Ai masnach bia y bywiogrwydd a chrefydd y cysgadrwydd? Ai y Pagan sydd i fod yn effro a'r Cristion yn cysgu? Ai ffug y chwareudŷ sydd i fod o ddifrif, a sylweddau crefydd heb neb wedi ei lyncu i fynu ganddynt? Nage, fy anwyl gyfeillion, os oes gwres, grym, egni, a bywyd i fod yn rhyw le, yn nhŷ Dduw, a chyda phethau tragywyddol y dylai fod. Nid oes dim yn fwy ffiaidd gan Dduw na ffurfioldeb gwasaidd gyda chrefydd. Trodd yr agwedd yna ar Eglwys Laodicea yn faich ar ei enaid, a thystiodd y Ffyddlawn a'r Cywir wrthi, "Mi a adwaen dy weithredoedd di nad ydynt nac oer na brwd ; mi a fynwn pe bait oer neu frwd, ond am dy fod yn glaiar, ac nid yn oer nac yn frwd, mi a'th chwyddaf di allan o'm genau." A phan elo Eglwys i'r agwedd yna gellir gofyn, "*A ydyw yr Arglwydd yn ein plith, ai nid yw?*"

5. *Pan y byddo yr ychwanegiad at yr Eglwys yn ychydig, a'r gwrthgiliadau oddiwrthi yn lluosog.* Presenoldeb Duw sydd yn sicrhau llwyddiant. Pan y mae Duw ynddi mae dynion yn dylifo iddi—a phan y mae Duw yn ei gadael y mae dynion yn ei gadael. Nid yw ychwanegiad mewn rhif bob amser yn brawf o wir lwyddiant; ac nid yw lleihad mewn rhif bob amser yn wir golled. Gall y pentwr fod yn burach ar y llawr-dyrnu er ei fod yn llai. Nid ydym i gasglu fod Duw wedi gadael bob amser pan na byddo ymgeiswyr am le yn y tŷ. Eto y mae gweled Seion heb neb yn ei cheisio yn achos o bryder dwys. Gwelwyd y miloedd yn heidio i dŷ yr Arglwydd fel colomenod i'w ffenestri flynyddoedd yn ol. "Hwn yn dywedyd, eiddo yr Arglwydd ydwyf fi; y llall yn galw ei hun ar enw Jacob; arall yn ysgrifenu a'i law, eiddo yr Arglwydd ydwyf, ac yn ymgyfenwi ar enw Israel." Y llais a glywid gan ryw rai bob Sabboth ydoedd, "Dod le i mi fel y preswyliwyf;" ac yn aml clywid degau ar unwaith yn dywedyd, "Awn gyda chwi canys clywsom fod Duw gyda chwi." Erbyn hyn y mae pethau wedi cyfnewid yn fawr. Mae y "sain cân a moliant" glywid yn mhyrth merch Seion" wedi dystewi. Mae y "caniadau i'r cyfiawn ddygid o eithafoedd y ddaear" wedi peidio. Mae "y llawenydd a'r hyfrydwch, y diolch a'r llais cân" a glywyd, yn mysg y pethau a fu. I'w mwynhau yn yr adgof ac nid yn y profiad presenol. Ac nid hyny yn unig ond y mae "llawer *wedi myned* yn eu hol heb rodio mwyach gyda'r Iesu"—ac eraill yn gwneyd *ysgwydd i gilio*"—a llawer yn ychwaneg, mae lle i ofni ar, "*feddwl cilio.*" Mae gwrthgilwyr eto yn dechreu britho ein cynulleidfaoedd. Mewn pryder yr ydym yn barod i ofyn "*A ydyw yr Arglwydd yn ein plith, ai nid yw?*"

6. *Pan y byddo crefydd yn cael ei hategu gan drefniadau dynol, ac nid yn dibynu ar ei dylanwad ysbrydol ei hun.* Gallu gwirionedd ydyw gallu crefydd. "Canys arfau ein milwriaeth ni nid ydynt gnawdol." "Nid trwy lu ac nid trwy nerth, ond trwy fy Ysbryd, medd Arglwydd y lluoedd." Nid

oes dim ond yr efengyl yn ei symledd—yr ymadrodd am y groes yn ei ddirodresrwydd yn effeithiol i gyrhaedd yr amcan. Ond y mae dynion yn dwyn i'r adeiladaeth yma "goed, a gwair, a sofl." Yn ceisio gweithio y deml ysbrydol â defnyddiau cnawdol. Ymddiriedir ar symbyliad a chyffroad i gario crefydd yn mlaen. Disgwylir i Gapelau rhwysgfawr osod urddas ar grefydd. Dyfeisir ffyrdd i gynal yr achos heb fod bob amser yn gydweddol â symlrwydd yr Efengyl, yn lle ymddibynu ar drefn reolaidd ac ordeiniedig Duw—ac y mae perygl i ddynion wedi dechreu yn yr ysbryd ddisgwyl cael eu perffeithio yn y cnawd. Eglurodd Crist nodwedd ysbrydol ei grefydd ef i ryw rai "nes yr aethant yn eu hol heb rodio mwyach gydag ef." Ac y mae llawer eto yn glynu wrth yr egwyddorion llesg a thlodion sydd yn nychu eu crefydd ;—a'r Eglwysi yn ymostwng yn ormodol at drefniadau dynol er mwyn eu boddoni. Rhoddi ffordd i ddynion o olygiadau cyfyng a chnawdol sydd wedi bod yn un o gamgymeriadau mawr yr Eglwys yn mhob oes. Anymddiried yn Nuw ac yn y gwirionedd, a hyny yn eu harwain i wneyd *compromise* â sefydliadau gwladol neu drefniadau dynol ; ac y mae hyny yn ddieithriad wedi bod yn nychdod ac yn angau iddi. Onid oes gogwyddiad cryf at hyn yn y dyddiau presenol ? Beth yw yr awyddfryd angerddol am barchusrwydd *(respectability)* sydd mor gyffredin ? Beth yw y gochelgarwch pryderus y mae rhai yn ei ddangos rhag dyweyd dim yn groyw a phendant ar gwestiynau pwysig crefydd a gwladwriaeth ? Beth yw y parodrwydd mawr a ddangosir i droi at y llywodraeth am gymhorth at addysgu y genedl ? Beth yw yr holl gynlluniau trwy gyngherddau, eisteddfodau, tê-gyfeddachau, a gwibdeithiau i gael arian at grefydd ? yn lle ymddibynu ar roddion gwirfoddol pob gwr ewyllysgar ei galon. Nid yw yn ddim ond ategu crefydd â dyfeisiau dynol, yn lle ei gosod i fyw ar ei dylanwad ysbrydol ei hun. Digon o grefydd yn yr Eglwysi ; a chariad Crist wedi ei dywallt ar led yn nghalon pob aelod a ddileai yr holl bethau hyn. Mae eu poblogrwydd a'u cyffred-

inolrwydd yn ein temtio i ofyn, "*A ydyw yr Arglwydd yn ein plith, ai nid yw?*"

OL-NODIADAU.

*Mae genym achos i fod yn ddiolchgar nad yw Duw wedi ein llwyr adael.* "Canys Israel ni adawyd na Judah gan eu Duw, gan Arglwydd y lluoedd, er bod eu gwlad yn llawn o gamwedd yn erbyn Sanct yr Israel." Mae digon o brofion eto nad yw Duw wedi ein gadael. Mae yr Efengyl genym yn ei phurdeb—mae y Beibl yn cael ffordd rydd yn ein gwlad—mae yr ymadrodd am y groes yn cael ei bregethu yn ei eglurdeb—ac y mae miloedd yn Nghymru a roddai eu heinioes i farw dros grefydd, pe byddai galw. Diolch i'r Arglwydd nad yw wedi gadael ein gwlad.

*Nid a yr Arglwydd ddim ymaith oni bydd raid iddo.* Ni adawodd Eglwys na gwlad erioed nes y pechwyd ef ymaith. Ein pechodau a'u gyr, os i ffwrdd yr à. Nid oes dim ond pechod a'i gyr ymaith—ac nid oes ond un pechod; *dirmygu breintiau yr Efengyl.* Dyma y drwg mawr y mae enaid Duw yn ei ffieiddio. Nid yw yn gadael ei Eglwys am bechodau y byd, os na bydd yr Eglwys yn cydffurfio â'r *byd yn*-ddynt. "Af a dychwelaf i'm lle hyd oni chydnabyddont eu bai." "Cymer addysg o Jerusalem rhag i'm henaid i ymado oddiwrthyt." Mae ymadawiad y gogoniant o'r deml yn esiampl o ymadawiad Duw a'i Eglwys.

*Os cydunwn i'w ymofyn—daw yr Arglwydd yn amlwg atom.* "Cyfod o Dduw, dadleu dy ddadl." Mae y cwbl yn ofer heb Dduw. Y mae genym y gwirionedd—yr hen wirionedd—yr hen wirionedd orchfygodd gyfeiliornadau—yr hen wirionedd chwalodd y fagddu—ond rhaid eto gael Duw y gwirionedd. "Cyfod o Dduw, dadleu dy ddadl." "Dychwel Arglwydd i'th orphwysfa." Presenoldeb Duw fyddo mor amlwg yn ein Heglwysi nes y dywedo pawb, "Diau fod yr Arglwydd yn ein plith."

# PREGETH XXVI.

## ABERTH CRIST.

HEBREAID x. 12.

"Eithr hwn wedi offrymu un aberth dros bechodau, yn dragywydd a eisteddodd ar ddeheulaw Duw."

Defnyddir y gair aberth yn yr Ysgrythyrau i ddynodi tri pheth :—Y creadur a leddid dan y gyfraith yn offrwm dros gamwedd. Marwolaeth Crist fel sylwedd yr holl aberthau gynt yn iawn dros bechod,—ac ymgyflwyniad dynion i wasanaeth Duw. Gelwir y cyntaf yn *aberth cysgodol* ;—yr ail yn *aberth sylweddol* ;—a'r trydydd yn *aberth drawsenwol.*

Rhagoriaeth aberth Crist ar yr holl aberthau dan y gyfraith sydd dan sylw gan yr apostol yn y benod hon ; ac yn y rhan fwyaf o'r llythyr hwn. Deil gyferbyniad rhyngddynt er gweled rhagoriaeth aberth Crist. Ond y mae deall yr aberthau dan y gyfraith yn hanfodol cyn gallu ffurfio barn sefydlog a goleuedig ar Aberth Crist ; gan hyny gwnawn yn

I. SYLWADAU EGLURHAOL AR YR ABERTHAU YN GYFFREDINOL.

1. *Fod aberth yn angenrheidiol cyn y gall dyn, wedi iddo bechu, gyfarfod yn heddychol a Duw.* Nid amlygwyd i ni pa beth oedd trefn addoliad, gwasanaeth, a chymundeb dyn â Duw yn ei gyflwr o berffeithrwydd gwreiddiol ; ond wedi iddo bechu nis gall gyfarfod â Duw ond mewn aberth "Cesglwch fy saint yn nghyd ataf fi, y rhai a wnaethant gyfamod â mi trwy aberth." Seiliau cyfamod Duw â'r genedl Iuddewig oedd yr aberthau gynt. Mae gan bob gwlad ryw ddull i gad-

arnhau cyfamod. Fel y mae yn angenrheidio gweithred gyfreithiol yn ein gwlad ni cyn y byd felly mewn aberth, trwy waed, y selid pob cyfa Duw â dyn dan yr hen oruchwyliaeth. Yn y wnaeth Duw âg Abraham, y rhoddid gwlad Cana cadarnhawyd y cyfamod hwnw trwy i Abraha aner deirblwydd, a gafr deirblwydd, a hwrdd t thurtur, a chyw colomen ; a hollti yr aner, yr afr a'u gosod ar gyfer eu gilydd ; a rhwng darnau gwnaed y cyfamod. Felly hefyd y cadarnhawyd a wnaethid yn yr anialwch. A'r un oedd y drefn inol: "A thithau trwy waed dy amod y gollyngε charorion o'r pydew heb ddwfr ynddo." Nid ddyeithr ydoedd cyfarfod mewn aberth ; y mae y yn rhedeg trwy holl oruchwyliaethau Duw dan yr ment.

2. *Fod detholiad, a threfn cyflwyniad yr aberth ol oll o drefniad Duw.* Mae aberthau yn cael e yn mhob oes a gwlad yn angenrheidiol i foddloni I dychymygion dynion am darddiad aberthau yn Tybia rhai mai cynyrch hygoeledd ydynt, ac *iddyn* tarddiad yn unig yn nychymygion dynion ; mae era ied fod y drychfeddwl o gael aberth drosto yn syr iol i'r galon ddynol ; mae eraill yn meddwl i Ddu iddynt gael eu dwyn i'w wasanaeth ef, rhag iddy cyflwyno i eilunod, ond nad oedd yn wreiddiol yn adwyo. Mae rhai ymadroddion yn y Beibl sydd y i rai amheu dwyfol darddiad yr aberthau, megis

mae yr Ysgrythyrau yn gosod allan yn eglur fod aberthau o ordeiniad dwyfol yn ddioed ar ol dyfodiad pechod i'r byd, i ragddangos aberth Crist; ac yr oedd yn eiddigus iawn nad oedd dim i gael ei ddwyn i'w addoliad ef ond a sefydlwyd ganddo ei hun. Yn wir, oni buasai fod Duw wedi gorchymyn, buasai offrymu creaduriaid trwy dywallt eu gwaed yn ei wasanaeth ef, yn lle bod yn ddyledswydd, yn bechod ysgeler.

Yr oedd dau ddosbarth o ebyrth dan y gyfraith; sef, aberth iawnol ac aberth diolchgarol. Yr oedd yr ebyrth iawnol, drachefn, yn dri math—y cyntaf oedd y poeth-offrwm, neu aberth llosg, a elwid felly oblegid y llosgid ef oll ar yr allor; yr oedd yn cael ei wneyd fel cydnabyddiaeth o, ac iawn dros, bechodau cyffredin bywyd. Yr ail oedd yr aberth dros bechod, neu pech-aberth a offrymid dros berson unigol wedi y troseddai orchymyn neillduol o'r gyfraith. Y trydydd oedd yr aberth dros gamwedd; gwahaniaethai oddiwrth y pech-aberth, oblegid mai offrwm dros bechod o omeddiad ydoedd, neu esgeulusiad o ryw ddyledswydd orchymynedig.

Yr oedd yr Arglwydd wedi bod yn fanwl iawn yn mhenodiad y creaduriaid oedd i gael eu haberthu. O'r beudy—yr ych, yr aner, a'r llo; o'r gorlan—y bwch gafr, y myn, yr hwrdd, y ddafad, a'r oen; o'r adar—durtur, colomen, ac aderyn y tô; ac offrymid grawn, peillied, halen, gwin, olew, &c., mewn cysylltiad â hwy. Gelwid y pethau hyn yn offrymau, a'r creaduriaid y tywelltid eu gwaed yn aberthau. Pan y dygid aberth i'w offrymu, rhoddid ef gan ei berchenog i fynu i'r offeiriad, yna rhoddai yntau ei law ar ei ben, ac mewn ffordd a ddeallid yn eglur gan yr Iuddewon, trosglwyddai arno ei bechodau, a chymerid bywyd y creadur fel dirprwy dros fywyd ei berchenog Ar ŵyl fawr y cymod yr oedd defodau neillduol, y rhai yr oedd yn rhaid i'r offeiriad eu cadw wrth ymddangos drosto ei hun a thros y bobl, fel y cofnodir yn Lef. xvi. Yr oedd detholiad yr aberthau, a threfn eu cyflwyniad, wedi eu nodi yn fanwl gan yr Arglwydd.

3. *Fod amcan uniongyrchol yr holl ebyrth dan y gyfraith i gysgodi yr Aberth mawr oedd i gael ei roddi.* Gall llawer o bethau fod yn gydmariaethau tarawiadol i ddangos Crist, nad oeddynt yn gysgodol o hono, Yr oedd Jonah yn mol y morfil yn gydmariaeth i ddangos Crist; oblegid "*fel y bu* Jonah dridiau a theirnos yn mol y morfil, felly y bydd Mab y dyn dridiau a theirnos yn nghalon y ddaear;" yr oedd yn gydmariaeth i ddangos Crist, os nad oedd hefyd yn *gysgod o* Grist. Yr oedd dyrchafiad y sarff bres i wella brathiadau y seirff tanllyd yn ddesgrifiad o ddyrchafiad Crist i'r groes, ac yn yr efengyl: oblegid "megis y dyrchafodd Moses y sarff yn y diffaethwch, felly y mae yn rhaid dyrchafu Mab y dyn." Yr oedd i'r pethau yna amcanion eraill yn wreiddiol dan y gyfraith, ond amcan uniongyrchol pob aberth oedd dangos *y sylwedd*—"cysgod y daionus bethau i ddyfod" oeddynt. Yr Yr oedd pob aberth a leddid yn arwain meddwl yr aberthwr at yr Aberth mawr oedd i ymddangos, ac heb hyny nid oedd un rhinwedd yn y gwasanaeth. Heb unrhyw olwg pellach na gwaed y creadur a leddid, pa werth oedd yn yr aberth? Yr oedd yn rhaid cael ffydd i edrych trwy y cysgodau *at y sylwedd*; heb hyny, "yr hwn a laddo ych sydd *fel yr hwn* a laddo wr; yr hwn a abertha oen sydd fel yr hwn a dorfynygla gi." Y mae aberthu ych, er fod yr aberth ynddo ei hun yn gymeradwy, nid yn unig yn ddiwerth, ond yn bechadurus, fel lladd dyn, os na bydd ffydd yn edrych yn mhellach. Mae yr hwn a abertha oen, er mor dderbyniol y creadur, mor ddirmygus a thori pen ci, os na bydd ffydd yn edrych heibio i'r oen cysgodol at "Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd." Amcan blaenaf yr aberthau oedd cysgodi yr Aberth mawr oedd ar ddyfod.

4. *Fod amcan ailraddol gan Dduw, trwy yr aberthau, i gyfranu addysg i'r genedl Iuddewig.* Portreadu y sylwedd oedd yr amcan uniongyrchol, ond yr oedd dysgu gwirioneddau pwysig i'r genedl yn amcan ailraddol. Mae eu dyledswyddau cymdeithasol o onestrwydd, glanweithdra, tiriondeb,

a'r cyffelyb, yn cael eu dwyn ger bron yn ngosodiadau yr hen oruchwyliaeth; ond yr oedd gwirioneddau pwysig am nodwedd a chymeriad Duw i gael eu dysgu hefyd trwy yr aberthau. Yr oedd yn rhaid i Dduw gyflwyno y drychfeddwl o'i briodoliaethau moesol iddynt trwy arwyddluniau. Yr oeddynt yn ymwybodol o fodolaeth yr Hwn a alwai ei hun "YDWYF YR HWN YDWYF;" ond nid oedd ganddynt syniad cywir am ei gymeriad. Yn awr, y cwestiwn oedd, pa fodd y trosglwyddid iddynt ddirnadaeth briodol am dano? Cymerwn sancteiddrwydd, er engraifft. Dywedodd ei hunan, "Sanctaidd ydwyf fi;" ac, "Nid sanctaidd neb fel yr Arglwydd." Yn awr, yr oedd y genedl wedi syrthio i lygredigaeth ac anfoes ysgeler; ac yr oedd argraffu sancteiddrwydd Duw ar eu meddyliau yn orchwyl angenrheidiol, er yn anhawdd. Mae drychfeddyliau am bethau, yn gyffredin, yn cael eu ffurfio trwy gydmaru, a chanfod priodoldeb y naill beth i egluro peth arall, ac yn hyn y mae arddull arwyddluniol y Beibl yn dra gwasanaethgar. Mae rhyw beth yn y naill yn dargrybwyll y llall; ond nid oes dim yn y greadigaeth a drosglwydda i'r meddwl yn effeithiol y drychfeddwl am sancteiddrwydd Duw. Yr oedd yn rhaid cael rhyw gynllun, gan hyny, i argraffu y peth ar eu meddyliau, a gwnaed hyny yn effeithiol trwy yr aberthau. Dosbarthid y creaduriaid i lân ac aflan, a hyny ar orchymyn Duw; dangosid trwy hyny fod un dosbarth yn gydmarol yn burach na'r llall. Dyna ddosbarth neillduol o greaduriaid yn cael eu dewis; o'r dosbarth yma nid pob un a wnai y tro, yr oedd yn rhaid cael y creadur yn ddifai, ac yn ddianaf. Dyna greadur neillduol, o ddosbarth neillduol, yn cael ei ddewis. I gyflwyno yr aberth yma yr oedd yn rhaid cael dosbarth o ddynion gwahaniaethol oddiwrth eraill, wedi eu neillduo i'r swydd offeiriadol. Dyna eto greadur neillduol, o ddosbarth neillduol, yn cael ei gyflwyno yn aberth gan ddyn o urdd neillduol. Yr oedd yn rhaid i'r aberth yma gael ei olchi mewn dwfr er ei buro, a'r offeiriad, mewn rhyw amgylchiadau, olchi ei hun drosto er ei lanhau. Dyna greadur

neillduol, o ddosbarth neillduol, yn cael ei gyflwyno gan ddyn o urdd neillduol, trwy ddefodau neillduol. Dyna gyfres o oruchwyliaethau pnrol yn ymgodi o radd i radd, a phob un yn olynol yn gosod argraff ddwysach ar eu meddyliau o burdeb a sancteiddrwydd y Duw yr oedd ganddynt i ymwneyd ag ef, a hyny yn cael ei ddangos trwy arwyddluniau gweledig. Trwy y darlun yn llyfr bach y plentyn, gellir trosglwyddo rhyw syniad i'w feddwl ieuanc ef, pan na allai amgyffred y peth mewn geiriau; felly yr oedd Duw trwy yr aberthau yn dysgu gwirioneddau mawrion i'r Iuddewon nas gallasent gan fabaneiddiwch eu meddyliau ffurfio dirnadaeth briodol am danynt heb hyny. Yr oedd yn amcan gan Dduw trwy yr aberthau *cysgodol* i ddysgu y byd am wirioneddau nas gallesid *eu* dysgu mor effeithiol heb hyny; ac er mai cysgodi yr Aberth mawr oedd yr amcan uniongyrchol, eto yn holl ordeiniadau Duw y mae llawer o amcanion yn cael eu cyrhaedd trwy yr un weithred unigol.

Wedi yr ychydig sylwadau arweiniol yna ar yr aberthau yn gyffredinol, edrychwn yn

II. Nodweddion neillduol Aberth Crist.

1. *Mae yn urddasol yn ei natur.* Yr oedd yr *aberthau* cysgodol i gyd yn israddol yn eu natur. Nis gallasai fod teilyngdod ynddynt; oblegid eu bod yn is mewn natur na'r troseddwr. Mae yn anmhosibl i greadur islaw dyn fod yn aberth cymhwys dros ddyn; rhaid i'r aberth drosto fod yn ei natur ef; a phe ceid un yn ei natur ef, ac heb fod yn gyfranog o'i drosedd ef, byddai yn rhy isel i'r blaid sydd yn gofyn: rhaid cael yn mhob aberth werth digonol. Mae gwerth bywyd pob creadur yn ol ei safiad yn llywodraeth Duw. Ychydig o werth a roddir ar fywyd yr abwydyn, oblegid nad yw ond dibwys iawn yn y greadigaeth. Y mae bywyd yr anifail yn werthfawrocach, oblegid fod ei wasanaeth yn fwy i gymdeithas. Mae bywyd yr anifail yn werth gan gymdeithas ei amddiffyn, a chreulondeb at anifeiliaid yn drosedd i'w gospi mewn llywodraeth. Mae bywyd dyn yn bwysicach na bywyd yr a-

ifail, nid yn unig oblegid ei wasanaeth i gymdeithas, ond y mae yn uwch mewn natur. Mae pob llywodraeth wareiddiedig yn eiddigeddus iawn dros fywydau y deiliaid, ac yr oedd gofal mawr yn cael ei ddangos am fywyd dyn dan yr hen oruchwyliaeth. "A dywallto waed dyn, trwy ddyn y tywelltir ei waed yntau." Nid oedd dim llai na bywyd dyn a wnaethai y tro dros fywyd dyn; ond ni buasai gwaed dyn yn gwneyd y tro yn aberth i Dduw dros bechod dyn—rhaid oedd cael "gwerthfawr waed Crist." Gwaed person cyfuwch â'r orsedd oedd yn gofyn. Rhaid ei fod yn ddyn cyn y gallasai fod yn aberth—rhaid ei fod yn Dduw cyn y buasai gwerth yn ei aberth. Rhaid ei fod yn ddyn i fod yn natur y blaid oedd wedi troseddu—rhaid ei fod yn Dduw i fod yn gydradd â'r blaid oedd yn gofyn. Rhaid ei fod yn ddyn i fod yn weddus i ni—rhaid ei fod yn Dduw i fod yn weddus i'r orsedd. Rhaid ei fod yn ddyn cyn bod ganddo yr hyn a offrymid—rhaid ei fod yn Dduw er rhinweddu ei offrwm. Yn awr, y mae y pethau hyn oll yn cyfarfod yn aberth Crist. "Yr hwn a'i rhoddodd ei *hun* drosom ni, i'n prynu ni oddiwrth bob anwiredd." Mae yn natur Duw, yn gydradd âg ef mewn hanfod a phriodoliaethau—"yn wir lun ei berson ef; yn ddelw y Duw anweledig; y gwir Dduw, a'r bywyd tragywyddol;—uwchlaw pawb, yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd." Mae hefyd yn ein natur ni—"yn gnawd o'n cnawd ni, yn asgwrn o'n hasgwrn ni, ac o'n cyfathrach ni y mae;"—"y Gair a wnaethpwyd yn gnawd, ac a drigodd yn ein plith ni;"—"oblegid hyny, gan fod y plant yn gyfranogion o gig a gwaed, yntau hefyd yr un modd a fu gyfranog o'r un pethau;"—"Duw a ymddangosodd yn y cnawd." Y mae y cydgyfarfyddiad rhyfeddaf yn y person anfeidrol yma; Duwdod a dyndod, meidroldeb ac anfeidroldeb, mawrhydi a gwaeledd, y nefoedd a'r ddaear wedi eu huno. "Canys y cyfryw Archoffeiriad sanctaidd, diddrwg, dihalog, didoledig oddiwrth bechaduriaid, wedi ei wneuthur yn uwch na'r nefoedd, oedd weddus i ni." Yn awr, y person mawreddog, urddasol, gogonedd-

us, ac anfeidrol yma yn ei oll, a'i "rhoddodd ei hun yn offrwm ac yn aberth i Dduw o arogl peraidd." Mae yn aberth urddasol yn ei natur, "yn ddifai i Dduw."

2. *Mae yn wirfoddol yn ei offrymiad.* Yn hyn eto yr oedd yr aberthau cysgodol yn ddiffygiol. Nid oedd ganddynt un ewyllys yn y gorchwyl. Goddefol hollol oeddynt. Cymeryd eu heinioes y byddai yr aberthwr; ac nis gall fod gwerth mewn unrhyw weithred na byddo yn wirfoddol. Ond yr oedd aberth Crist yn wirfoddol—"rhoddodd ei hun." Yr oedd ei farwolaeth mae yn wir, yn angenrheidiol, mewn trefn i gyrhaedd yr amcan, a phriodol oedd iddo ddyweyd, "Onid oedd *raid* i Grist ddyoddef y pethau hyn?" ond nid yw *y rhaid* yma i'w gymeryd yn y dull y dywedir fod yn rhaid i ddynion. Mae rhaid drwg-haeddiant personol yn gorfodi y troseddwr i ddyoddef; ond nid oedd y *rhaid* yma ar Grist, oblegid "ni wnaeth bechod—ynddo ef nid oes bechod." Rhaid yn cyfodi oddiar ei ymrwymiad ydoedd, a rhaid mewn trefn i gwblau amodau y cyfamod; ond gwirfoddol hollol oedd Crist yn y cwbl. Ymrwymodd o'i fodd. Pan y gofynwyd, "Pwy a anfonaf? a phwy a â drosom ni?" dywedodd gyda chalon ewyllysgar, "Wele fi! anfon fi." A dacw ei *gyhoeddiad o'i* flaen, "Wele! yr wyf fi yn dyfod yn rhol y llyfr a ysgrifenwyd am danaf; bu yn dda genyf wneuthur dy ewyllys di, O fy Nuw? a'th gyfraith sydd o fewn fy nghalon." Yr oedd yn ymhyfrydu yn y gwaith. Ac er yr holl rwystrau a ddeuant i'w ffordd—dirmyg dynion, cynddaredd cythreuliaid, a gwg ei Dad; daear yn gwrthod, uffern yn ymgynhyrfu, a'r nefoedd yn cymylu—ond yn nghanol y cwbl, clywn ef yn gwaeddi, "Cuddiwyd edifeirwch o'm golwg;"—"rhoddodd ei gefn i'r curwyr, a'i gernau i'r rhai a dynai y blew; ni chuddiodd ei wyneb oddiwrth waradwydd a phoeredd." A phan oedd ei ddynoliaeth ar lethu dan bwysau y dyoddefaint, eto dywedai, "Nid fy ewyllys i ond dy ewyllys di a wneler." Fel y mae ffrwd fechan yn rhoddi i fynu i'r afon fawr, felly ymollyngai ei ewyllys ddynol i fynwes yr ewyllys ddwyfol; a phan ar ba

yr yrfa, "Efe a ogwyddodd ei ben, ac a roddodd i fynu yr ysbryd." Yn wirfoddol yr oedd yn y cwbl. "Nid oes neb yn cymeryd fy einioes oddiarnaf, ond myfi sydd yn ei dodi hi i lawr o honof fy hun." Er fod tyrfa y gwaywffyn yn barod i'w wanu, a'r milwyr i'w hoelio ; eto nid oedd digon o allu gan ddaear ac uffern i'w roddi i farwolaeth, oni buasai iddo *roddi* ei einioes. Fel y dywedai un, "Nid oedd dim digon o hoelion yn holl siopau gofaint Jerusalem i ddal Crist ar y groes, oni buasai hoel fawr ei ewyllys ei hun." "Am hyn y mae y Tad yn fy ngharu i, am fy mod i yn rhoddi fy einioes fel y cymerwyf hi drachefn."

3. *Mae yn ddirprwyol yn ei osodiad.* Yn hyn yr oedd yr aberthau gynt yn gysgod o hono. Cyfrifai Aaron holl gamweddau meibion Israel ar ben y bwch, ac anfonid ef ymaith yn llaw gwr cymhwys i'r anialwch, a dygai y bwch eu holl anwireddau hwy arno i dir neilldaeth, Num xvi. 21, 22. Mae yn gysgod perffaith o gyfrifiad ein pechodau ni ar Grist. Un yn dyoddef *dros* eraill ydoedd. "Y Messiah a leddir ond nid o'i achos ei hun.—Efe a archollwyd am ein camweddau ni, efe a ddrylliwyd dan ein hanwireddau ni ; cosbedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef."—"Yr hwn nid adnabu bechod a wnaeth Efe yn bechod drosom ni, fel y'n gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef."—"Yr hwn ei hun a ddug ein pechodau ni yn ei gorph ar y pren." Mae yn anmhosibl cyfrif am farwolaeth Crist ond fel aberth dirprwyol—fel un *yn lle, tros eraill.* Gelwir yr athrawiaeth hon gan dduwinyddion yn dros-osodiad—un yn marw dros eraill. Bywyd y troseddwr oedd y gyfraith yn ei ofyn. Nid gofyn am iawn yr ydoedd ; ond os cynygid iawn digonol drosto, gallai y gyfraith ei dderbyn. Un dros eraill oedd. *Dros bwy?* Cymerwn iaith y Beibl, yn syml fel y mae, heb ei hestyn na'i byrhau, na'i throi i gynal cyfundraeth —"*Dros y defaid—dros yr Eglwys—dros ei gyfeillion—dros ei bobl—dros y genedl—dros bechaduriaid—dros yr anghyfiawn—dros yr annuwiol—dros ei elynion—dros bawb—dros bob dyn—dros ein pechodau ni—dros bechodau yr holl fyd.*"

Dyna iaith eglur y Beibl ar y mater, a rhaid ei chymeryd oll. Peidiwch tramgwyddo wrth eiriau y Beibl, na cheisio eu dirdynu i gynal cyfundraethau. Cymerwch y llyfr fel y mae; ac yn sicr, oddiwrth y cwbl, y mae yn eglur fod aberth *Crist* yn ddigonol.

"Ni chollir neb o eisiau gwerth yn aberth Mab y dyn."

4. *Mae yn effeithiol yn ei amcan.* Yn hyn yr oedd yr holl aberthau cysgodol yn hollol ddiffygiol. "O blegid y *gyfraith* yr hon sydd ganddi gysgod y daionus bethau a fyddent, ac nid gwir ddelw y pethau, nis gall trwy yr aberthau hyny, y rhai y maent bob blwyddyn yn eu hoffrymu yn wastadol, *byth* berffeithio y rhai a ddel ati." "Eithr yn yr aberthau *hyny* y mae adgoffa pechod bob blwyddyn; canys anmhosibl yw i waed teirw a geifr dynu ymaith bechod.—Ac y mae pob offeiriad yn sefyll beunydd yn gwasanaethu, ac yn offrymu yn fynych yr un aberthau, y rhai ni allant byth ddileu eu pechod." "Heb ollwng gwaed nid oes maddeuant," oedd y llais yn barhaus dan y gyfraith; ac er cael gwaed lloi a geifr, ac ŵyn a defaid, ychain a theirw, durturod a cholemenod, y llais uwchben y cwbl ydoedd, "Canys anmhosibl yw i waed *teirw a geifr* dynu ymaith bechod"—adgoffa pechod, ond nid *dileu pechod* yr oeddynt. Ond y mae aberth Crist yn effeithiol i gyrhaedd yr amcan. "Eithr hwn, wedi offrymu un aberth dros bechodau, yn dragywydd a eisteddodd ar ddeheulaw Duw." "Eithr yr awrhon, unwaith yn niwedd y byd yr ymddangosodd Efe i ddileu pechod trwy ei aberthu ei hun." "Nid chwaith trwy waed lloi a geifr, ond trwy ei waed ei hun, a aeth unwaith i mewn i'r cysegr, gan gael i ni dragywyddol ryddhad." Dyma un aberth a wnaeth fwy na'r miloedd aberthau gynt; atebodd holl ofynion cyfiawnder—llonyddodd ddigofaint Duw—cliriodd holl dollbyrth Sinai—agorodd ddrysau gogoniant—cadarnhaodd y seintiau perffeithiedig mewn dedwyddwch—gosododd i lawr sylfaen dymchweliad llywodraeth Satan—anfonodd yr Ysbryd Glan i ddarostwng gelyniaeth y galon—rhoddodd destyn gweinidogaeth y cymod i'r

byd—a sicrhaodd ddylanwad i buro y galon—clôdd ddrysau colledigaeth, fel nad oes ond anghrediniaeth a all eu hagor i fyned i mewn—a chyhoeddodd jubili i'r holl ebyrth cysgodol. "Canys âg un offrwm y perffeithiodd Efe yn dragywyddol y rhai sydd wedi eu sancteiddio."

Dyma aberth a atebodd ddybenion anfeidrol, ac ni bydd eisiau aberth byth ar ei ol.

"Duw a dyn yn gwaeddi digon
Yn yr Iesu, 'r Aberth hedd."

Wrandawyr anwyl! Beth debygwch chwi am Grist? Dyma yn y diwedd sydd yn wir bwysig, pa syniad a goleddwn am, a pha deimlad a feithrinwn at Grist? Peth pwysig ydyw meddu golygiadau clir am Iawn Crist, yn gystal ag ar holl athrawiaethu crefydd; ond gellir deall y gwirioneddau yn athrawiaethol; a dadleu yn selog dros neu yn erbyn unrhyw olygiad arnynt; ac eto y galon yn gwbl ddyeithr i'w dylanwad ymarferol. Mae dynion yn ngrym sêl a phenboethni dros eu golygiadau neillduol hwy ar Iawn Crist, wedi ymladd hyd at waed, ac eto eu calonau heb wybod dim am ddylanwad iachusol ei "waed Ef" yn sancteiddio y gydwybod. Nid deall athrawiaeth yr Iawn, nid dadleu yn eiddigeddus drosti, ac nid bod yn uniawngred yn ein golygiadau a'n ceidw; ond gwybod am effeithiau achubol y gwirionedd. Dymunem gan hyny a.l ofyn y cwestiwn, "Beth debygwch chwi am Grist?" Mae Duw yn gofyn i chwi sydd lawer o honoch yn oleuedig yn yr athrawiaeth ac yn selog drosti, fel y gofynai i feibion Eli gynt, "Paham y sethrwch chwi fy aberth?" Mathru aberth Crist, dyma y pechod mwyaf y gellwch chwi byth fod yn euog o hono. "Yr un a ddirmygai gyfraith Moses a fyddai farw heb drugaredd dan ddau neu dri o dystion; Pa faint mwy cospedigaeth (debygech chwi) y bernir haeddu o'r hwn a fathrodd Fab Duw, ac a farnodd yn aflan waed y cyfamod, trwy yr hwn y sancteiddiwyd ef, ac a ddifenwodd Ysbryd y gras?" Ah! dyna y perygl yn y diwedd. Ni dderbynia yr un pechadur rinwedd o aberth Crist, ond a orphwyso arno a'r neb a welo hyny, "O, gwyn ei fyd ef."

# PREGETH XXVII.

## GWEDDI GYMDEITHASOL.

1 TIMOTHEUS ii. 8.

"Am hyny yr wyf yn ewyllysio i'r gwyr weddio yn mhob man, gan ddyrchafu dwylaw sanctaidd heb na digter na dadl."

Gweddi ydyw offrymiad ein dymuniadau at Dduw, yn enw yr Arglwydd Iesu, gyda chyfaddefiad o'n pechodau, a chydnabyddiaeth am ei drugareddau. Sonia yr Ysgrythyrau yn eglur am dri math o weddiau: gweddi bersonol neu ddirgelaidd, gweddi deuluol, a gweddi gymdeithasol, neu gyhoeddus. Mae genym ddigonedd o brofion dros ysgrythyroldeb gweddi gymdeithasol, ac amryw engreifftiau o honynt yn yr Ysgrythyrau. Ond pe na buasai genym yr un esiampl nac *anogaeth*, y mae y peth mor gydweddol â theimlad pob Cristion, fel y mae yn berffaith naturiol i ddynion yn teimlo yr un fath, ac yn dymuno llwyddiant yr un peth, gyfarfod yn nghyd i "offrwm eu gweddiau a'u herfyniau" at Dduw. Ond nid ein hamcan yw profi ysgrythyroldeb gweddi gymdeithasol, a'r priodoldeb i bobl Dduw gyfarfod yn nghyd i weddio—yr ydym yn cymeryd hyny yn ganiataol. Os gallwn lwyddo i greu ystyriaeth o bwysigrwydd y ddyledswydd, a chael dynion i fyned rhagddynt at berffeithrwydd yn y cyflawniad o honi, bydd ein hamcan wedi ei gyrhaedd. Edrychwn yn

I. AR NODWEDDION GWEDDI GYMDEITHASOL.

Nid yw pob peth sydd briodol mewn gweddiau personol a theuluol ddim yn briodol mewn gweddi gymdeithasol, mwy nag y mae pob peth sydd yn briodol mewn gweddi gymdeith-

asol yn briodol yn deuluol neu bersonol. Mae rhyw nodweddion gwahaniaethol i'n gweddiau yn ol yr amgylchiadau. Dymunem fod yn gynil iawn wrth ymdrin â pheth mor bwysig, ac eto dylem gynyg at gyfarwyddo ein gilydd i ddwyn holl ddyledswyddau cymdeithasol crefydd yn mlaen "yn weddaidd ac mewn trefn." Beth, ynte, raid fod mewn gweddi gymdeithasol?

1. *Rhaid iddi fod yn glywadwy i'r holl gynulleidfa.* Os ydyw i gael ei gwneyd yn gyhoeddus, dylai fod yn ddigon cyhoeddus i bawb yn y lle ei chlywed, ac uno ynddi. Mae pethau dirgelaidd crefydd i gael eu gwneyd yn hollol ddirgelaidd, a'i phethau cyhoeddus yn y modd mwyaf cyhoeddus. Mae gweddi bersonol i gael ei gwneyd yn bersonol, heb neb ond Duw a'r gweddiwr yn gwybod am dani. Nid yw plygu i wneyd agweddiad o weddi bersonol yn briodol mewn cynulleidfa. Ac y mae yn bosibl fod llawer yn gwneyd ystum o weddi bersonol yn y gynulleidfa nad ydynt byth yn ymneillduo i'r dirgel i weddio. Gwneir hyn dan gysgod defosiwn grefyddol, ond nid yw yn ddim ond olion Phariseaeth. Mae pob gweddi wneir yn ngolwg y gynulleidfa i gael ei gwneyd yn *glywadwy* i'r holl gynulleidfa. Os ydyw y gweddiwr yn enau y gynulleidfa, mae yn iawn iddynt glywed pa beth y mae yn ddywedyd, fel y gallont uno âg ef yn ei ddymuniadau. Mae pob tôn a goslef, ac ystum annaturiol, i gael ei ochel, a'r gweddiwr i siarad yn eglur, syml, naturiol, mewn llais hyglyw, gyd â thôn ag a fyddo yn arddangos teimlad o angen, ac awydd am gael y pethau y mae yn eu gofyn. Ond tra yr ydym yn dyweyd y dylai y weddi fod yn glywadwy, nid oes dim yn mhellach oddiwrth ein meddwl na chymeradwyo y gweddio trystfawr, y gwaeddi, y bloeddio, a'r canu a glywir weithiau. Gellid meddwl eu bod wedi credu am Dduw yr hyn a wawdiai Elias ar Baal—fe allai ei fod yn ymddiddan, neu yn ymdeithio, neu yn cysgu, a bod eisiau gwaeddi er ei ddeffroi, "gwaeddwch yn uwch." A bûm yn tybied lawer gwaith, wrth glywed dynion fel yn penderfynu *mynu* gan Dduw, wrth waeddi, ei glywed

yn dyweyd, "A minau, *fel byddar*, ni chlywn." Da genym weled gwres a gafael mewn gweddi yn dangos taerni; ond nid nerth llais, ond nerth teimlad sydd yn llwyddo mewn gweddi. Y mae yn rhaid i weddi fod yn glywadwy, ac ni ddylai fod cywilydd ar neb ofyn gan Dduw. "Awn yn *hyderus* at orseddfainc y gras."

2. *Rhaid iddi fod yn gyfyngedig at amgylchiadau cyhoeddus a chymdeithasol.* Mae yn anmhriodol dwyn pethau personol a theuluol i mewn i weddiau cymdeithasol. Yn fynych y mae gweddiau yn arogli yn rhy gryf o helbulon personol. Yn y gynulleidfa, pethau priodol i amgylchiadau *y lluaws* ddylai fod dan sylw. Mae yn bosibl disgyn yn *rhy bersonol* wrth weddio dros wahanol ddosbarthiadau. Mae yn wir y gorchymynir fod "ymbiliau, gweddiau, deisyfiadau, a thalu diolch dros bob dyn," ond nid yw hyn yn golygu y dylid dwyn pob un yn bersonol dan ei enw, ond defnyddir ef i osod allan gyffredinolrwydd cylch ein gweddiau. Gwell yw dwyn cleifion tlodion, gweddwon, trallodus, hen, methedig, y wlad a'r deyrnas, y frenines a'i chynghorwyr, y morwyr a'r milwyr, yn ddosbarthiadau yn ein gweddiau, ac nid yn bersonau. *Pregethwr*, unwaith, a weddiai gyda chryn fanylwch dros *y frenines a'i* phriod, a thywysog Cymru, gan fyned drostynt o un i un i un: ond yr oedd yno hen frawd yn y gynulleidfa wedi blino arno, a gwaeddai ar y canol, "Lympia nhw, lympia nhw." Yr oedd ei orfanylwch yn annyoddefol i'r hen ŵr. Y mae yn rhaid fod cysylltiad neillduol ac adnabyddus rhwng unrhyw berson unigol a chymdeithas cyn y bydd yn briodol gwneyd cyfeiriad personol ato mewn gweddi gymdeithasol. Mae cysylltiad mor neillduol a chyhoeddus rhwng y brenin, neu y frenines, a'r wladwriaeth, fel y mae yn briodol gwneyd cyfeiriad personol atynt wrth weddio dros y wladwriaeth. Mae cysylltiad mor neillduol ac amlwg rhwng y gweinidog a'r eglwys, fel nad oes dim allan o le mewn cyfeiriad personol ato wrth weddio dros yr eglwys, er, fel rheol, mai llawn cystal ydyw gweddio dros weinidogion y gair yn gyffredinol. Mewn gweddiau cyhoedd-

us a chymdeithasol, goreu pa leiaf fyddo o gyfeiriadau personol. Mae digon o amgylchiadau cyffredinol sydd yn perthyn i'r gynulleidfa oll. Nis gellir, ychwaith, wneyd rheol i gyfyngu at un peth neillduol, gan fod y gymdeithas yn amrywio, a phob un mewn angen llawer o bethau. Rhaid gadael i ddeall y gweddiwr gydag erfyniad am gyfarwyddiadau Ysbryd Duw, pa fodd i arwain y rhan bwysig yma o waith yr Arglwydd. "Dysg ni i weddio."

3. *Rhaid iddi feddu y fath drefnusrwydd ag y gallo y gynulleidfa uno ynddi.* Un o'r rhesymau a ddefnyddir dros arfer ffurfiau o weddiau, ydyw y gall y dorf felly uno a'r un fyddo yn gyhoeddus; ond gan na wyddant pa beth a ofyna y dyn sydd heb lyfr, nis gallant, fe allai gyduno ag ef yn ei ddymuniadau. Mae yn gwestiwn a ddadleuir pa un ai fel genau y gynulleidfa yn myned at Dduw yn ei henw, gan gynwys ei hun ynddi, y dylai dyn weddio, ai ynte ymddangos yn eiriolwr dros y gynulleidfa, gan ddwyn ei hachos, heb gynwys ei hun yn un o'r gynulleidfa. Nid ein hamcan yn awr yw cymeryd i fynu y cwestiwn. Pa un bynag o'r ddau a olygir, y maent hwy i gyduno ag ef yn ei erfyniadau. Ac mewn trefn i hyny, goreu pa fwyaf o reoleidd-dra fyddo yn offrymiad y weddi. Yr ydym yn cymeryd yn ganiataol fod pawb yn ystyried ein bod yn golygu mai ysbryd gweddi ydyw peth pwysicaf mewn gweddi, pa un bynag ai personol, ai teuluaidd, ai cymdeithasol —a bod teimlad, ffydd, taerni, amynedd, &c., yn elfenau hanfodol gweddi lwyddianus. Ac yn nghanol y gofal am drefnusrwydd yn y cyflawniad o honi, y mae yn annhraethol bwysig i ni ofalu rhag colli ei hysbryd hi. Ond nid oes raid bod heb y naill i feddu y llall. "Mi a weddiaf â'r ysbryd ac a weddiaf â'r deall hefyd." Mae y deall i reoli ein holl gyflawniadau crefyddol. Rhaid i ni fyfyrio ein hangen, a chwilio am addewid neillduol ar gyfer angen neillduol, a dadleu yr addewid hono ger bron Duw, gan adgofio iddo ei ffyddlondeb i'w addewidion bob amser. "O! na wyddwn pa le y cawn ni ef, fel y deuwn at ei eisteddfa ef, trefnwn fy mater ger ei fron ef, a

llanwn fy ngenau â rhesymau." Yr oedd yn well gan Paul yn yr Eglwys lefaru pum' gair trwy ei ddeall, na mil o eiriau mewn tafod dyeithr. "Ac os gweddiaf â thafod dyeithr, y mae fy ysbryd yn gweddio, ond y mae fy neall yn ddiffrwyth." Y mae llawer o weddiau eto a all, o bosibl, fod yn dyfod o galonau digon gonest, ond y maent mor ddiamcan a difudd i'r gymdeithas, fel nad oes un cyfle i'r hwn "sydd yn cyflawni lle yr anghyfarwydd, i ddywedyd Amen." Mae gweddi gymdeithasol wedi ei bwriadu i fod yn foddion gras i ddynion, yn gystal ag yn addoliad i Dduw ; nid yn unig i gyrhaedd ei neges mewn cael y fendith a ofynir, ond hefyd i fod *yn foddion* adeiladaeth i'r rhai fyddo yn bresenol. Y mae *holl* ordinhadau crefydd wedi eu bwriadu i fod o fendith yn yr ymarferfad o honynt ; a dylid amcanu at eu dwyn yn mlaen yn y dull goreu i hyny. "Gwneler pob peth er adeiladaeth."

4. *Rhaid iddi fod o duedd i ddwyn y gynulleidfa i agwedd addolgar*. Addoli ydyw prif beth ein cynulliadau. Os collir y teimlad addolgar o honynt, ni bydd dim i Dduw ynddynt. Dylai pob rhan o'r addoliad fod yn gyfryw ag a dueddo i ddwyn y gynulleidfa i'r agwedd hono. Yn neillduol dylai y weddi gynyrchu symlrwydd, difrifwch, dwysder, "*gwylder* a pharchedig ofn." Ond yn rhy fynych clywir gweddiau sydd yn ymlid ymaith yn llwyr bob teimlad o'r fath. Gweddiau hyfion siaradus, ffraeth, yn adrodd pob peth wrth Dduw mewn dull ysgafn, dibwys, nes y mae pobl yn codi eu penau ac yn gwenu ar eu gilydd, fel pe byddent yn gwrando araeth ffraeth neu ddarlith ddifyrus. Gwelir eraill yn estyn eu breichiau, yn curo eu dwylaw, yn nyddu eu cyrff, ac yn gwneyd yr ystumiau mwyaf annaturiol arnynt eu hunain, nes ymlid pob teimlad addolgar o'r fynwes. Ceir eraill fel yn amcanu at gywreinrwydd a dangos eu gwybodaeth, yn dyweyd pethau na feddyliai neb mai gweddio y maent, oni b'ai eu bod yn gweled eu llygaid yn nghau—gweddiau esboniadol, athrawiaethol, a phregethwrol. Buom yn gwrido lawer gwaith oblegid hyfdra dynion ger bron Duw, ac yn barod i ofyn, "O Dduw! ai

gweddio yw peth fel hyn?" Yn y weddi y mae i ddyn ddangos, nid pa faint y mae yn ei wybod, ond pa faint y mae yn ei deimlo—nid cael dynion i wenu mewn boddhad, ond i wylo mewn teimlad. Dylai pob peth yn yr iaith, yr ymadroddion yr ystum, a'r llais, fod yn gyfryw ag a gynyrcho ddwysder yn mhob calon—a argraffo ar bob enaid yr ystyriaeth eu bod "ger bron Duw"—fod y fangre yn gysegredig—y lle yn sanctaidd—nad "oes yma ond tŷ i Dduw a phorth i'r nefoedd." Mae ein holl wasanaeth cymdeithasol ni i fod yn addoliad, ac yn foddion i ddwysh[illegible] teimlad addolgar y gynulleidfa.

II. MANTEISION GWEDDI GYMDEITHASOL.

1. *Mae y moddion effeithiolaf i feithrin teimlad crefyddol.* Teimlad sydd yn cynyrchu gweddi, a gweddi sydd yn magu teimlad. Plentyn teimlad ydyw gweddi, eto gweddi sydd yn cynal teimlad—yma mae y plentyn yn noddi ei fam. Yr hyn y mae y ddaear yn ei gynyrchu wedi ei droi i ffurf wahanol, yw y gwrtaith goreu iddi. Felly hefyd yr hyn y mae teimlad yn gynyrchu, yw y gwrtaith goreu iddo. Gweddi gryfha deimlad. Yr un modd hefyd, yr hyn sydd yn foddion i fethrin teimlad yn bersonol, o'i arfer yn gymdeithasol, fethrina deimlad cymdeithasol. Pa le y gwelwyd Eglwys erioed ag unrhyw lewyrch arni, os byddai y weddi gymdeithasol yn isel? Beth sydd yn dangos teimlad crefyddol dwys? Ai gofal mawr am yr oes sydd yn codi? Ai ymdrech at achub y gwrandawyr? Ai egni i ddychwelyd y gwrthgilwyr? Ai haelioni at achos yr Arglwydd? Ai pryder oblegid anwiredd y wlad? Os felly, pa le y gwelwyd y pethau yma mewn Eglwys lle y mae y cyfarfod gweddi yn isel? Onid nychlyd yw pob peth arall? Maent yn siaradus ar bynciau gwladol—yn areithwyr ffraeth yn y cyfarfodydd llenyddol—yn ddadleuwyr hyf yn yr Ysgol Sabbothol—yn ymyrwyr prysur ag amgylchiadau allanol crefydd; ond crefyddwyr y cyntedd ydynt—nid ydynt yn myned i'r sanctaidd sancteiddiolaf, lle y mae y presenoldeb dwyfol yn ymddysgleirio, a gogoniant yr Arglwydd yn ymddangos. Y weddi gymdeithasol—dyma galon yr Eglwys sydd yn taflu

gwaed i holl ranau crefydd ; dyma yr hin-fesurydd sydd yn dangos ansawdd a theimlad y frawdoliaeth ; dyma *bulse* yr Eglwys sydd yn dangos sefyllfa ei hiechyd. Nid ar faes y Gymanfa, nid yn y cyfarfod blynyddol, nid ar Sabboth y cymundeb, nid yn y gynulleidfa nos Sabboth, nid ar noson cyhoeddiad y gwr dyeithr, y mae barnu agwedd crefydd yn yr Eglwys ; ond ewch i'r cyfarfod gweddi, ac yno gellwch wybod yn lled gywir ei sefyllfa ysbrydol—yno gwelir ei chalon.

2. *Mae yn dylanwadu yn ffafriol ar undeb yr Eglwys.* Mae cydweddio o angenrheidrwydd yn meithrin cariad. Mae gweddio yn nôd o ddyn diberygl i ymhel âg ef. Ciliodd ofnau Ananias am Saul ; pan y dywedwyd wrtho, " Canys wele, y mae efe yn gweddio." Fel y mae gweddi yn cario ei dylanwad ar y dyn ei hun, felly hefyd ar gymdeithas. Pa le erioed y clywyd am derfysg eglwysig yn tori allan yn y cyfarfod gweddi? Clywsom am derfysgoedd yn dechreu mewn cyfarfod canu, a chyfarfod y brodyr, a chyfeillach eglwysig ; ond erioed ni chlywsom fod y cythraul wedi gallu llwyddo i gynneu tân terfysg trwy y cyfarfod gweddi. Ond gwyddom am fwy nag un engraifft am heddwch yn cael ei adferu, a thân *ymryson yn* cael ei ddiffodd, mewn cyfarfod gweddi. Yn *y weddi gymdeithasol* y maent yn cael eu dwyn yn rhy agos at Dduw i anghydfod allu byw. " Pan ddelo y gelyn i mewn fel afon, Ysbryd yr Arglwydd a'i hymlid ef ymaith." Y mae y weddi gymdeithasol yn wrthglawdd i gau allan lid, cenfigen, malais, anghariad, a'r holl lu ellyllaidd sydd yn eu canlyn. Y mae y weddi gymdeithasol yn un o dyrau amddiffyn yr Eglwys ; ac os na bydd y wyliadwriaeth arno, y mae y gelyn yn sicr o'i hanrheithio. Llon'd capel o bobl wedi dyfod i weddio, bydd ofn ar Satan fyned i mewn ; a chyhyd ag y cadwo unrhyw Eglwys fraw ar y cythraul, y mae yn ddiogel, ac y mae Duw wedi gwystlo ei hun i fod yn "fur o dân" o amgylch yr Eglwys sydd felly yn ymddiried ynddo. Nid oes dim ynddo ei hun yn dylanwadu yn fwy ffafriol, na dim ag y mae Duw mor sicr o'i wobrwyo.

3. *Mae y cynorthwy cryfaf i'r weinidogaeth.* Y weinidogaeth ydyw y prif foddion ordeiniodd Duw i droi y byd i gyfiawnder ; ond y mae grym, dylanwad, llwyddiant, ac effeithiolaeth y weinidogaeth yn ymddibynu i fesur mawr ar yr ysbryd gweddi fyddo yn yr Eglwys. Yn flaenorol i'r llwyddiant mawr ar ddydd y Pentecost, "yr oeddynt hwy oll yn gytun yn yr un lle mewn gweddi ac ymbil." Mae yn anmhosibl dysgwyl i'r weinidogaeth orchfygu, heb fod ysbryd gweddi yn yr Eglwys ; os bydd yno Eglwys. Gall, ac y mae yr Efengyl yn gorchfygu heb weddiau yr Eglwys lle na byddo ; ond lle y byddo, gallwn farnu, fel rheol, mai yn ol teimlad ac ysbryd gweddi yr Eglwys y bydd llwyddiant y weinidogaeth. Yr oedd yr apostolion yn teimlo fod angen cynorthwy gweddi yr Eglwys arnynt. Atolygai Paul arnynt "gydymdrech ag ef mewn gweddiau at Dduw." "Gweddiwch drosom ni, ar i air yr Arglwydd redeg a chael gogonedd." "O ! frodyr gweddiwch drosom." Ein nerth ni yw eich gweddiau chwi. Y dydd y rhoddwch chwi i fynu weddio, y rhoddwn ninau i fynu bregethu. Metha y weinidogaeth oreu, o enau y Gweinidog mwyaf doniol, dysgedig, a duwiol, heb weddiau yr Eglwys ; a gorchfyga y weinidogaeth fwyaf cyffredin, o enau y Gweinidog mwyaf didalent, os bydd ganddo o'r tu cefn Eglwys yn gweddio drosto. O ! beth a safai yn ffordd gweinidogaeth effro, yn cael ei hategu gan weddiau dau gant o bobl yn yr un lle yn dymuno ei llwydd. Y mae rhyw ddylanwad cysegredig gan weddi unol Eglwys Dduw. Teimla y pregethwr yr awyr yn ysgafn erbyn ei fod yn y pwlpud, a byddai yn ymwybodol fod rhinwedd yn myned allan o'i weinidogaeth. Y Gweinidog ar ei oreu yn pregethu, a'r Eglwys ar ei goreu yn gweddio, gwae fydd i uffern wedi hyny.

4. *Mae y rhagarwydd sicraf o lwyddiant mawr.* Pan y mae ysbryd gweddi yn gryf, a'r cyfarfod gweddi yn bwysig a phoblogaidd yn yr Eglwys, gellir penderfynu fod llwyddiant mawr gerllaw. Mae y proffwydi sydd yn gweled y milflwyddiant wrth y drws, yn seilio hyny ar ryw gyfrifon a wnant am

amser, amserau, a haner amser; ond yr arwydd boddhaol cyntaf i ni, fyddai gweled y cyfarfod gweddi wedi dyfod yn fwy poblogaidd nag un cyfarfod arall. Mae Zechariah wedi rhagweled amser felly. Zech. viii. 20—23. "Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Bydd eto, y daw pobloedd, a phreswylwyr dinasoedd lawer: ac yr â preswylwyr y naill ddinas i'r llall, gan ddywedyd, Awn gan fyned i weddio ger bron yr Arglwydd, ac i geisio Arglwydd y lluoedd: minau a âf hefyd. Ië, pobloedd lawer a chenedloedd cryfion a ddeuant i geisio Arglwydd y lluoedd yn Jerusalem, ac i weddio ger bron yr Arglwydd. Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd. Yn y dyddiau hyny y bydd i ddeg o ddynion, o bob tafodiaith y cenhedloedd, ymaflyd, ymaflyd, meddaf, yn ngodrau gwr o Iuddew, gan ddywedyd, Awn gyda chwi: canys clywsom fod Duw gyda chwi." Dyna yr amser y bydd cymanfaoedd i weddio yn lluosocach na'r cymanfaoedd pregethu. Bu ymgasglu mawr i Jerusalem i'r gwyliau arbenig—bu cynull mawr i Langeitho ar ben mis o'r rhan fwyaf o siroedd Cymru—bu cynull mawr o holl siroedd y Gogledd i Sassiwn y Bala—y mae cynull mawr i'r Cymanfaoedd yn y dyddiau hyn; ond y mae *adeg i dd'od* y bydd trigolion y naill dref yn myned i'r llall *i weddio*. *A* phan y daw hyny, bydd y lluaws yn gwaeddi. "Awn gyda chwi, canys clywsom fod Duw gyda chwi." Dyma seren foreu y milflwyddiant. Mae cynydd gwybodaeth—darganfyddiadau gwyddor—gwelliadau celfyddyd—eangiad masnach—dymchweliad opiniynau—chwyldroad llywodraethau gorthrymus—anturiaethau llwyddianus cenadon y groes—cyfieithiad a lledaeniad y Beibl—safiad teyrnasoedd Cristionogol yn y byd—cymysgiad cenhedloedd y ddaear a'u gilydd—a phrysur ymollyngiad crefyddau gau, oll yn arwyddion sicr fod dyddiau gwell i dd'od; ond sicrach arwydd na'r cwbl fyddai gweled gweddi gymdeithasol mor uchel a phoblogaidd na byddai eisiau dim ond cyhoeddi cyfarfod gweddi i gael y capel yn llawn. Daw hyn; "O herwydd yna yr adferaf i'r bobl wefus bur, fel y galwo pob un o honynt ar enw yr Arglwydd i'w wasanaethu

ef ag un ysgwydd." Yna, "O'r tu hwnt i afonydd Ethiopia y dwg fy ngweddiwyr offrwm."

*Cymhwysiad.*—Tra yr ydym yn cymhell ac yn canmol gweddi gyhoeddus a chymdeithasol, gobeithio nad esgeulusir gweddi bersonol a dirgelaidd. Mae nerth pob dyn yn y cyhoedd yn ymddibynu ar ei ymwneyd personol â Duw. "Yr hwn sydd yn y dirgel sydd Iuddew, ac enwaediad y galon sydd yn yr ysbryd, nid yn y llythyren." Dynion taer gyda Duw yn y dirgel oedd pawb fu yn gryfion gyda dynion yn y cyhoedd. Tywallter ysbryd gweddi yn helaeth ar yr Eglwysi oll. Amen.



## PREGETH XXVIII.

### CAN MOSES A CHAN YR OEN.

DATGUDDIAD XV. 3.

"A chanu y maent gân Moses a chân yr Oen."

Canwyd "Cân Moses" ar lan y Môr Coch wedi boddi Pharaoh a'i lu yn y dyfnder. Cenir "Cân yr Oen" ar fynydd Seion gan y "pedair mil a'r saith ugain mil, wedi cael y maes ar y bwystfil a'i ddelw." Gall y cenir hi mewn rhan gan yr Eglwys ar y ddaear, wedi cael yr oruchafiaeth ar yr Anghrist; ond ni bydd y gân yn gyflawn nes cyraedd y nef. Mae "Cân Moses" genym yn llawn yn llyfr Exodus; mae rhanau o "Gân yr Oen" genym yn llyfr y Datguddiad; a gallwn ffurfio barn am y cyfansoddiad yn llawn oddiwrth y rhanau sydd genym. Edrychwn yn

I. Y DDWY GAN YN GYFERBYNIOL.—" *Can Moses a chan yr Oen.*"

1. Caniadau am ryddhad o gaethiwed yw y ddwy,—caethiwed yr Aifft, a chaethiwed pechod. Nid oedd y blaenaf ond cysgod anmherffaith o'r olaf. Ond yr oedd teimlad o ryddid yn anadlu drwy Gân Moses, felly hefyd yn Nghân yr Oen.

2. Caniadau am ymwared mewn cyfyngder yw y ddwy. Cyfyngder caled yr oedd y genedl ynddo, wedi eu hamgau gan beryglon, ond daeth ymwared yn annisgwyliadwy, ac mewn modd na feddyliasent, nes " llenwi eu genau â chwerthin a'u tafod â chanu." Swn ymwared o gyfyngder sydd yn Nghân yr Oen. Cyfyngder yr argyhoeddiad yn nechreu y daith. " Saith ac wyth o gyfyngderau " ar hyd y daith, a chyfyngder angeu yn niwedd y daith.

3. Caniadau am fuddugoliaeth ar elynion yw y ddwy. Buddugoliaeth ar Pharaoh oedd testyn Cân Moses,—hen elyn creulawn, a gormeswyr trahaus wedi ei foddi. Pob gelyn wedi ei orchfygu fydd testyn Cân yr Oen. Byd, cnawd, diafol ac angeu, wedi eu llwyr orchfygu.

4. Caniadau yn priodoli yr oruchafiaeth yn hollol i Dduw yw y ddwy. "Cenwch i'r Arglwydd," meddai *Cân Moses.* " Teilwng yw yr Oen," meddai Cân yr Oen. Nid oes son am Moses yn estyn ei wialen, nac am y bobl yn cerdded trwodd, yn Nghân Moses. Duw yn unig sydd yn y golwg. Nid oes son am neb ond yr Oen a'i waed yn nghân y nef. " Nid i ni," " Iddo ef." " Teilwng yw yr Oen."

" Efe wnaeth y cwbl, efe gaiff y clod,
Boed moliant i'w enw tra'r nefoedd yn bod."

II. RHAGORIAETH " CAN YR OEN " AR " GAN MOSES."

1. Cân am waredigaeth dymhorol oedd Cân Moses ; cân am waredigaeth ysbrydol yw Cân yr Oen. Cyrff oedd mewn caethiwed yn y naill, eneidiau yn y llall, ac y mae y waredigaeth gymaint yn fwy pwysig ag yw yr enaid na'r corff, pethau tragywyddol na'r pethau presenol.

2. Cân yn ngenau un genedl oedd Cân Moses. Cân gan

"filoedd o filoedd, a myrddiynau o fyrddiynau," o bob cenedl, yw Cân yr Oen. Ychydig yn ychwaneg na chwe' chan' mil oedd yn canu Cân Moses; ond "tyrfa fawr na ddichon neb ei rhifo" sydd yn canu Cân yr Oen.

3. Cân am fuddugoliaeth ar un gelyn tra yn agored i elynion eraill oedd Cân Moses. Cân wedi cael goruchafiaeth ar bob gelyn yw Cân yr Oen. Dywedodd Moses, "Y gelynion a welsoch chwi heddyw ni chewch eu gweled byth ond hyny;" ond gallasai ychwanegu, y mae eraill na welsoch erioed mo honynt, ac y mae yn rhaid i chwi ymladd â hwy, "Sehon brenin yr Amoriaid, ac Og brenin Basan." Ond yn Nghân yr Oen ceir edrych yn ol ar bob gelyn wedi ei orchfygu, ac "angeu, y gelyn diweddaf," wedi ei ddinystrio.

4. Cân ganlynwyd a chwynfanau galarus oedd Cân Moses Cân na ddaw tristwch na galar byth ar ei hol yw Cân yr Oen. Clywyd Israel yn tuchan yn ddigon anniolchgar ar ol canu Cân Moses; ond unwaith y dechreuir ar Gân yr Oen, "fe sych Duw ymaith bob deigr oddiwrth eu llygaid hwynt, ac ni bydd mwyach na thristwch na llefain, na phoen."

5. Mae un rhagoriaeth neillduol arall yn Nghân yr Oen,—Cân am waredigaeth wedi ei diogelu trwy *allu* Duw ydyw Cân Moses; Cân am waredigaeth trwy *waed* ydyw Cân yr Oen. *Gallu* Duw fawrygir yn Nghân Moses, *gras* Duw yn Nghân yr Oen. *Braich* Duw yn y naill, *calon* Duw yn y llall. "Dy ddeheulaw, Arglwydd, sydd ardderchog o nerth," meddai Cân Moses;" "Teilwng wyt ti i gymeryd y llyfr, ac i agoryd ei seliau ef; oblegid ti a laddwyd, ac a'n prynaist ni i Dduw, trwy dy waed," meddai Cân yr Oen.

"Dechreuir Cân am farwol glwy,
Na chlywir diwedd arni mwy."

# FY YMWELIAD AG AMERICA.

Mae olrhain neillduolion gwlad, ac elfenu cymeriad ei phobl yn orchwyl sydd yn gofyn cymhwysderau arbenig yn y neb a ymgymero ag ef. Mae cydnabyddiaeth ëang—sylw craff—barn uniawn—ac ysbryd diragfarn yn wir angenrheidiol mewn trefn i'w wneyd yn briodol.

Nid ydwyf yn honi rhyw lawer o'r tri chymwysder cyntaf; ond am yr olaf yr wyf yn sicr na chroesodd neb erioed dros dónau y werydd yn fwy diragfarn at America a'r Americaniaid. Aethum yno gyda meddwl rhydd ac agored i dderbyn argraff oddiwrth y pethau a welwn ac a glywn. Mae yn wir na bu fy ymweliad a'r wlad ond byr iawn, rhy fyr o lawer i'w deall yn llawn; ond y mae rhyw fanteision gan ymwelydd brysiog â gwlad i roddi adroddiad o honi nad oes gan drigianydd arhosol ynddi. Mae pethau bychain dibwys o herwydd eu newydd-deb yn tynu sylw yr ymwelydd *dyeithrol*, nad yw y bobl sydd wedi hir gynefino â hwynt *yn cael eu* taro ganddynt; a thrwy y pethau lleiaf yn gyffredin y deallir cymeriad gwlad a chenedl yn gystal a phersonau unigol. Nid wyf yn amcanu rhoddi hanes America a'i sefydliadau; cymerai hyny gyfrol fawr i'w gynwys; a gofynai gydnabyddiaeth llawer helaethach a'r wlad na dim y gallaf fi honi meddiant o hono. Yr oll a gynygiaf wneyd ydyw rhoddi adroddiad syml a dirodres o'r lleoedd y bum ynddynt—y pethau hynotaf a welais ac a glywais ar fy nhaith—a'r argraffiadau a dderbyniais am America a'r Americaniaid. Bydd llawer o'r pethau yn ddigon cyfarwydd i'r Cymry yr ochr draw i'r môr; ond gan y bwriadir i'r ysgrif gael ei darllen hefyd gan lawer yr ochr yma, y mae yn iawn i Gymry America gael gwybod yn gywir pa beth a ddywedir am danynt hwy a'u gwlad wrth eu cydgenedl yn hen wlad eu tadau.

Cychwynais o Liverpool am ddau o'r gloch ddydd Mercher, Mai 31ain, 1865, ar fwrdd yr agerddlong y "*City of London,*" gyda fy nghyfeillion hoff Mr. C. R. Jones, Llanfyllin, a Mr. J. Griffiths, (Gohebydd) Llundain Diwrnod rhyfedd oedd y diwrnod hwnw. Er fod ynof ddymuniad cryf er's mwy nag ugain mlynedd am weled America, eto rhyw deimlad rhyfedd oedd pan ddaeth myned i America yn ffaith. Yr oedd *siarad* am y peth yn mlaen llaw, a *myned* pan ddaeth yr adeg yn ddau beth hollol wahanol. Daeth nifer o gyfeillion caredig i'n danfon i lan yr afon. Yr oedd eu llygaid hwy yn edrych yn bryderus arnaf fi, a'm llygaid inau felly arnynt hwythau, ac ambell galon mi wn yn curo yn gyflymach nag arferol gan ofn "Na chaent weled fy wyneb i mwy." Daeth ychydig gyfeillion gyda ni yn y *tender* ac i fwrdd y llong; ond wedi cael cipdrem ar ein hystafelloedd y maent yn brysio i fyned ymaith, a ninau yn hwylio i'n mordaith. Mae eu cyfarchiadau yn ein clustiau—ac wedi i ni fyned yn rhy bell i glywed eu llais—yr ydym yn eu gweled o bell yn amneidio a'u llaw—yn chwifio eu napcynau—yn troi eu hetiau o gylch eu penau—a'r olwg olaf dynodd fy sylw oedd fy machgen Owen yn troi ei gap ac yna yn ymgolli o'r golwg—a chyn hir yr ydym yn gadael Liverpool, a'i holl swynion o'r tu ol.

Yr ydym yn myned yn mlaen yn gysurus—yr awyr yn glir—y môr yn dawel—yr awel yn deg—glanau siroedd Fflint, a Dinbych yn y golwg—mynyddau banog Arfon yn ymddangos y naill yn codi ei ysgwydd uwchlaw y llall—"Môn, mam Cymru," a golwg oreurog arni fel y mae yr haul ar ei yrfa yn prysuro tua'r Gorllewin. Ac erbyn machlud haul nos Fercher, dyma yr olwg olaf i ni ar dir Cymru. Mae yn ymgolli yn y pellafoedd, a chyda'r trem diweddaf arni teimlwn awydd i ddyweyd gyda'r bardd,

"Nos dda fy ngwlad lle cefais faeth,
 Ymwywo'r wyt yn ngwyll yn hwyr;
Ymgwyna'r gwynt ac ar y traeth,
 Y rhua'r dôn yn ddrylliau llwyr;

Machluda'r haul tu hwnt i'r lli',
O'i ol yr af o flaen y chwa :
Tros dro gadawaf ef a thi,
Fy anwyl wlad, bydd wych, nos dda!

Yr Eifl a'r Wyddfa y'nt ynghudd,
Ymledwch hwyliau, chwythwch wynt ;
Fy nghalon yn dychlamu sydd,
Am gael ar arall dir ro'i hynt ;
Can croesaw fôr, tafl fi'n bell mwy,
I droedio trwy fawr wres neu iâ ;
Na ddichon gelyn ro'i i'm glwy,
O'm hanwyl wlad, bydd wych, nos dda!"

Wedi i'r haul fachludo, ac i leni duon y tywyllwch ymdaenu drosom, aethum i'r gwely. Nid oedd yr ystafell wely ond cyfyng iawn ; rhyw ddwy lath o hyd a thair prin o led ; ac yn y gell fyglyd hono yr oedd pedwar o honom i gysgu, dau bob ochr, y naill uwchben y llall, ar ryw *shelf* hir gul. Yr oedd fy ngwely i yr isaf ar y llaw chwith wrth fyned i'r ystafell, Mr. C. R. Jones uwch fy mhen. Ar yr ochr arall yr oedd rhyw Gadben Prydeinig trystfawr ac uchelfrydig ar y gwely isaf ; ac American gelynol iawn i'r hen wlad uwch ei ben. Druan o hwnw, bu yn glaf yr holl ffordd, ni chododd o'i wely o'r diwrnod y gadawodd Liverpool hyd y boreu yr oeddym yn ngolwg New York ; ac eto yr oedd yn siarad yn gryf am roi crasfa dda i Loegr. Efe ac un arall a welais yn greulawn am ryfel a'r hen wlad. Yr oeddwn yn edrych ar fy ngwely yn lle rhyfedd iawn i feddwl gorwedd ynddo am ddeg neu ddeuddeg noswaith ; ond cefais noswaith gysurus hollol. Dyna y tro cyntaf erioed i mi fod noson ar y môr ; ac anaml y treuliais noson yn fwy hapus. Erbyn codi boreu dranoeth yr oeddym yn ngolwg tir yr Iwerddon, a chyn deg o'r gloch yr oeddym wedi cyrhaedd porthladd Queenstown. Yr oedd yn gwlawio yn drwm trwy y dydd, onide aethwn i'r lan yno gan ein bod yn gorfod aros rhai oriau i ddisgwyl y *mail*. Daeth cryn nifer yn ychwanegol i mewn yno, *steerage passengers* gan mwyaf. Cawsom ein cadw yn Queenstown hyd yn agos i

chwech o'r gloch y prydnhawn pan yr hwyliasom ymaith; a thua yr un awr ag y collasom yr olwg ar dir Cymru nos Fercher, collasom yr olwg ar dir yr Iwerddon nos Iau. Bellach nid oes ond y môr mawr llydan o'n blaen. Dechreuais deimlo clefyd y môr. Mae ysgytiad y llong yn cynhyrfu fy ymysgaroedd; a "phan glywais, fy mol a ddychrynodd." Aethum i'r gwely yn sal iawn. Yn rhagluniaethol yr oedd y cadben trahaus oedd yn ein hystafell wedi ein gadael, ac yr oedd cael un yn llai mewn lle mor gul yn iechyd mawr. Dydd Gwener nid oeddwn yn ddim gwell, methu yn lân a myned at y bwrdd, felly hefyd ddydd Sadwrn. Y Sabboth yr oedd yn wyntog ac ystormus, a minau yn salach o lawer. Aethum i fyny i'r *saloon* i'r gwasanaeth erbyn deg o'r gloch. Nid oedd ond ychydig ynghyd. Yr oedd y cwmni gan mwyaf yn glaf. Gweinyddodd Dr. Massie, o Lundain, yr hwn oedd hefyd yn myned i Gynhadledd Boston; ac a fu i ni yn gydymaith dyddan yr holl ffordd. Nid oedd dim yn hynod yn mhregeth yr hen Ddoctor y boreu hwnw; ond gweddiodd yn nodedig o effeithiol. Nid yn fynych y clywais ddim mor gyflawn a chynwysfawr, ac eto mor dyner a theimladol. Aeth Mr. C. R. Jones a'r Gohebydd yn y prydnhawn i gadw tipyn o wasanaeth Cymreig yn mhen blaen y llong. Bu Mr. C. R. J. yn pregethu, a'r Gohebydd yn esbonio, a rhoddid canmoliaeth uchel i'r odfa. Dydd Llun y mae y tywydd yn parhau yn oer a gerwin, yn debycach fel y dywedai pawb i fis Chwefror nag i fis Mehefin. Treuliais y rhan fwyaf o ddydd Mawrth ar y *deck* yn dipyn gwell. Nid oedd dim neillduol yn tynu sylw yr holl ffordd, os yn achlysurol y gwelid llong o bell, yr oedd hyny yn ddigwyddiad anghyffredin. Yr oedd oerder yr awyr yn profi ein bod yn agoshau at fanciau Newfoundland, a dydd Mercher gwelem fynyddoedd o iâ fel ynysoedd gwynion, a'r olwg arnynt yn ardderchog. Yn aml y mae niwl tew yn gorchuddio yr awyr yn y terfynau hyn, ac y mae llongau wedi rhedeg i'r *icebergs* mawrion hyn weithiau, a phan y digwyddai hyny y mae yn fwy peryglus na rhedeg ar graig. Gallai y

graig fod yn ymwared i'r neb a gai arni ; ond byddai creig-fynyddoedd yr iâ yn sicr o fod yn angau yn fuan i'r neb a ddisgynai arnynt. Ond yr oedd yr awyr yn lled glir pan aethom ni heibio ; ac er ein bod yn rhyw haner milldir neu fwy o bellder oddiwrthynt, yr oeddym yn cael golwg glir arnynt. Dydd Iau yr oeddwn yn llawer iawn gwell. "Ac wedi bod hir ddirwest," boreu Gwener aethum at y bwrdd yn gysurus am y tro cyntaf wedi gadael Queenstown. Ac o hyny i'r diwedd ni fwynhaodd neb ei hun yn well. Ac waeth i mi ddyweyd yn awr, dychwelais yn ol heb deimlo dim oddiwrth glefyd y môr, oddieithr ychydig un boreu yn mhen yr wythnos agos wedi gadael New York. Os oedd y *passage* wrth fyned yn un o'r rhai garwaf, ac ystyried yr adeg o'r flwyddyn, yr oedd y *passage* wrth ddychwelyd yn un o'r rhai mwyaf dymunol. Mae Rhagluniaeth yn ddoeth iawn yn gwneyd y naill beth ar gyfer y llall. Mae y tebygolrwydd o gael tywydd o'r fath ag a gefais wrth fyned yn creu arswyd ynof rhag meddwl myned eto ; ond y mae y posiblrwydd o gael tywydd o'r fath ag a gefais wrth ddychwelyd yn gwneyd na byddai arnaf ddim rhyw lawer o ofn myned eto be byddai galwad. *Ond i ddych*welyd at y fordaith.

Sadwrn a'r Sabboth yr oedd yn dywydd dymunol dros ben. Cadwyd y gwasanaeth arferol yn y *saloon* y boreu, a'r prydnhawn pregethais i'r Cymry ar y *deck* yn yr awyr agored ; ac ar ol i mi orphen, pregethodd Dr. Massie yn yr un man i'r Saeson. Yr oedd y gwrandawiad yn astud iawn, oddigerth rhai Gwyddelod difoes oedd yno na thalent sylw i ddim. Prydnhawn Sabboth daeth y *pilot* i'r bwrdd, ac yr oedd hyny yn arwydd ein bod yn nesau i ryw wlad. Ac yn foreu dydd Llun dacw

OLWG AR DIR AMERICA.

O ! y llawenydd sydd trwy yr holl le, mae yma bawb ar y bwrdd ; a rhai na welwyd eu gwynebau er y gadawsom Liverpool yn dyfod allan o'u celloedd ; ac y mae ein cydystafellwr

Americaniad rhyfelgar yntau yma, ac o gryn dipyn yn fwy hyf fel y mae yn agoshau i'w wlad ei hun. Mae golwg ar dir wedi rhoddi bywyd newydd yn mhawb, a gwedd newydd ar wyneb pawb, a dillad newydd am bawb. Prin yr ydym yn adnabod ein cwmni gan faint y cyfnewidiad. Yr oeddwn yn meddwl ar y pryd, os oedd ein llawenydd ni yn gymaint wrth weled tir, pan nad oeddym wedi bod ond prin ddeuddeg niwrnod ar y môr, beth oedd raid fod llawenydd Columbus a'i wyr pan y darganfyddasant dir America am y waith gyntaf, wedi bod "yn hwylio yn anniben" am yn agos i chwech ugain o ddyddiau i chwilio am y byd newydd. Nid rhyfedd eu bod yn syrthio ar y ddaear ac yn ei chusanu o lawenydd. Mae y fynedfa i borthladd New York tu hwnt i ddim a welais erioed. Derbyniais yr argraff yn y fan fod yn rhaid fod rhyw fawredd ac ëangder yn y wlad ag yr oedd natur wedi rhoddi iddi *entrance* mor ysplenydd. Os yw y *lodge* gystal, beth raid fod y palas. Mae y porthladd yn bum' milldir ar hugain o amgylchedd—gorchuddir ei ymylon gan balasau gwychion—addurnir ef a'r mân ynysoedd prydferthaf—a gwelir y rhwyflong yn myned yn fawreddog drwyddo, a'r llong odidog yn nofio drosto. Glaniasom yn New York tuag un o'r gloch, ac yr oeddwn y cyntaf o'r holl *passengers* i gael fy nhroed ar dir. Wedi cael ein cadw dros ychydig gan swyddogion y Llywodraeth i chwilio ein paciau, er gweled ai "gwyr cywir" oeddym, prysurasom i chwilio am dŷ fy hen gyfaill, Mr. Eleazer Jones, oblegid yr oedd ein mynediad mor annisgwyliadwy fel na chafodd neb o'r cyfeillion gyfle i ddod i'n cyfarfod. Cawsom Mr. Jones wedi cymeryd tŷ mawr, cyfleus ryfeddol, yn 92 Chatham Street, gyda bwriad i gadw Hotel (Ddirwestol) a da oedd genyf weled ar fy nychweliad fod y tŷ wedi ei gwblhau, a masnach dda yn cael ei wneyd ynddo. Yr oedd y fath dŷ yn wir angenrheidiol i gyfarfod angen dosbarth mawr o'n cydgenedl yn New York. Wedi aros yn nhŷ Mr. Jones dros ychydig i orphwys ac adfywio natur, aethom i dŷ Mr. Cadwaladr Richards, Temperance Hall, 403 Greenwich Street.

Hen lety adnabyddus iawn i ymfudwyr. Yr oeddym yn disgwyl cael cyfarfod yno â rhai o'r cyfeillion oedd yn cyd-ddyfod â ni drosodd. Erbyn cyrhaedd tŷ Mr. Richards, pwy oedd yno ond y Parch. Evan Griffiths, (Llanegryn gynt) gweinidog yr Annibynwyr yn New York yn awr. Yr oedd wedi clywed ychydig funydau cyn ein gweled ein bod wedi glanio yno, eto prin yr oedd yn coelio. Yr oedd yn edrych pan welodd ni "fel un yn breuddwydio." Da iawn oedd genyf ei weled yn edrych mor dda. Yn Nghymanfa Cynwyd, ddwy flynedd ar bymtheg yn ol y gwelswn ef ddiweddaf. Cefais lawer o'i gyfeillach tra y bum yn y ddinas. Yr oedd y Parch. Thomas Jenkins (Salem Merthyr gynt) Johnstown, Pa., yno hefyd, wedi dyfod i gyfarfod Mrs. Jenkins a'r plant. Cyfarfyddais yno hefyd â'r Parch. David Jones, Arena, Wis., yr hwn oedd fel ninau ar ei ffordd i Boston. Gwyddwn am enw Mr. Jones o'r blaen—urddwyd ef yn Bethania, Llanon, Sir Gaerfyrddin, ar ei fynediad i America; ac y mae wedi bod yn ddefnyddiol iawn yn y Gorllewin "i bregethu yr efengyl lle ni enwid Crist." Arosasom yn New York y noson hono a thrwy y dydd dranoeth, a chawsom gyfle i weled ychydig o'r ddinas a'i hadeiladau. Dyma y fwyaf o ddinasoedd America, ac y mae ei therfynau yn ëang a'i phoblogaeth yn lluosog. Mae y trefydd oll yn America wedi eu hadeiladu ar gynllun rhagorol. Heolydd union, llydain yn rhedeg yn gyfochrog; a heolydd cyffelyb yn rhedeg drachefn yn groes iddynt; fel y mae eu ffurfiad yn gelfyddgar hollol. Mae rhesi hardd o goed wedi eu planu gydag ochr y *parapet* rhwng y droedffordd a'r heol sydd yn gysgod gwerthfawr rhag gwres yr haul, ac yn gwyntyllu awelon adfywiol; ac y mae cynllun unionsyth eu heolydd yn ffafriol i iachusrwydd eu dinasoedd, gan fod yno ffordd rydd i awyr i gerdded. Nid yw New York yn un o'r rhai goreu o'u dinasoedd. Y rhai a adeiladwyd ddiweddaf yw y perffeithiaf—Cnicago, Cincinnati, ac yn enwedig Philadelphia. Anhawdd dymuno dinas ar well cynllun. Mewn glanweithdra nid yw New York na dinasoedd America yn gyffredin i

u â dinasoedd mawrion Lloegr, nid yw *drainage* wedi ei
wyn yno i agos cymaint o berffeithrwydd ; ond yn nghyn-
ı eu dinasoedd, a lluniad eu heolydd y maent yn tra rhag.
. Nid gwiw i mi ddechreu son am adeiladau y ddinas,
de ni chyrhaeddaf ben fy nhaith mewn amser.
Nos Fawrth, Mehefin 13eg. Gadawsom New York, a
rchwynasom am Boston yn un o'r

AGERFADAU MAWRION

yr afon i Stonington. Mae yr agerfadau welir a'r afon-
l mawrion America yn ysplenydd. Nis gwn a allaf roddi
v amcan i'r darllenydd pa fath rai ydynt, Gadewch i ni
io rhoddi desgrifiad o'r un yr aethom ni ynddo. Nid wyf
sicr ei fod y goreu, ac nid wyf yn meddwl ei fod y gwaelaf.
llaf feddwl ei fod yn *specimen* go deg o'r cyffredin o hon-
i.
Aethom i mewn yn ochr y llestr oddiar y *pier*, a'r peth cyn-
' a dynodd fy sylw ar y llaw chwith ar fwrdd y *steamer*
ld siop barbwr, a dyn du wrthi yn brysur yn eillio rhyw
faill oedd yno dan ei law, oblegid nid yw y barfau mawrion
a eto ddim wedi dyfod mor gyffredin yn America, ag yd-
; yn y wlad yma. Yn ystafell y barbwr y mae cyfle i ym-
hi ac ymlanhau, ac y mae hyny yn fanteisiol iawn mewn
lad lle y mae dynion yn teithio yn brysur. Ceir yma bob
leustra a geir mewn gwesty, a theithio yn mlaen ar yr un
rd. Gellir cael yma *bath* oer neu frwd ond gofyn am dano,
unig rhaid talu yn lled uchel am y cyfleusterau hyn. Y
s am *shavio* oedd 25 cents neu 1s. ½d., ac am dori gwallt
cents neu 2s. 1d. Dyna *shavio* bob ffordd, onide? Mae
p y barbwr ar ochr y llong yn agos i'r canol, o hyny hyd
en y llong y mae y *luggage* yn nghadw ; a bydd y dosbarth
f o deithwyr yn dewis aros yn yr un man. Yn yr haner ol
llestr y mae y *Ladies' Saloon* wedi ei dodrefnu mor wych
uurhyw *drawing-room*. Awn i lawr ar hyd y grisiau yma
ld ar ganol y llong, a dyma ni mewn ystafell fawr sydd yn

cyrhaedd o un pen i'r llall. Un ystafell ydyw, ond y mae fod y grisiau yn y canol yn peri iddi ymddangos fel dwy ystafell. Mae yr haner ol yn *sitting-room*, a'r haner blaen yn *dining-room*, lle y gall 250 neu 300 gydeistedd i fwyta. Mae swper i fod ar y bwrdd am haner awr wedi saith. Y pris ydyw 75 cents neu 3s. ½d. Am naw o'r gloch y mae swper am 50 cents neu 2s. 1d. ac y mae hwnw yn ddigon da i un dyn. Hyd hyny y darfu i ni aros oblegid yr oedd naw o'r gloch yn nês i awr swper Cymro. Tri phryd sydd yn America—brecwast o 6 i 7—ciniaw o 12 i 2—a swper o 6 i 7½. Ac nid oes fawr iawn o wahaniaeth rhwng y tri phryd. Ceir cig a thatws *bob* amser i frecwast, a chig bob amser i swper a thatws *yn aml*, a cheir te fynychaf gyda chiniaw, fel y mae y *tri phryd* yn lled debyg a phob un yn ddigon da. Yn yr ystafell fawr isaf yma y mae gwelyau yn dair rhestr, y naill uwchben y llall o amgylch y llong ; a *curtain* yn gorchuddio pob un. Cyfrifasom fod yno tua 250 o honynt, ac y mae y gwelyau hyny i'w cael yn mhris y cludiad i'r neb a fyno wneyd cais am un o honynt. Awn i fynu o'r ystafell isaf a dyma ni ar y lle y daethom i mewn. Mae y *luggage* yn mlaen yna, a dyma y *ladies' saloon* yn ol acw, a dyma siop y barbwr *yn yr ochr y* fan yma. Ond cymerwn y grisiau canol yma, ac awn yn ein blaen i fynu yma, a dyma ni yn yr ystafelloedd goreu. Mae yma dair neu bedair o ystafelloedd culion a'r naill yn ymagor i'r llall. Mae yma esmwythfeinciau—glythau—cadeiriau—a phob cyfle i ymfwytho. Yn rhes bob ochr o un pen i'r llall, y mae *state-rooms* fel eu gelwir, neu ystafelloedd gwely neillduedig. Am wely yn un o'r rhai hyny rhaid talu dolar neu 4s. 2d., ac y mae yno bob cysuron a geir yn y gwestai goreu. Yn mlaen ac yn ol mae gwagleoedd, a thu allan i'r *state-rooms* rhwng hyny ag ymyl y llestr y mae llwybr y gellir tramwy ar hyd-ddo o'r naill ben i'r llall, ac o amgylch y llong ; ac yn y llwybrau o gylch, a'r gwagleoedd yn mhob pen y mae caniatad i ysmocio ; ac nid rhaid dyweyd fod yr Americaniaid yn cymeryd eu rhyddid yn helaeth i hyny. Aeth y Gohebydd i

lawr i un o welyau y *lower room*, ond cysgodd Mr. C. R. J. a minau ar bob o *sofa* yn yr *upper room*. Gallai un deimlo yn yr agerddfadau hyn ei fod yn un o *hotels* goreu y wlad. Cyrhaeddasom Stonington tuag un o'r gloch y boreu, lle y cymerasom y train i fyned i Boston, a chyrhaeddasom yno tua chwech o'r gloch boreu Mercher ; ac er mor foreu ydoedd yr oedd y ddinas yn llawn bywiogrwydd. Mae pobl America yn nodedig am godi yn foreu. Aethom i'r *Quincy Hotel* i gael lluniaeth, ac i aros adeg cyfarfyddiad y Gynhadledd.

Mae yn anmhosibl i'r sylwedydd mwyaf arwynebol ddyfod i dalaeth Massachusetts, na nesau at ddinas Boston heb dderbyn argraff fod rhagoriaethau penaf y meddwl Americanaidd yn cael eu dadblygu yma. Dywedid gynt mai Groeg oedd llygad y byd, ond mai Athen oedd llygad Groeg. Gellir gyda llawn cymaint o briodoldeb ddyweyd mai *New England* yw llygad America—mai Massachusetts yw llygad *New England* —ond mai Boston yw llygad Massachusetts. Yma y gwelir mwyaf o egwyddorion ac ysbryd y Pererindadau. Yr oeddwn wrth ddyfod trwy Rhode Island, heibio i Providence, y ddinas sylfaenwyd gan yr anfarwol Roger Williams, ac ymlaen at Boston yn teimlo fy mod yn dyfod i awyr gysygredig ! Dyma gryd rhyddid crefyddol ! Dyma y diffaethwch y ffodd y wraig iddo i fagu ei phlentyn gwryw (rhyddid crefyddol) pan y mynai y ddraig a'r sarff erlidgar yn Lloegr ei osod i farwolaeth ! Mae yma lawer llanerch ag iddo adgofion pur ddyddorol i'r hynafiaethydd Cristionogol.

Mae Boston yn un o ddinasoedd blaenaf America. Saif yn ail i New York mewn pwysigrwydd masnachol ; ond saif yn flaenaf oll ar gyfrif y swynion sydd ynglyn a hanesiaeth y lle. Er y darganfyddwyd y cyfandir gorllewinol—trwy ymdrechion caled y Werin-lywodraeth yn ei mebyd a'i hieuenctyd—hyd safiad anrhydeddus y Llywodraeth sydd yn awr, yn "wr perffaith" wedi dilead y gwarthnod o gaethwasiaeth ; y mae Boston wedi cadw y flaenoriaeth ar holl ddinasoedd America. Mewn anturiaethau cyhoeddus—mewn diwylliad

uchel yn gymdeithasol a moesol—Mewn cyfleusterau addysgol a llenorol—yn amledd a gwerthfawredd ei sefydliadau dyngarol, yn ngwychder ei hadeiladau personol a chyhoeddus—yn gystal ag yn mhrydferthwch y golygfeydd cylchynol, nid ydyw i'w henwi yn ail i un ddinas. Ond nid gwiw i mi ymdroi gyda'r ddinas a'i hynodion, ond awn yn ein cyfer i'r

GYNHADLEDD FAWR,

er mwyn pa un yn benaf y gadawsom gartref. Mae pwyllgor paratoawl i drefnu lletyau i'r dyeithriad yn eistedd yn yr Ysgoldy perthynol i'r *Old South Church*, ac erbyn tua deg o'r gloch aeth Mr. C. R. J., y Gohebydd a minau tuag yno i weled pa fodd yr oedd pethau yn myned yn mlaen. Mae yr ystafell ëang yn llawn, a'r pwyllgor wrthi yn brysur yn nodi lle pob un. Mae yno lawer iawn o wynebau ond dyeithr i mi i gyd. Na yn wir dacw yr hen Dr. Massie, ac y mae mor dda ganddo ef ein gweled ni ag ydyw genym ninau ei weled yntau. Daeth nifer o'r prif ddynion yn fuan i ddeall pwy a pheth oeddym, a chawsom hwy i gyd yn garedig iawn. Tra yr oeddwn yn siarad â Dr. Massie daeth y Gohebydd o hyd i ryw haner dwsin o Gymry oedd yno; ac wedi iddo ef eu cael allan, ni buom yn hir heb ymgydnabyddu. Y Parch. G. Griffiths, Utica, gwyddwn yn dda am ei enw, ac yr oedd rhai brodyr o Gymru wedi anfon eu cofion gyda mi ato; ond nid oeddwn yn cofio i mi erioed ei weled. Y Parch. R. R. Williams, Pittsburgh, oedd yn bur adnabyddus i mi o ran ei enw a'i hanes. Bum yn gweinidogaethu yn nghanol ei bobl yn Glyn Nedd, Morganwg. Ei ewythr y Parch. W. Williams, Hirwain, yw un o'r dynion goreu a feddwn fel enwad; ac y mae ei gefnder y Parch. T. E. Evans, Manchester, yn y dosbarth blaenaf o'n gweinidogion ieuainc—drwg genyf fod ei iechyd y fath fel y gorfodir ef i roddi ei weinidogaeth i fyny yn Manchester. Y Parch. E. Davies, Waterville, a gyfarfum, ac er ei fod ef yn gwbl ddyeithr i mi o'r blaen, ni buom yn hir cyn ffurfio cyfeillgarwch cynes. Mae ef wedi ei eni a'i fagu

yn America. Y Parch. T. W. Davies, Youngstown. Yr oeddwn yn cofio yr hen wr ei dad yn dda yn Bethel, Llansamlet; ond nid wyf yn gwybod i mi weled Mr. Davies, er ei fod ef yn cofio fy ngweled i er's mwy nag ugain mlynedd yn ol. Y Parch. W. Watkins, Newburgh, dyma y tro cyntaf i ni weled ein gilydd, hoffais ef yn fawr. Y Parch. P. Peregrine, Blossburgh. Yr oedd yntau hefyd yn ddyeithr i mi; a drwg iawn oedd genyf nas gallaswn ar fy nhaith gael cyfle i alw heibio iddo. Y Parch. D. Jones, Arena, hefyd, am yr hwn y crybwyllais yn flaenorol. Cefais lawer iawn o gyfeillach y brodyr caredig hyn. Cawsom lawer o gyfle i gydymddiddan am helyntion teyrnas Crist yn y ddwy wlad—i gydymgynghori pa fodd i weithredu er helaethu ein defnyddioldeb—ac i gydweddio am wyneb yr Arglwydd arnom. Yn ffodus cawsant hwy oll fyned i letya i'r un man, yr oedd hyny yn help mawr i gael gafael ynddynt i gyd. Cefais y gweinidogion Cymreig oedd yn y Gynhadledd yn ddynion o ddifrif gyda chrefydd; a'u calonau yn llawn awydd am wneyd daioni. Yn wir mor belled ag y gwelais i, dynion felly ydyw y gweinidogion Cymreig trwy y talaethau. Mae yn debyg fod eithriadau, ond boddlonwyd fi yn fawr yn y "mawr ofal calon" a ddangosent am achos y Gwaredwr. Mae eu pellder oddiwrth eu gilydd yn anfantais iddynt i gyfeillachu ynghyd, ond nid oes yr un anfantais heb ei mantais, y mae hyny yn peri fod pob un yn asio yn fwy a'i bobl gartref; ac yn cyfyngu ei lafur i'w winllan ei hun.

Heddyw, Mehefin 14eg, am dau o'r gloch y mae y cynulliad cyhoeddus cyntaf yn yr *Old South Church.* Dyma y capel hynaf yn y ddinas. Mae Dr. Stone yn rhoddi anerchiad croesawgar i'r dyeithriaid, ac wedi i ryw ddau frawd weddio yn fyr, am arweiniad dwyfol, y maent yn prysuro yn mlaen at weithrediadau y cyfarfod. Dewiswyd yr Anrhydeddus W. A. Buckingham, Llywodraethwr Talaeth Connecticut, yn Llywydd. Gwr hynaws a boneddigaidd iawn. Tua 55 oed mi feddyliwn. Yr oedd rhyw dynerwch neillduol yn amlwg

yn ei wynebpryd. Etholwyd yr Anrhydeddus C. G. Hammond, o Chicago; a'r Parch. Joseph P. Thompson, D. D., New York, yn gynorthwywyr iddo. Cyfreithiwr o Chicago yw Mr. Hammond, ac un o aelodau Senedd Talaeth Illinois. Dyn tal, main, llym, o gylch yr un oed a'r Llywydd, ond ei fod yn fwy miniog yr olwg arno. *Sharp Yankee*, mae yn hawdd deall ar ei lygaid. Un o'r dynion cymhwysaf i reoli a welais erioed. Ymddangosai yn deall yr *order of the house* yn drwyadl. Ymddiriedai y Llywydd yn fwy i'w farn ef nag i'w farn *ei hun*. Gweinidog yn New York ydyw Dr. Thompson. Dyn o faintioli cyffredin, o 45 i 50 oed. Un o'r gweinidogion *goreu yn* America. Cymhedrol iawn yn ei olygiadau ar bob *cwestiwn*. Buasai yn anmhosibl dewis gwell tri i lywyddu. Mae yna nifer fawr o bwyllgorau yn cael eu dewis er prysuro y gwaith ac addfedu pob cwestiwn cyn ei ddwyn ger bron y Gynhadledd. Cymerodd neillduo y pwyllgorau hyn lawer iawn o amser y ddau ddiwrnod cyntaf; ond hebddynt buasai yn anmhosibl gwneyd cymaint o waith mewn amser mor fyr. Yr oedd cryn nifer o destynau wedi eu nodi yn flaenorol i ddarllen papurau arnynt, ond nid oedd hyny yn cau *allan nad oedd* testynau eraill i gael eu dwyn ger bron; ond *yr oedd yn rhaid* iddynt gael eu dwyn yn mlaen drwy bwyllgor a bennodasid i fwrw golwg dros hyny. Yn mysg gwahanol faterion eraill y darllenwyd papurau, ac y cytunwyd mewn penderfyniadau arnynt, yr oedd y rhai canlynol: Mynegiad o'u ffydd—Y drefn gynnulleidfaol—Addysg i'r weinidogaeth—Adeiladu capeli—Dirwest—Cynhaliaeth y weinidogaeth—Sefyllfa y wlad—*Efengyleiddiad y Gorllewin a'r De.* Dyna oedd y prif bwnc. Er mwyn hyn y galwyd y Gynhadledd; ac er mwyn hyrwyddo gwneyd hyn y dygid y rhan fwyaf o'r testynau eraill yn mlaen.

Eisteddai y Gynhadledd bob dydd ar ol y dydd cyntaf yn *Mount Vernon Church*; o 9 o'r gloch yn y boreu hyd 1 o'r gloch, ac o haner awr wedi 2 o'r gloch hyd 5. Treulid haner awr bob dydd, o 11 hyd 11½, i weddio. Yr oedd ynghyd yn

agos i 600 o weinidogion a dirprwywyr yn anfonedig gan ryw 3,000 o eglwysi cynnulleidfaol sydd yn wasgaredig trwy y talaethau; ac yr oedd pawb wedi dyfod yno i wneyd gwaith, ac yn eistedd i lawr fel rhai yn benderfynol i'w gyflawni. Mae dynion pwysicaf yr enwad yn America yma. Dyna Proffeswr Park, o Goleg Andover. Mae ei lygaid yn ddwfn iawn yn ei ben—ac esgyrn ei wyneb wedi pantio—ac y mae y cwbl o'i gylch yn profi ei fod yn ddyn uwchraddol Mae Dr. Leonard Bacon yma. Hen wron galluog yw efe, sych a chras iawn mae yn wir, ond caria ei bwynt ar bob cwestiwn. Mewn dadl efe yw eu meistr, ac yn wir ni welais neb yno a chwant arno ymaflyd codwm ag ef. Y dyn tal, tenau, gwyneb hir yna, (o ran hyny y mae yma gynifer o rai felly) yw Dr. Sturtevant, Athraw Coleg Jacksonville, Illinois. Dyn gwir alluog, ac y mae myn'd ynddo. Efe draddododd y bregeth arweiniol boreu ddydd Iau. Y dyn bychan gwyneb goch yna, a welir yn bur aflonydd yn symud o fan i fan, a'i het wellt yn ei law, ydyw Henry Ward Beecher, o ran hyny pa raid i mi fyned i'r drafferth i'w ddarlunio oblegid y mae efe yn ddigon hysbys i bawb. Mae yn dan byw drwyddo, a'i areithiau yn ffaglu y cwbl. Mae Dr. Edward Beecher yma, ei frawd hynaf. Saif yn uchel fel dyn deallgar, gweinyddai yn aml ar y pwyllgorau. Dyna Dr. Post, o St. Louis, y dyn tenau crynedig yna sydd yn dyner a phwyllog yn darllen y Papur ar sefyllfa y wlad. Y dyn bychan, gwallt coch yna ydyw Dr. Andrews, Athraw yn Marrietta College, nid llawer a siaradai, ond pa bryd bynag y gwnai gwrandewid arno gydag astudrwydd. Mae Dr. Patton, o Chicago yma, a Dr. Buddington, o Brooklyn, a llu mawr yn ychwanegu nas gallaf yma eu henwi. Nid fy amcan ydyw rhoddi hanes y Gynhadledd, ond y mae yn brofedigaeth i mi grybwyll dau neu dri o'r pethau mwyaf neillduol a dynodd fy sylw. Ac yn gyntaf rhaid i mi nodi prif bwnc y cynulliad, sef

EFENGYLEIDDIAD Y DE A'R GORLLEWIN.

Yr oedd terfyniad y rhyfel, a diweddiad caethiwed wedi

agor o'u blaen faes mawr; a theimlai pawb fod rhagluniaeth yn galw arnynt i fyned a'i feddianu. Nid oedd Cynulleidfaoliaeth wedi gallu rhoddi troed i lawr yn y De. Mae gormod o wrthdarawiad rhwng egwyddorion Annibyniaeth a chaethwasiaeth iddynt allu cydfyw. Ac y mae yn llawen genyf gael cofnodi yma yr hyn a ddywedwyd fwy nag unwaith yn Boston, fod dwylaw yr Eglwysi Annibynol yn hollol rydd oddiwrth yr ysgymunbeth. Nid oedd yr un Annibynwr mewn cysylltiad a'r drwg. Yr oedd teimlad gwrthgaethiwol mor gryf yn Nghynulleidfaolwyr New England fel na oddefent neb yn eu cymundeb a ddaliai un berthynas â'r gaethfasnach, ac *oblegid* yr ysbryd gwrthgaethiwol yna oedd ynddynt, *nid oeddynt* wedi gallu gwneyd dim erioed o'r De. Treuliwyd yno un diwrnod cyfan i wrando a'r weinidogion y Gorllewin yn rhoddi adroddiad o gyflwr truenus y bobl mewn ystyr foesol a chrefyddol. Yn wir yr oedd y darluniadau a roddid yn dangos sefyllfa resynol y wlad. Teimlai pawb fod yr adeg wedi dyfod i fyned allan o ddifrif i ddwyn y Cyfandir oll i Grist; a bod gan y Cynulleidfaolwyr genadwriaeth neillduol i'w chyflawni; ac y byddant yn anffyddlawn i'w Blaenor a'u *Pen os esgeulusant* hi. Hyd yma nid oes yr un Eglwys *Gynulleidfaol yn* Washington, Eisteddle y Llywodraeth; ond penderfynir gwneyd y diffyg yna i fynu yn ddioed; a lledu eu hegwyddorion i bob cyfeiriad. Penderfynwyd yn unfrydol i godi trysorfa o 750,000 o ddoleri yn ddioed er codi capeli, a chynal Gweinidogion ac athrawon trwy y wlad; *ac mor wir ag iddynt benderfynu ar y peth, hwy a'i gwnant.* A bydd y ffaith na bu a wnelont â chaethiwed yn sicrhau ffafr iddynt yn ngolwg y Deheuwyr eu hunain.

Yr oedd unoliaeth a chydolygiad mawr yn y Gynhadledd ar bob cwestiwn agos a ddygwyd ger bron. Yr unig beth y bu dadl go frwd arno oedd geiriad y Mynegiad o'u ffydd. Mynai rhai adael rhyw ymadroddion allan. Yr oedd yno un hen frawd croes iawn, o'r enw Adams os wy'n cofio yn iawn. Hen greadur pur annibynol, a thyn iawn am ei bwnc. Gwrthwynebai

ebai yr adran o'r Mynegiad oedd yn cyfeirio at y Pechod gwreiddiol. Dywedai ei fod wedi myfyrio y pwnc am fwy na deugain mlynedd; a honai ei fod yn ei ddeall yn fwy trwyadl na neb o honynt. Chwarddwyd yn iachus wrth glywed yr hen gyfaill yn siarad mor hyderus am dano ei hun. Gobeithio ei fod yn deall athrawiaeth y pechod gwreiddiol yn well nag y deallai ei safiad yn y Gynhadledd; os amgen nid oes ganddo fawr o oleuni i'w roddi ar yr athrawiaeth. Gohirwyd y mater, ac ymddiriedwyd y papur i bwyllgor i'w gywiro a'i ddiwygio erbyn tranoeth; a thranoeth yr oeddym yn myned i lawr gyda'n gilydd mewn *special train* i

PLYMOUTH ROCK,

i weled y fan lle y glaniodd y Pererindadau Rhag. 22, 1620. Dyma ddydd mawr yn wyl. Dydd Iau Meh. 22ain: yr ail ddydd Iau wedi dechreu y Gynhadledd. Yr oedd disgwyliad pryderus gan ganoedd o'r dechreu am gael rhyw gyfle ynglyn a'r cynulliad i fyned i weled creigiau Plymouth, lle y tiriodd y Tadau Pererinol. Cychwynasom yn y boreu tua 9 o'r gloch rhyw 1000 neu 1200 o honom. Yr oedd genym 37 o filldiroedd, ond gan nad oedd genym i aros ar y ffordd cyrhaeddasom yno tuag 11 o'r gloch. Nid yw *Plymouth* ond lle bychan digon llwm a chyffredin; ac ni buasai byth son am dano oni bai mai yma y glaniodd y "MAYFLOWER" gan ddwyn ynddi y llwyth gwerthfawrocaf a diriodd erioed ar lanau America. Bendigedig wyt ti O! *Plymouth*, yn mysg miloedd trefydd a dinasoedd America; oblegid i'th greigiau gael eu sangu gan draed y "dynion nad oedd y byd yn deilwng o honynt; y rhai a ddygasant gyda hwy yr egwyddorion goruchel ar y rhai y mae llywodraeth dy wlad wedi ei sefydlu! Nid oes ond ychydig yn ol o'r graig ar yr hon y safasant—rhyw 6 troedfedd ysgwar; ac yn rhyw 4 troedfedd o drwch. Aethom yn orymdaith dros y graig—gwelsom yr ynys fechan lle y cadwasant eu Sabboth cyntaf—cyrhaeddasom y fynwent lle y gorphwys llwch y rhan fwyaf o honynt—teimlem ein bod yn sangu daear

gysegredig—ac crioed ei ddaeth i'm meddwl y fath syn barchedigaeth i le. Esgynodd y Cadeirydd i ben careg un o'r tadau; ac wedi galw y cyngor i drefn, a dechre bob dydd trwy weddi, ail-ddarllenwyd y Mynegiad a ohir y dydd o'r blaen; ac wedi ychydig o siarad, pasiwyd ef yn unfrydol. Yr oedd rhyw deimlad byw trwy y lle; a wir y mae neillduolrwydd yn y ffaith. Dyma Gynullei wyr America yn 1865 o ran sylwedd yr un ar *Pilgrim* *ers* yn 1620; ac wedi cynal unrhywdeb golygiadau ar byuciau yr Efengyl am 250 o flynyddau, yn unig trwy dd hegwyddorion ar golofn y gwirionedd! Ni fwriadid y My iad yn gyffes i'w barosod ar yr Eglwysi; ond yn unig fel d ganiad o olygiadau presenol, corff yr enwad ar y pynciau gyfrifir yn hanfodol i fywyd Cristionogaeth.

Yr oedd dau beth yn neillduol yn galw am wneyd y fynegiad. Yn gyntaf y mae dosbarth o eglwysi yn New land yn galw eu hunain yn Gynnulleidfaolwyr, pan y m wedi cilio yn hollol oddiwrth egwyddorion eu tadau, ac dirywio i Sosiniaeth noeth. Ond y maent yn parhau i al hunain yn Gynnulleidfaolwyr, oblegid fod yno *feddianau* eu gadael i'r Cynnulleidfaolion, ac er mwyn *cadw y gwad* iadau yn gwisgo enw nad yw mewn un modd yn dynodi neillduolion enwadol Yn Lloegr y maent o herwydd y rheswm yn galw eu hunain yn Presbyteriaid. I'r Presb iaid y gadawyd y meddianau yn Lloegr, ac er mwyn cad meddianau y mae Sosiniaid Lloegr yn galw eu hunai Bresbyteriaid. I'r Cynnulleidfaolwyr y gadawyd y medd yn Lloegr Newydd, ac er cadw y meddianau y mae Sos Lloegr Newydd yn galw eu hunain yn Gynnulleidfao Barned y darllenydd am onestrwydd y fath bobl. O mwyn eu gwahaniaethu oddiwrth yr eglwys Sosinaidd ent gael eu galw yn Gynulleidfaolwyr, barnodd y Gynha yn angenrheidiol i wneyd mynegiad cyhoeddus o'u golyg athrawiaethol, ac fel y gwel pawb hwy yw gwir olyn Tadau Pererinol.

Heblaw hyny, gan eu bod yn bwriadu myned i dir newydd —i ranau o'r wlad lle nad oedd eu golygiadau yn adnabyddus, bernid fod yn ddigon priodol i wneyd mynegiad o'u golygiadau yn gystal ag o'u trefn eglwysig, fel y gwelai pawb ar unwaith beth oedd eu neillduolrwydd, a pha beth oedd yn eu gwahaniaethu oddiwrth y pleidiau oedd eisioes yn eu plith. O herwydd y ddau reswm yna yn fwyaf neillduol y barnodd y cyngor yn ddoeth wneyd mynegiad byr o'u golygiadau athrawiaethol.

Nid oes ond un peth arall ynglyn a'r Gynhadledd ag yr wyf yn teimlo y dylwn ddyweyd gair arno, sef

Y DIRPRWRWYR TRAMOROL.

Yr oedd yno genhadon o Canada—o Ffrainc—o Loegr—ac o Gymru. Cyflwynwyd Dr. Vaughan a Dr. Raleigh y dirprwywyr oddiwrth Undeb Cynnulleidfaol Lloegr a Chymru gan Dr. Bacon. Cyflwynwyd y ddirprwyaeth Gymreig gan Dr. Thompson o New York; yr hwn hefyd a ddarllenodd benderfyniadau Cymanfa Morganwg, wedi eu harwyddo gan 50 o weinidogion, y rhai a'u hawdurdodai i'w cynrychioli. Darllenodd hefyd yr anerchiad y cytunwyd arno gan nifer o gyfeillion yn Liverpool y boreu cyn ein hymadawiad; ac y mae yn degwch a'n cyfeillion Cymreig i ni ddyweyd na dderbyniodd un papur a ddarllenwyd yn y Cyngor, uwch cymeradwyaeth nag a dderbyniodd y papurau hyny; ac o galon yr wyf yn diolch i Dr. Thompson, darllenodd hwy fel un am wneyd y goreu o honynt. Yr oedd yn anmhosibl i ni gael derbyniad mwy croesawgar nag a gawsom; ac yn wir yr oeddwn yn barod i ofyn fel Dafydd, "Pwy wyf fi, a pha beth yw fy nhŷ i?" i gael y fath anrhydedd. Buaswn i a'm brodyr oedd yno yn teimlo ei fod yn ormod pe buasai yn cael ei wneyd i ni yn bersonol; ond gwyddem mai i'n henwad ni, ac i'n cenedl ni y rhoddid yr anrhydedd. Ac yr ydym yn gobeithio na wnaethom ddim yno a'r air na gweithred i beri i neb o honynt feddwl yn îs am y Cymry. Yr oedd teimlad

dwfn a dwys trwy y Gynhadledd oll ar gwestiwn y rhyfel. Bywiogid pob calon pa bryd bynag y gwneid unrhyw gyfeiriad ato. Yr oeddynt o'r dechreuad yn edrych ar y rhyfel yn bwnc eu bywyd gwladwriaethol, a thynged achos rhyddid yn troi arni, o ganlyniad teimlent barch ac anwyldeb neillduol at bawb a ddangosodd gydymdeimlad â hwy yn nydd eu cyfyngder. Ar y mater hwnw yr oeddwn yn teimlo yn hollol galonog i ymddangos yn y Gynhadledd. Yr oedd fy nghydymdeimlad llwyraf wedi bod ag achos y Gogledd o'r cychwyniad. Yr oedd yr *Annibynwr* (sydd yn awr wedi uno a'r *Dysgedydd*) dan fy ngolygiaeth pan y torodd y gwrthryfel allan; ac fel y canlyn yr ysgrifenais ar y pryd:

"Mae America yn awr mewn sefyllfa ddifrifol. Mae elfenau niweidiol wedi bod yn hir ymweithio yn ddirgelaidd yn y wlad hono, fel yr oedd yn anmhosibl i bethau barhau yn hir heb i ddrwg dori allan yn rhywle. Yr oedd amgylchiadau gwladwriaethol yn syrthio i ddwylaw anghymwys lawer o honynt, ac nid oes dim mor sicr o ddinystrio gwlad ag arweinwyr egwein. Ond y ddwy elfen fawr oedd yn gwrthweithio oedd rhyddid a chaethiwed—iawnder a gormes—*tegwch* a thrais. Yr oedd y De yn gorffoliad o'r naill, a'r *Gogledd o'r* llall, a'r Gydgynghorfa mewn canlyniad fel tŷ wedi ymranu yn ei erbyn ei hun. Enciliodd Carolina Ddeheuol o'r Undeb ar y 19eg o Ragfyr trwy bleidlais unfrydol 169 o aelodau y corff oedd wedi eu galw ynghyd i ystyried y mater. Creodd y penderfyniad gyffro mawr trwy y wlad oll, a derbyniwyd ef gyda gorfoledd mewn amryw o'r dinasoedd Deheuol. Mae pethau yn parhau mewn agwedd pur ansicr. Nid yw eto yn wybyddus pa lwybr a gymer y talaethau eraill, na pha fodd yr ymddyga y Cyngor tuag atynt. Mae rhai yn meddwl fod cydfwriad blaenorol rhwng y Talaethau i ymneillduo, nid yn gymaint hwyrach gydag amcan i ffurfio Undeb newydd ar eu penau eu hunain; ond disgwyliant i'r Talaethau Gogleddol ddyfod i ryw gytundeb, ac y lliniarir eu hatgasrwydd at y gaethfasnach, *yr hon ydyw gwraidd y drwg*. Mae yn an-

mhosibl feddyliem gyfanu y rhwyg heb i'r Talaethau rhyddion aberthu eu hegwyddorion. Os ydyw y Talaethau caethion i fod yn yr Undeb, rhaid gadael y gaethfasnach yn gwestiwn hollol agored. Ond y mae y Gogledd yn ymddangos mor benderfynol fel y byddai yn well ganddynt ryfel cartrefol na gadael y gaethfasnach i reoli yr Undeb."—*Annibynwr*, *Chwef.* 1861. *Tu dal* 48.

Eto. "Y mae pethau yn ymddangos yn lled derfysglyd trwy yr Unol Dalaethau Americanaidd. Y mae y Llywydd newydd, Mr. Lincoln, wedi ymgymeryd a'i swydd bwysfawr gyda y rhwysg arferol. Cafodd dderbyniad serchog gan y werin yn mhob man pan ar ei daith tua Washington, a chyfarfyddwyd ef yn y modd mwyaf cynes gan aelodau y Gynghorfa. Yr oedd y dyddordeb a'r arwyddion o gydymdeimlad yn fwy eglur i'w gweled ar y 4ydd o Fawrth, sef diwrnod ei ymgymeriad a'r swydd, nag eiddo neb o'i flaenafiaid. Pa fodd y try pethau allan mae yn anhawdd dychymygu. Y mae Undeb Deheuol eisioes wedi ei ffurfio, a rhyw chwe' Talaeth enciliedig wedi ethol Llywydd ac Is-lywydd, dros dymor. Amser yn unig a esbonia y canlyniadau. Gobeithiwn y bydd i'r Llywydd newydd (Lincoln) sefyll yn sefydlog at ei egwyddorion; ac na wneir unrhyw *compromise* â chaethfeddianwyr y De. Hyderwn y bydd ei lywodraeth yn cael ei nodweddu â doethineb a chyfiawnder, ac y bydd iddo ymddiriedaeth y rhai oll a garant rinwedd a rhyddid."—*Annibynwr*, *Ebrill*, 1861. *Tu dal* 96.

Fel yna yr ysgrifenais ar doriad y gwrthryfel allan yn nechreu y flwyddyn 1861, ac o'r dydd hwnw i'r dydd hwn ni welais achos newid fy ngolygiadau. Ac yn yr adeg dywyllaf fu ar y Gogledd, ni siglwyd fy ffydd yn uniondeb eu hachos, na'm hyder y dygent farn i fuddugoliaeth. Teimlwn mai rhyfel dros gyfiawnder a rhyddid ydoedd, ac mai "eiddo yr Arglwydd yw y rhyfel," yn awr fel cynt, pan y byddo felly. Gwyddwn fod corff gweinidogion yr Annibynwyr beth bynag yn Nghymru yn teimlo yn gyffelyb. Yr oedd eithriadau mae

yn wir, ond eithriadau oeddynt, a dibwys gan mwyaf. Yr oedd teimlad cyffredin yn Boston fod y Cymry, a'u cymeryd ar y cyfan, yn "iach yn y ffydd" ar gwestiwn y rhyfel; a dyna un rheswm paham y cafodd y dyeithriaid o Gymru y fath groesawiad serchog yno.

Ni bu y cynrychiolwyr oddiwrth Undeb Cynulleidfaol Lloegr a Chymru mor ffodus. Yr oedd syniad cyffredin yn America nad oedd Lloegr wedi rhoddi iddynt yn nydd eu cyfyngder y gefnogaeth a haeddent—nad oedd yr Undeb Cynnulleidfaol wedi dangos y cydymdeimlad a ddisgwylid gan Gynnulleidfaolwyr America, ac yr oedd un o'r Dirprwywyr (Dr. Vaughan) yn mlynyddau cyntaf y rhyfel wedi ysgrifenu rhyw bethau yn y *British Quarterly* nad ystyrid yn ffafriol i achos y Gogledd. Oblegid hyn nid oedd yr hen Ddoctor yn cael derbyniad llawn mor frwdfrydig ar y dechreu ag a ddisgwylid i un o'i oed, ei ddysgeidiaeth, a'i ddylanwad yn yr enwad ei gael. Wedi cyflwyno yr holl ddyeithriaid i'r Gynhadledd, ac iddynt hwythau roddi eu cyfarchiadau, cynygiodd Henry Ward Beecher fod Pwyllgor i gael ei nodi i baratoi atebiad i'r cenadon tramor, fod y mater yn un rhy bwysig i gael *ei adael* i areithiau a wneid ar gynhyrfiad y foment—*fod anrhydedd y* Gynhadledd ac anrhydedd y dyeithriaid yn galw am iddo gael ei eirio yn ofalus.

Wedi hir ddisgwyl o ddydd Gwener hyd ddydd Mercher, gyda thipyn o bryder hefyd, yn enwedig ar ran yr ymwelwyr o Loegr, oblegid fod y si wedi myned allan fod yr Undeb Cynnulleidfaol, a Dr. Vaughan yn enwedig, i gael rhai *cuts* go lym.

Dacw yr hen Dr. Bacon yn esgyn i'r pwlpud boreu Mercher yn nghanol y distawrwydd mwyaf, ac yn darllen un o'r papurau mwyaf grymus a wrandewais erioed. Talodd y deyrnged uchaf i'r Cymry yn America ac yn yr Hen Wlad. Ond gwnaed rhai cyfeiriadau miniog iawn at yr Undeb Cynnulleidfaol, a'r siomedigaeth fawr a gawsant nad oedd cydymdeimlad Annibynwyr Lloegr yn llwyrach gyda hwy yn nydd

eu profedigaeth. Nid oedd dim yn yr atebiad nad oeddwn yn teimlo ei fod yn hollol gywir; ac er hwyrach y tybiai rhai y buasai yn well aros llai ar y peth, a pheidio gwneyd cymaint o sylw o oerfelgarwch Lloegr yn eu hachos; eto y mae pobl yn teimlo yn iachach wedi cael siarad eu meddyliau allan. Ac yr oedd y papur hwn yn gwneyd hyny yn gryf, ac eto yn hollol foneddigaidd a didramgwydd. Yn ddioed wele un Mr. Quint yn codi i fyny, un a fu yn Gapelwr yn y fyddin—dyn galluog iawn hefyd. Darllenodd bapur campus yno mewn atebiad i ryw gais afresymol oddiwrth y Sosiniaid. Ond y tro hwn bu yn anffortunus ac yn annoeth iawn. Cynygiodd fod yr anerchiad a ddarllenwyd yn cael ei fabwysiadu; ond gwnaeth hyny mewn un o'r areithiau bryntaf a mwyaf bustlaidd a wrandewais braidd un amser; ac yr oedd y cyfeiriadau a wnaeth at yr hyn a ddywedwyd gan Dr. Vaughan flynyddoedd yn ol, a dyweyd y lleiaf yn angharedig iawn at un o oed, a safiad y Dr., a hyny yn mhell o'i wlad; ac yn enwedig felly pan yr oedd y cynygiad i barotoi anerchiad ysgrifenedig wedi ei amcanu yn uniongyrchol er gochel pob peth o'r fath. Ond yr oedd yn dda genyf weled nad oedd teimlad y cyfarfod mewn un modd yn rhedeg gydag ef. Nid am nad oedd yno bawb yn teimlo mor gryf ag yntau, ond am fod amser i dewi ac amser i lefaru. Yr oedd Dr. Vaughan yn gwingo yn ei groen, a'i wyneb yn amliwio tra yr oedd y Capelwr yn llefaru; a'r funud y dybenodd dacw fe i fynu fel saeth i'r esgynlawr, ond yn rhagluniaethol cafodd Dr. Thompson y blaen arno; a dywedodd ei fod yn cefnogi cynygiad ei gyfaill Mr. Quint, ond mewn ysbryd ac oddiar resymau gwahanol. Tywalltodd olew ar y dón nes mae y cwbl yn ymlonyddu. Gwnaeth yr esgusawd goreu am wn i a allesid wneyd dros hwyrfrydigrwydd Annibynwyr Lloegr i ddeall sefyllfa pethau yn America; ac y mae cymedroledd ei olygiadau yn enill cymeradwyaeth y cyfarfod oll. Erbyn hyn y mae Dr. Vaughan wedi oeri tipyn, ac mae ei wyneb wedi dyfod i'w liw naturiol, mae yn cyfodi i siarad ac yn cael ei dderbyn gyda chymeradwyaeth. Mae yn

gwneyd amddiffyniad teg i'r Undeb Cynnulleidfaol; mai eu rheol o'r dechreuad ydoedd cadw cwestiynau dadleugar allan; ac oni buasai hyny y buasai yr Undeb er's blynyddau wedi myned yn chwilfriw; ond eu bod wedi datgan eu meddyliau yn glir yn adeg y rhyfel ar bwnc caethiwed. Dywedodd air drosto ei hun, ni cheisiodd wneyd amddiffyniad, yn ddim pellach na dyweyd beth bynag a ysgrifenodd, iddo ei wneyd yn gwbl onest yn ol y goleuni oedd ganddo ar y pryd; ac addefodd yn ddigel fod ei olygiadau er hyny wedi myned dan radd o gyfnewidiad; ac yn fwy felly er pan y daeth i'w plith, a deall pethau yn fanylach. A dywedai mai ei unig ddymuniad ydoedd cael dychwelyd i'w wlad a'r argraff ar eu meddwl hwy oll yno ei fod yn ddyn gonest. Derbyniodd yr arwyddion uchaf o gymeradwyaeth, ac y mae'n hawdd deall fod calon pawb yn ei gofleidio. Ond y mae y llanw eto heb gyrhaedd ei fan uchaf—y mae y dorf oll ag un fonllef yn galw am Beecher, er ei bod yn awr i ohirio; ac wele Henry Ward ar ei draed, a'i galon yn llosgi o'i fewn, a'i eiriau fel ufel poeth. Cyfeiriai at ei ymweliad a Lloegr—yr argraff gyntaf a dderbyniodd pan y daeth yma ei bod wedi ei "rhoddi i fynu i *amryfusedd* cadarn fel y credont gelwydd;" ond wedi i'w *waed oeri* a chael amser i wybod yn well, gwelodd fod dynion goreu Lloegr yn y gwraidd a'u calon gydag America. Priodolai eu hoerfelgarwch i'w hanwybodaeth, ond beiai hwy am eu hanwybodaeth gan fod ganddynt ddigon o fanteision i wybod. Ond dywedai nad oedd wiw bellach edrych yn ol a thrin ein gilydd; ond fod rhaid iddynt edrych yn mlaen a byw yn gytun. Ar hyny ymaflai yn llaw Dr. Vaughan ag un llaw, ac yn llaw Dr. Raleigh a'r llall, a daliai ei afael ynddynt gan dywallt ffrydiau llifeiriol o hyawdledd tanllyd—tynghedai y ddwy wlad i heddwch ddyddiau y ddaear—y mae llifeiriant ei ddoniau yn ysgubo y cwbl o'i flaen, ni welais erioed y fath olygfa. Mae y dorf fawr ar eu traed, rhai yn wylo a rhai yn chwerthin—chwifiai y boneddigesau yn yr oriel eu napcynau gwynion, try y dynion eu hetiau o amgylch eu penau; mae yr hen

Vaughan a'i wyneb wedi ei wlychu a'i ddagrau, a'r dorf yn ferw gwyllt drwyddi, a Beecher yn parhau i arllwys yn ddiatal. Ond, mewn eiliad tynai ei ddwylaw yn rhydd o ddwylaw y ddau Ddoctor, ciliai yn ol ar y *platform*, ac edrychai mor ddifrifol ag angel. Ust ! y mae y gynulleidfa oll wedi myned mor ddistaw a'r bedd ar darawiad amrant, deil pob un ei anadl heb wybod beth y mae yn myned i'w ddywedyd. "Ond," meddai, "nid ydym eto wedi darfod a chwi, y mae genym eto gyfrif i'w *settlo* a Lloegr, mae genym eto frwydr i'w hymladd a chwi." Edrychai yn myw ein llygaid, ac ychwanegai, "Rhaid i chwi sefyll eich tir, nid gwiw i chwi gilio yn ol. Y frwydr ydyw, pa un wna fwyaf er efengyleiddio y byd." Bobl anwyl ! dyna daranau o gymeradwyaeth mewn eiliad; ac aeth yn *Hwre* fawr trwy y lle "Gwnawn fwy na chwi," meddai, "am bob dolar a gesglwch chwi, fe gasglwn ni ddwy ; am bob cenadwr a anfonwch chwi allan, anfonwn ni ddau ; ac os na edrychwch chwi ati ni yrwn genadon drosodd i efengyleiddio Lloegr." Ysgubodd y cwbl ymaith o'i flaen—golchodd bob drwg deimlad i ffwrdd yn llwyr, ac mae pawb yn teimlo fod Annibynwyr Lloegr ac Annibynwyr America eto yn un, ac oblegid eu bod yn deall eu gilydd yn well nag erioed, i fod yn un byth. Ni welais erioed siaradwr yn meddu y fath allu i wallgofi cynulleidfa. Yr oeddwn yn teimlo ar y pryd ein bod oll at ei ewyllys ; ac y gallasai ar godiad bys arwain pob dyn byw yn y lle allan ; ac mai prin y buasai yn dyfod i feddwl neb i ofyn, pa le y mae yn myned a ni ; oddigerth yn wir y buasai yr hen Ddr. Bacon dan gosi ei gern, a chrychu ei dalcen, a chyrlio ei wefus, yn gofyn yn sychgras, "*Where is Henry Ward going to take us ?*" Meistr y gynulleidfa ydyw mewn gwirionedd.

Cyfarfu y dyeithriaid o Gymru a Lloegr y noson hono a nifer o brif ddynion y Gynhadledd mewn *social party* yn nhŷ Mr. Tobey, ac yr oedd pawb mor rydd yno a phlant ar yr aelwyd. Ymadewais o Boston nos Iau. Meh. 22ain, wedi treulio yno naw diwrnod, mor hapus a dim a dreuliais yn fy

mywyd. Yr oedd y pethau a welais, ac a glywais, ac a ddarllenais yno yn llawn ddigon o dâl i mi am groesi y môr i America. Bellach yr wyf yn troi fy ngwyneb rhyngwyf a'r

SEFYDLIADAU CYMREIG,

ac yr wyf yn ofni fy mod wedi ymdroi yn ormodol cyn dyfod atynt, ac oblegid hyny y bydd raid i mi frysio yn gyflym drwyddynt.

Boreu Gwener, Meh. 23ain, yr oeddym wedi cyrhaedd dinas Utica. Yr oedd y cyfeillion yno wedi trefnu cyfarfod cyhoeddus i fod nos Wener, yn nghapel y Methodistiaid i'n croesawu. Gan mai hwn oedd y cyfarfod Cymreig cyntaf i ni gael yr oedd dyddordeb mawr ynddo. Derbyniwyd ni gyda'r gwresawgrwydd mwyaf. Llywyddai y Parch. Wm. Rowlands, D. D. Da oedd genyf ei weled a'i glywed, yr oedd ei enw yn adnabyddus iawn i mi, er nad oeddwn wedi gweled ei wyneb. Yr oedd y Parchedigion G. Griffiths a J. Griffiths, gweinidogion Annibynol Utica yno. J. D. Jones, Capelwr yn y fyddin, E. Jones, York Mills, Annibynwr, H. Humphreys, Wesleyad, a rhai brodyr eraill nas gallaf yn awr gofio. *Areithiodd* y cyfeillion oll yn fywiog, a gwnaeth Mr. C. R. *Jones, y Gohebydd*, a minau, ein rhan goreu gallem. Y Gohebydd oedd y *lion* y noson hono ; yr oedd Mr. C. R. J. a minau yn cael cyfle y Sabboth. Nid gwiw i mi ddechreu enwi pawb o'r hen gyfeillion a gyfarfum onide chwydda yr attodiad yn fwy na'r llyfr.

Meh. 24ain, nos Sadwrn, pregethodd Mr. C. R. Jones a minau yn Deerfield, capel y Parch. W. D. Williams. Daeth yno gynulleidfa dda iawn ar fyr rybudd—yno y pregethasom gyntaf yn America—mae yno gapel tlws iawn, a mynwent gyfleus ger llaw. Cefais Mr. W. fel pawb o'r brodyr yn hynod garedig.

Meh. 25ain, Sabboth, yr oeddym wedi meddwl pregethu yn y ddau gapel Annibynol, ond er cyfleustra i'r holl enwadau aethom i gapel y Methodistiaid, am mai hwn oedd yr ëangaf;

a rhoddodd yr holl gynulleidfaoedd eu haddoliad i fynu y rhan fwyaf o'r dydd. Yr oedd yno gynulleidfa fawr iawn, nid oedd genyf un dychymyg cyn ei gweled y gallesid cael cynifer o Gymry ynghyd yn America. Yr oedd yn ddiwrnod gwresog iawn, yn wir cefais lawer o ddyddiau angerddol o boeth. Pregethais yno am 10, ac 1, a 7, ac areithiais ar Ddirwest am 5 i gynulleidfa fawr a ddaeth ynghyd. Rhag na chaf gyfle i ddyweyd eto, dywedaf yn y fan yma i mi gael fy moddhau yn fawr yn *arferion sobr* pobl America. Ni welais ddim meddwdod ar y bwrdd yn un man lle y bum o'r diwrnod y glaniais yn New York hyd y diwrnod y gadewais New York. Cyfrifaf hyn yn anrhydedd i'r wlad.

Meh. 26ain, Llun, aeth Mr. C. R. J. a minau i fyny yn foreu iawn i Steuben, rhyw 20 milldir o Utica. Yma y gwelais y golygfeydd tebycaf i'r dychymyg oedd genyf am America. Hyfryd oedd teithio y boreu hwnw. Sefydliad Cymreig mawr sydd o Utica hyd Remsen, ac am rai milldiroedd yn uwch i fynu, un o'r sefydliadau hynaf a phwysicaf yn y wlad. Mae yno bobl o bob rhan o Gymry, ond Gogleddwyr gan mwyaf, a Sir Gaernarfon lawer iawn. Mae dullwedd pur Gymroaidd ar y wlad, a cheir lluaws o bobl wedi eu geni a'u magu yn y wlad yn siarad Cymraeg mor groyw, ag a geir yn nghanol sir Feirionydd. Mae y drydedd a'r bedwaredd genhedlaeth yno yn Seisnigeiddio fel mai colli tir a wna yr hen iaith o ran y rhai a fegir yno.

Cyrhaeddasom dŷ Dr. Everett tuag 11eg o'r gloch, a chawsom ef a'i deulu oll yn iach, ac yn prysur barotoi at anfon y *Cenhadwr* ymaith, gan ei bod yn nesau at ddiwedd y mis. Yr oedd yn dda iawn genyf weled y Dr. yn edrych mor dda. Yr oedd mwy nag 28 mlynedd er y gwelswn ef o'r blaen pan oedd ar ymweliad a Chymru; ac er hyny yr oedd tipyn o gyfnewidiad ynddo. Mae mor hynaws a thirion ag un dyn a welais erioed. Nis gallaswn lai na meddwl am y Parch. E. Griffith, Abertawy, wrth ei weled, mae tebygolrwydd mawr rhyngddynt. Am 2 o'r gloch yr oeddym i bregethu yn Steu-

ben, capel Dr. Everett. Yr oedd yn ddiwrnod gwlawog iawn, er hyny daeth cynnulleidfa luosog yn nghyd o wrandawyr tud a bywiog. Wrth ddrws y capel pan yn nesau ato gwelwn wr corfforol golygus; a deallais yn union ei fod yn rhyw wahanol i'r cyffredin. Dacw Morris Roberts yn wir fy nghyfaill. Fel yna yr adnabyddir ef. Nid oes eisiau Mr. na'r Parch. arno, er ei fod yn bob un o'r ddau, Morris Roberts dyna ddigon. Erbyn i ni ddisgyn o'r cerbyd y mae yn ysgwyd llaw yn galonog. Nid estyn rhyw dri bys yn ei, ond llaw fawr gynes, a gwasgu yn dýn. Yr oedd yno weinidog neu ddau perthynol i'r Methodistiaid, Mr. Thos. Evans, Ffloyd, a rhyw gyfaill arall nas gallaf yn awr gofio ei enw. Llonwyd fi yn fawr weled yr hen frawd Thos. Jones, Pantyglas, (gynt) yn dyfod i mewn i gapel Steuben, a golwg mor dda arno. Y noson hono yr oeddym yn pregethu yn Remsen, yn nghapel Mr. M. Roberts. Yr oedd yno dorf fawr, yn gwrando mor fywiog a thanllyd a dim a fu yn Nghymru yn ngwres y diwygiadau. Treuliasom y noson hono dan gronglwyd y Parch. M. Roberts, a chawsom bob croesaw ganddo ef a'i hawddgar ferch.

Meh. 27ain, dydd Mawrth, yr oedd cyfarfod chwarterol yn dechreu yn Bethania, Marcy, lle y mae y Parch. J. Griffiths yn gweinidogaethu. Wrth fyned tuag yno cymerasom dipyn o gwmpas er mwyn gweled y "*Trenton Falls*," ac yn wir y mae yr olygfa yn wir swynol. Nid oes dim o arucheledd y Niagara yn perthyn iddo, ond y mae yn rhoddi mwy o fwynhad. Y prydferth a'r swynol sydd yno yn fwy na'r mawreddog a'r aruchel. Cyrhaeddasom Bethania yn brydlawn erbyn dechreu y Gynhadledd am 2 o'r gloch. Yr oedd yno nifer luosog o weinidogion a diaconiaid wedi dyfod o wahanol eglwysi swydd Oneida. Llywyddwyd gan y Parch. Morris Roberts, a chaniatawyd i'r Gohebydd, a C. R. J. a minau gael eistedd a chymeryd rhan yn y gweithrediadau. Yr oedd hen gyfaill y Parch. Thomas Jenkins, gweinidog gyda'r Methodistiaid yn bresenol, a da iawn oedd genyf ei weled. Y

:dd wedi bod gyda mi y Sadwrn cyn hyny yn Utica a Deer-
eld. Yr oeddym yn bur adnabyddus o'n gilydd flynyddoedd
yn ol pan oeddwn i yn Bwlchnewydd, sir Gaerfyrddin, ac
yntau yn byw yn Alltygog gerllaw Abergwyli. Cynaliasom
lawer cyfarfod dirwestol yn nghyd. Yr oedd yntau hefyd
gyda ni yn y Gynhadledd. Mae yr enwadau yn llawer nês at
eu gilydd yn America nag yn Nghymru, er fod rhagfarn yma
yn llawer llai nag y gwelwyd ef. Treuliwyd y Gynhadledd
gan mwyaf i wrando ar y cyfeillion Davies Waterville, a Grif-
fiths Utica, yn adrodd hanes Cynhadledd Boston, ac i wrando
ar y dyeithriaid o Gymru yn rhoddi tipyn o hanes crefydd yn
'r hen wlad. Cafwyd yno gyfarfod hyfryd iawn. Ymddang-
osai yr holl frodyr sanctaidd i mi fel rhai a'u calonau yn y
gwaith. Pregethais yno y noson hono gyda Mr. C. R. Jones,
a boreu dranoeth gyda Mr. Morris Roberts. Efe oedd yr
unig un o weinidogion Cymreig America y cefais y fraint o'i
wrando. Eithaf *specimen* o hen bregethwyr Cymru 40 mlyn-
edd yn ol. Nid oes dim o *stiffness* llawer o bregethwyr y
dyddiau hyn yn agos ato. Yn wir beth sydd yn fwy poenus
na gweled dyn yn y pwlpud fel wedi ei bobi mewn *starch.*
Aethum o Bethania erbyn 2 o'r gloch i Rome, gyda'r Parch.
D. Pritchard, gweinidog y lle, a rhyw gyfaill arall, ac er fod
genym daith fawr cyrhaeddasom mewn pryd. Daeth cynnull-
eidfa lliosog ynghyd ar yr awr hono o'r dydd—yr oedd yno
amryw wedi dyfod o Utica 20 milldir o ffordd—yr oedd y
Parch. T. Evans, Floyd, yno a welswn ddydd Llun yn Steu-
ben, a'r Parch. T. Williams, gweinidog parchus iawn gyda'r
Methodistiaid yn Rome. Mor ddymunol oedd gweled llwyth-
au Israel yn nesau at eu gilydd. Wedi pregethu yno cych-
wynais rhyngof a

NIAGARA FALLS,

ar fy ffordd i'r Gorllewin. Cyrhaeddais y *Suspension Bridge*
ganol nos, nos Fercher. Yr oeddwn yn clywed trwst y
rhaiadr o bell yn nistawrwydd y nos. Gorphwysais yn y

*Mont Eagle Hotel* am enyd i aros i'r haul godi. Croesais y bont pan oedd yn dechreu goleuo tua haner awr wedi 4; clywn swn disgyniad y rhaiadr yn dyfod gryfach gryfach, dyna yr esboniad goreu a gefais erioed ar y fath eiriau "thwrf dyfroedd lawer," "swn llawer o ddyfroedd." Fel oeddwn yn nesau yn mlaen gwelwn darth yn dyrchafu i fyny oddiwrth ddisgyniad y dwfr. Mae yr olygfa yn dyfod fwy fwy i'r golwg, ac o'r diwedd dyma fi wyneb yn wyneb a'r olygfa fwyaf mawreddog mewn natur. Yr oedd y tarth teneu a esgynai yn ffurfio math o orchudd dros wyneb y rhaiadr, onide yn wir prin y gallaswn ddal gogoniant yr olygfa. Safais yn synedig ac edrychais ar "y weledigaeth fawr hon." Disgynais i lawr y grisiau i edrych i fynu arni—amgylchais i'r ochr arall er mwyn ei gweled o bob cyfeiriad—ceisiais ffurfio ryw debygolrwydd iddi yn fy meddwl er mwyn gallu rhoddi darluniad o honi; ond methais. Mae yn glir yn fy meddwl, ond nis gallaf ei darlunio. Mae yn un o'r pethau hyny ag y mae yn rhaid eu gweled i ffurfio dirnadaeth am danynt. Ni theimlais erioed yn haws addoli na'r boreu hwnw. Daeth pob ymadrodd mawreddog a wyddwn am Dduw *yn llif i'm cof.* Hwyliais i ddychwelyd, ond nid oeddwn yn *teimlo y gallaswn* droi cefn ar y fath olygfa, am hyny cerddais am llygaid yn ol nes y collais yr olwg arni yn y tarth a'i gorchuddiai. Bu yr olygfa o flaen fy llygaid am ddyddiau—byddwn yn ei gweled trwy fy nghwsg yn y nos—ac o addoli rhywbeth heblaw y gwir a'r bywiol Dduw y Niagara oedd y peth y buasai yn brofedigaeth i mi syrthio ger ei fron a'i addoli. Ond beth yw y Niagara serch hyny, at yr Anfeidrol ei hunan sydd yn "casglu dyfroedd y môr yn bentwr"—yn eu "cynwys yn ngheudod eu law"—ac nad yw yr holl ddyfroedd a grewyd erioed ger ei fron ef ond megis "defnyn o gelwrn!" "Yr Arglwydd dy Dduw a addoli, ac efe yn unig a wasanaethi." Byddai cynyg disgrifio yr olygfa yn sicr o droi allan yn fethiant. Yr oedd yr hybarch T. Richard, Abergwaun, yn hel ysgol unwaith, oedd yn meddwl cryn lawer o honi ei hun, a

ynodd, "Pa fath gyrff a gaiff y saint yn yr adgyfodiad?" ›yrff nefol" meddai un yno yn fostfawr iawn. Ysgydwai r. Richard ei ben. "Cyrff Ysbrydol," meddai rhyw un all, gan dybied ei fod wedi cael allan y dirgelwch. "Nid rf damaid callach" meddai yr holwr. "Cyrff fel corff Iesu rist," meddai rhyw-drydydd gan dybied ei fod wedi taro yr el ar ei phen. "Wel meddai Mr. R. yn bur ddigynwrf, ni gadawn hi yn y fan yna, ac awn ymlaen." Ar y diwedd ma flaenoriaid yr ysgol fel haid o wenyn ato i dŷ y capel, n gwyno os nad oeddynt hwy yn ateb yn iawn y dylasai efe cynorthwyo. "Dyn a'ch helpo druain," ebe Mr. R. "nid f yn rhyfeddu dim i chwi fethu ateb; y peth wyf yn ei ry-du ydyw i chwi fod yn ddigon ffol i gynyg." Felly finau l wyf yn ddigon galluog i ddisgrifio rhaiadr y Niagara, ond wyf yn ddigon call i beidio cynyg. Yn unig gall y darllen-d ffurfio rhyw ddirnadaeth am aruthredd yr olygfa pan ddy-dir, fod y dyfroedd y mae y Niagara yn ollyngfa iddynt yn frio 150,000 o filldiroedd ysgwar—fod yno *sheet* fawr an-th o ddwfr ganoedd o latheni o led, ac yn rhyw ugain edfedd o drwch, yn disgyn i ddyfnder ofnadwy, gan ar-ys 90,000,000 o dunelli o ddwfr bob awr trwy yr oesau. ›wn gorucheledd ac ofnadwyaeth ni welais ddim erioed i'w stadlu a'r Niagara. Gwelais raiadrau mawrion Cymru os i gyd, ond nid ydynt yn ymyl hwn ond pistilloedd mein-i. Daeth darluniad grymus y prif fardd Dewi Wyn i'm f ar y llanerch,

"Uchel gadr, rhaiadr, dwr ewyn—hydrwyllt
Edrych arno yn disgyn;
Crochwaedd y rhedlif crychwyn
Synu, pensyfrdanu, dyn."

Ond teimlwn ar y pryd ei fod yn eiddil a dinerth yn ymyl rhaiadr ei hun. Iawn y dywedodd rhywun fod un Niagara ddigon i Gyfandir America, os nad yw yn ddigon i'r holl fyd. 'edi treulio rhai oriau i syllu ar fawreddigrwydd yr olygfa; edrych ar gampwaith celfyddyd yn y bont grogedig dros

yno boreu Gwener, ac heb ymdroi dim i edryc
oedd yn rhaid brysio i'r *station* arall er cael
Racine, lle y cyrhaeddais rhwng 12 ac 1 ddydd
31, wedi teithio heb fawr gorphwysdra er 5
nhawn dydd Mercher. Yn *station* Racine p
nghyfarfod ond y Parch. C. D. Jones, a dau neu
eraill, oll yn llawen yn fy nerbyn ; ac ebe Mr. Jo
wedi eich cyhoeddi i bregethu'yn ein capel ni am
yn nghapel y Methodistiaid heno." Druan o hon
io tuag 800 o filldiroedd bron yn ddibaid ; a p
gael myned am deirawr i'r gwely i orphwyso, yn
myned i'r capel i bregethu. Ond trwy drugare
ethu erioed yn faich arnaf, ac nid oedd y diwr
poethed yr hin. Cefais gynulleidfaoedd rhagor
yr hwyr. Da oedd genyf weled fy hen *gyfaill* 1
edrych mor dda ; ac yn teimlo mor *fywiog*.
Parch. W. Hughes, gweinidog y Methodistiaid,
felly ni chefais gyfle i'w weled. Yr oedd y pry
dyoddef oddiwrth ddolur poenus ; da oedd gen
glywed ei fod yn gwella. Yr oeddwn yn llety
Williams, masnachwr yn y lle, a bu ef a'i deulu
edig iawn—Cyfarfyddais yma yn ddamweiniol a
Jones, hen weinidog penwyn, genedigol o Kend

Dydd Sadwrn Gorph. 1, aethum trwy Milwaukee, ac ymlaen i Cambria Wis. Yn yr orsaf pwy oedd yn fy nghyfarfod ond y Parch. Griffith Jones; a hen gyfaill i mi, fu am flynyddau yn Birkenhead, Mr. G. Jones. Da oedd genyf ei weled ef ai deulu mor hapus yr olwg arnynt. Aethum y noson hono i dŷ Mr. Jones, y gweinidog, a phwy oedd yno yn ein disgwyl ond y Parch. Rees Evans, Gweinidog i'r Methodistiaid, a Mr. Owen Edwards, fu am flynyddau yn aelod gweithgar ac yn ddiacon gofalus yn Eglwys Salem, Liverpool, dan ofal yr enwog William Rees. Yr oedd yn dda iawn genyf weled fy hen gyfaill a'i briod a'i blant; a chael treulio y nos dranoeth dan eu cronglwyd. Nid oeddwn wedi gweled Mr. Evans o'r blaen, ond cefais hyfrydwch mawr yn ei gymdeithas. Daeth yr holl gynulleidfaoedd o bob enwad trwy y wlad o gylch at eu gilydd y Sabboth i Gapel y Methodistiaid. Pregethais yno dair gwaith; ac ar ol yr odfa y prydnhawn traddodais araeth ar agwedd crefydd yn Nghymru. Cefais y cyfeillion caredig yma yn nodedig o siriol. Ni welais fwy o garedigrwydd yn un man lle y bum. Ac yma y cefais ryw syniad am eangder anferthol y wlad, a'r adnoddau cyfoethog sydd ynddi yn rhoddi cyfle i bob dyn diwyd a gonest i wneyd bywoliaeth. Nid oes ond dychymyg anmherffaith am faint y wlad gan neb ond a fu ynddi. Yr ydym ni wedi arfer dyweyd Prydain Fawr; ac ar lawer ystyr felly y mae—mawr mewn cyfoeth—mawr mewn awdurdod—mawr mewn moes a gwareiddiad—mawr yn ei dylanwad a'i safiad yn mysg gwledydd y byd; ond yn ddaearyddol nid yw ond bechan yn mysg gwledydd y ddaear, ysmotyn ydyw ar fap y byd a guddir bron a phen bys. America am eangder. Mae yno lawer talaeth sydd yn fwy na holl ynys Prydain; ac ambell lyn mawr y gellid claddu Cymru ynddo yn llwyr o'r golwg; a dyffrynoedd eang y gallai yr holl genedl ymfudo iddynt, ac ni byddent yn y diwedd yn ymddangos yn fawr llawnach. Wrth weled y *prairies* mawrion yn Wisconsin yn ymledu o flaen fy llygaid am ddegau o filldiroedd, yr oeddwn yn cael synied eangach am faint y wlad na dim a gefais cyn

hyny. Ac yr oeddwn yn gweled yno fanteision digyffelyb i ddynion diwyd, gonest, ac ymroddedig i gael bywoliaeth ... us; ac nid oedd yr anghyfleusterau yn ymddangos i mi ... werth son am danynt. Daeth "*Ymfudwr*" y Bardd i'm ... pan yn teithio y parthau hyny; ac yr wyf yn ei osod i lawr yma; bydd yn dda gan lawer ei weled;

"O Gymry dy adael sydd raid am y don,
Anhawdd i amaethwr fyw ynot yn llon;
Y rhenti sydd drymion, y degwm yn dost,
Y farchnad yn isel, a chymaint o gost:
I gynal bywoliaeth trwy bob math o dreth,
O! Gymru dy adael sydd raid medd pob peth.

Hyn ydyw'r gwirionedd—mae Cymru'n rhy lawn;
Ac yn mro'r Amerig mae lle llawer iawn;
Nid lle i segurdod ac afrad mae'n wir,
Ond lle i ddyn diwyd a allo drin tir;
Os bydd ar y cyntaf yn dir drwg ei lun,
Dywedir er cysur, *Fy nhir i fy hun.*

Mae anghyfleusterau fe nodir i mi,
Tu draw i'r Atlantic na cheir gyda ni,
Gordanbaid yr haulwen—a rhynllyd y lloer,
Yr haf yn angerddol a'r gaua'n wir oer;
Ac os na raid gostwng i stiward (tasg drom)
Yn ngwlad draw y rhyddid, *ceir gweision yn ffrom.*

Rhaid byw yno meddir mewn bwthyn o goed,
A gyru pedrolfen'r hyd ffyrdd gwaetha 'rioed,
A llawer o bethau ychwaneg nid gwell,
Sy'n aros am danaf fi yn y tir pell;
Wel, bydded hyn felly—fy ateb i yw,
Yn wr annibynol—er hyny caf fyw.

Am fyd gwych fy hunan nid oes ynof chwant,
Ond ceisio yr ydwyf ddaioni fy mhlant;
Trwy genad y nefoedd rho'f dir i bob un,
Yr hyn yn ngwlad Cymru ni chaf i'm fy hun,
Ac ni chant demtasiwn i ildio un pwynt,
I feistri heb fod o'r un grefydd a hwynt.

Er myned dros foroedd, a thiroedd tra maith,
Caf wrando Efengyl bur yn fy hen iaith;
Caf fod gyda Chymry fy nghenedl fy hun,
Yn myd y Gorllewin yn un a chytun;
Caf orsedd gras yno i ddywedyd, Ein Tad,
Caf Dduw yn Wisconsin fel yn yr Hen Wlad.

Ond sut y dywedaf, ffarwel i'm Hen Wlad,
Ffarwel i le beddrod fy mam a fy nhad;
Ffarwel i'r addoldai lle ce's fynych wledd,
Ffarwel i'r pregethwyr, cenhadon yr hedd;
Ffarwel i'm cyfeillion fu ffyddlon i mi;
Pa fodd y dywedaf, ffarwel wrthych chwi?

Y wlad lle fy magwyd—hen Gymru yw'r fan,
A'r lle fy ailanwyd os ce's y fath ran,
Fy nychryn gan Sinai, yn Nghymru bu hyn,
Ac yno llon glywais am Galfaria fryn;
O Gymru! dy adael rhaid ydyw i mi;
Ond meddaf o galon—tangnefedd i ti."

Gwelais amryw frodyr yn y weinidogaeth yn Cambria. Y
rch Humphrey Parry—gwr genedigol o sir Feirionydd, a
igwyddai fod yno, ac a fu yn gynorthwyol i mi yn ngwasan-
th y Sabboth. Dydd Llun daeth y Parch. Griffith Jones
hebrwng eilwaith gyda'i garedigrwydd arferol, a'r caredig-
ydd sydd mor hynodol i'r holl deulu yn America gystal ag
yr hen wlad. Galwasom wrth basio yn y *Snowdon* i weled
Parch. W. Jones. Yr oedd llawer blwyddyn er y gwelswn
o'r blaen, ond yr oedd yn dda iawn genyf ei weled yn edrych
r dda.

Nos Lun, Gorph. 3 yr oeddwn yn Delafield gyda y Parch.
bert Evans; a boreu Mawrth, am 9, yn Jerusalem, capel y
ethodistiaid. Cefais gynulleidfaoedd lluosog yn y ddau le.
Parch. Mr. Jenkins, gweinidog y Methodistiaid, a hoffais yn
wr; ac o ran hyny yr oedd yr holl frodyr yn nodedig o
chog. Daeth y Parch. R. Evans, ac amryw o'r cyfeillion
da mi i Milwaukee erbyn yr hwyr. Yr oedd y dydd hwnw
ddydd nodedig—"*Y fourth of July.*" Dydd gwyl Anni-

byniaeth America, Cedwid ef eleni gyda mwy o orfoledd na arferol. Pregethais yn Milwaukee nos Fawrth i gynulleidfa luosog a ddaeth yn nghyd er holl gyffroad y dydd. Gwelais yma lawer o'm hen gydnabod ; a llettyais gydag un cyfaill caredig fu am flynyddau yn Liverpool, ac yn addolwr rheolaidd yn y Tabernacle.

Dydd Mercher Gorph. 5, aethum i Chicago. Yr oeddwn yma yn gynar yn y dydd, gelwais gyda'r Parch. Moses Williams ; ac erbyn fy mod yn y tŷ, dyma y Parch. D. Williams, (Llanidloes gynt) i mewn. Yr oedd wedi myned i'r *station* i'm cyfarfod, ond yn anffodus collasom ar ein gilydd. Daeth Mr. Williams gyda mi i weled y dref. Prif ddinas y Gorllewin ; a'r lan llyn Michigan. Mae yn syndod fod y fath garnedd o dai wedi eu codi mewn cyn lleied o flynyddoedd. Nid oes yma ond un capel Cymreig, a hwnw yn perthyn i'r Methodistiaid, er fod pob enwad yn cydaddoli yno. Y mae y Parch. D. Williams wedi sefydlu yma yn awr ; ac y mae golwg lewyrchus iawn ar yr achos dan ei ofal. Y noson hono am 10 o'r gloch yr oeddwn yn cychwyn i fyned gyda'r train ar hyd y nos i Delphos yn Ohio ; ac erbyn cyrhaedd Delphos tuag 8 o'r gloch boreu dydd Iau, a disgwyl ychydig yn y *station* dyma y Parch. J. Morgan Thomas i'm cyfarfod. Prin yr oeddym yn adnabod ein gilydd. Mae 15 mlynedd yn gwneyd cyfnewidiad mawr ar ddynion ; ond gyda'r gair cyntaf a ddywedodd adnabyddais ef yn union. Yr oedd ganddo gerbyd yn barod i fyned a mi i dy y Parch. James Davies erbyn ciniaw—nid oedd Mr. Davies gartref, ond cawsom yno bob croesaw a ellid ddymuno gan Mrs. Davies. Pregethais yn Leatherwood am 2 i gynulleidfa dda iawn. Aethom gyda theulu caredig i gael Te, neu swper fel y galwent hwy ef. Yr oedd y teulu hwn wedi dyfod i'r lle pan oedd coedwigoedd yn gorchuddio y cwbl ; ond yr oedd ganddynt erbyn hyn un o'r ffermydd goreu yn yr holl wlad : a phalas ardderchog i fyw ynddo, yn lle yr hen *log house* gynt. Yr oedd yno gryn nifer yn nghyd, a boddlonwyd fi yn anghyffredin gan grefyddolder

dirodres eu hymddiddanion. Pobl o Sir Drefaldwyn sydd yn y sefydliad hwn gan mwyaf; o Lanbrynmair a Penarth. Yr oedd yno un hen chwaer yn y cwmni yn cofio y Parch. J. Breese, Caerfyrddin, yn dechreu pregethu yn ei *smock frock*. Pwy a feddyliasai y daethai y llencyn gwridcoch yna oedd yn pregethu yn ei *smock frock* wedi hyny yn un o brif bregethwyr Cymanfaoedd ei enwad yn ei wlad! "na ddiystyred neb dy ieuenctyd di." Y noson hono yr oeddwn yn Gomer; ac er mwyn boddio pawb yr oedd yn rhaid i mi bregethu, ac areithio wedi hyny a'r sefyllfa crefydd yn Nghymru. Yr oedd yno dorf fawr, ar gwres yn angerddol—canent yn swynol. Mae Mr. Thomas yn sicr o roddi bywyd yn y canu lle bynag y byddo; ond deallaf fod yma ganu da bob amser. Gwelais Mr. Josiah Jones, Braichodnant, a Mr. Williams Pentremawr, ac amryw eraill a welais yn Llanbrynmair gynt. Yr oedd golwg iachus a bywiog ar yr achos yn y ddau le yma mor belled ag y gallai dyn ar ei daith farnu. Ar ol yr odfa aeth Mr. Thomas, a Dr. Jones, a Mr. J. R. Jones, a minau i Tawelan. Yr oeddwn wedi gweled yr hen batriarch gwreiddiol, Wm. Jones, yn Leatherwood a Gomer; ond yr oedd ef a Mrs. Jones ar ferch wedi brysio adref o'n blaen. Mae yn noswaith braf lloer gán lleuad. Wrth basio y fynwent yn ymyl Tawelan yn agos i haner nos, troais i mewn i weled bedd y Parch. J. Parry, o'r Wern (gynt). Yr oedd rhyw deimladau rhyfedd yn fy meddianu wrth ddarllen yr argraff ar y golofn. Bychan fuasid yn feddwl i "wr cadarn, nerthol" fel efe syrthio i'r bedd mor ddisymwth. "Pa fodd y mae y doeth yn marw? fel yr annoeth." Ymadewais gyda dymuno heddwch i'w lwch. Yr oedd yn ganol nos erbyn ein bod yn y tŷ; ond y mae yma groesaw ar bob awr. Nis gall pregethwr byth fyned i dŷ, nac at deulu y teimla yn ddedwyddach, nac yn nhŷ, a chyda theulu Tawelan. Wedi gorphwys ychydig oriau, daeth Mr. Thomas, Dr. Jones, a Mr. J. R. Jones i'm danfon ryw 8 milldir i'r *station* erbyn ychydig wedi 5 boreu Gwener, i fyned i Cincinnati. Yr oeddwn yn Cincinnati yn fuan wedi canol dydd.

Saif y ddinas ar lan yr Ohio, mewn llanerch swynol ryfeddol, ac y mae cynlluniad a gweithiad y ddinas yn ardderchog. Daethum yn fuan o hyd i Mr. James a Mr. John Griffith, meibion y diweddar hybarch S. Griffiths, Horeb. Lletyais gydag un o honynt, ac nid oes terfyn ar eu caredigrwydd di-rodres. Nid oedd y Parch. T. Edwards gartref; ac yr oedd yn ofidus genyf orfod gadael America, heb gael cyfle i'w weled. Bu y Parch. H. Powell, gweinidog y Methodistiaid, gyda mi y rhan fwyaf o'r amser y bum yno—cydymaith dedwydd dros ben. Yr oeddwn wedi ei gyfarfod ef mewn Cymanfa Ddirwestol yn Sir Fynwy, pan y bu ar ymweliad a'r hen wlad. Boreu Sadwrn, yn bur foreu daeth y Parch. B. W. Chidlaw i'm gweled. Yr oedd yn dda iawn genyf ei gyfarfod, yr oeddwn wedi clywed llawer o son am dano ar ol ei ymweliad a Chymru yn 1839—1840, ond heb gael cyfle erioed i'w weled. Dyn drwyddo ydyw Chidlaw—*a thorough go ahead man*—caredig a chynes ei galon. Nid oes yr un dyn yn America ag y mae yn well gan bawb o bob cenedl ei weled. Daeth i'm hebrwng i'r *station*, ac y mae yn taflu y *Port-manteau* trwm oedd genyf ar ei ysgwydd, ac yn ei gario trwy yr heol mor ddiseremoni a phe buasai yn *Porter* ar y rheilffordd. Aethum trwy Columbus, ac i Newark; a phwy oedd y cyntaf a welwn ar *station* Newark, wedi dyfod im cyfarfod ond fy anwyl gyfaill Mr. C. R. Jones; ac wrth ei sawdl dyma fy hen gyfaill serchog y Parch. D. Price yn edrych mor siriol ag erioed, a'i galon gynes i'w gweled o draw yn perlio yn ei lygaid bywiog, ac yn estyn ei law gydag anwyldeb hen gyfeillgarwch, a thipyn o orchest i ni ein dau oedd atal ein dagrau gan y llawenydd a deimlem yn y cyfarfyddiad. Ychydig feddyliais pan yn ffarwelio a'r fwrdd y *Circassian*, fwy nag 8 mlynedd yn ol, mai ar *station* Newark y cyfarfyddem nesaf. Aethom gydag ef adref a lletyasom yn ei dŷ nos Sadwrn a nos Sabboth; a phregethasom yn ei Gapeli yn Granville a Newark y Sabboth —Nage, nid yn ei gapel ef ychwaith yn Newark 2 a 6, ond yn Nghapel y Presbyteriaid, yr hwn yn garedig a fenthyciwyd

fod Mr. Price a'i bobl, yn codi capel newydd hardd, a bod
le yr ymgynullant yn awr, i aros ei gael yn barod, yn llawer
hy fychan i gynwys y gynulleidfa fawr a ddaeth yn nghyd ar
pryd. Mae capel prydferth dros ben hefyd yn Granville; a
golwg lewyrchus ar yr achos yn y ddau le. Daeth Mr. Price
gyda ni nos Lun i Columbus. Dydd Mawrth erbyn 2 i Troed-
rhiwdalar. Yr oedd y Parch. James Davies (Llanfair,
gynt), a'r Parch. J. H. Jones Delaware, a'r Parch. Rees
Powell, gweinidog y lle, yno hefyd. Llon oedd genyf weled
Mr. Davies yn edrych cystal. Nid yw blynyddoedd wedi
effeithio fawr arno. Dyma y tro cyntaf i mi weled Mr.
Powell. Yr wyf yn adwaen ei dad a'i deulu yn bur dda;
a'i enw yntau yn hollol gyfarwydd genyf. Un o gyfoedion Dr.
Rees, Abertawe, a Stephens, Brychgoed, a'r diweddar Williams
Llandilo, yw efe. Dechreuasant bregethu agos yr un pryd.
Dyeithr hollol oedd Mr. Jones i mi, ond cefais ef yn garedig
iawn. Yr oeddym nos Fawrth yn Radnor, gyda'r Parch.
James Davies; ac yn lletya gyda merch a mabynghyfraith yr
hybarch D. Williams, Llanwrtyd. Bu yr hen wr gyda ni yn
pregethu mewn Cymanfa yn Liverpool wedi fy nychweliad, ac
er yn ymyl 87 oed, yr oedd yn pregethu gyda bywiogrwydd
llanc. Boreu Mercher pregethais yn Delaware; ac ar y *sta-
tion* yno ymadawsom. Aeth Mr. C. R. Jones i Cincinnati,
Mr. Powell, Mr. Jones, a Mr. Price, bob un i'w ffordd tuag
*adref*—a minau tua Cleveland, ac oddiyno gyda cherbyd i
Newburgh. Pregethais yno y noson hono; ac areithiais ar
Ddirwest am 9 boreu tranoeth. Aeth Mr. Watkins oddicartref
y boreu hwnw. Deallais fod yno dipyn o anghydweliad rhwng
y gweithwyr a'u meistri yn y gwaith; a chlywais wedi hyny
fod y Cymry yno wedi gwasgaru a Mr. Watkins, oblegid hyny
wedi ymadael. Drwg iawn oedd genyf glywed. Gresyn
mawr oedd i ddim ddyfod i chwalu achos oedd mor obeithiol.

Aethum oddiyno i Mineral Ridge erbyn nos Iau lle y mae
y Parch. J. P. Thomas, yn Gweinidogaethu. Yr oedd yma
lawer o bobl a adwaenwn yn dda pan yn Morganwg. Ymddang-

osai Mr. Thomas a'i bobl i mi mor gysurus gyda'u gilydd a neb a welais ar fy nhaith. Yn foreu iawn dydd Gwener yr oedd fy hen gyfaill hoff Mr. Ebenezer Lewis, gynt o Glynedd, wedi dyfod a cherbyd i fyned a ni i Youngstown lle yr oeddwn i fod nos Wener. Daeth Mr. Thomas hefyd gyda ni; a chyfarfu Mr. Edwards, Crab Creek, a Mr. Davies, gweinidog y lle, a ni fel yr oeddym yn gwmni dedwydd; a threuliasom y dydd yn hapus iawn; a phregethais yn yr hwyr i gynulleidfa fawr a ddaethai yn nghyd. Yr oeddwn yn flin iawn na ellais gael cyfle i weled Dewi Emlyn, a chael pregethu yn ei Gapeli; ac yr oeddwn yn enwedig yn ofidus fy mod yn gorfod gadael sefydliad Cymreig mawr Galia a Jackson yn hollol o'r neilldu. Buasai yn chwith genyf feddwl y buaswn yn gorfod gadael America heb weled fy hen gyfaill Mr. Davies, Tynrhos, (Onllwyn gynt) ond felly fu; os byth yr arweinir fi i America eto mynaf fwy o amser yn y wlad fel y gallaf ymweled a phob sefydliad. Ond, dyn am helpo, nid oes obaith y caf yr hyfrydwch byth mwy. Sadwrn Gorph. 15 aethum o Youngstown i Pittsburgh. Dyma Birmingham America. Yr oedd y Parch. R. R. Williams yn y *station* yn fy nisgwyl; a *chefais letty* cysurus iawn gydag un o Ddiaconiaid Eglwys *Pittsburgh, Mr.* Edward Owens, gwr o Aberhosan. Dranoeth yr oedd yn Sabboth; ac yn wlyb iawn. Pregethais yn y boreu yn Nghapel yr Annibynwyr i gynulleidfa fawr iawn. Am 2, aed i gapel y Methodistiaid lle y pregethais, ac yr areithiais ar hanes crefydd yn Nghymru; ac yn nghapel yr Annibynwyr drachefn yr hwyr. Cefais lawer o gwmni Mr. Williams tra y bum yno; a pha fwyaf a welais o hono uchaf yn y byd oedd fy meddwl am dano. Daeth gyda mi ddydd Llun at Thomas Williams, Ysw. un o aelodau y gynghorfa, yr hwn a roddodd i mi lythyr at yr awdurdodau yn Washington.

Nos Lun, Gorph. 17, yr oeddwn yn Johnstown, lle y mae y Parch. Thomas Jenkins, gynt o Salem, Merthyr, yn gweinidogaethu. Cafwyd yno gynnulleidfa luosog o wrandawyr bywiog. Gwelais y Parch. Ebenezer Jones yno, sydd yn

weinidog i'r Methodistiaid yn y lle; a Mr. Jeffreys, brawd i'r Parch. T. Jeffreys, Penycae. Yr oedd y Parch. W. Owens, hen weinidog parchus perthynol i'r Bedyddwyr yn Pittsburgh yno. Efe a ddechreuodd yr odfa. Cyfarfum yma a llawer o'm hen gydnabod gynt yn Morganwg a Mynwy.

Dydd Mawrth, am 2 o'r gloch, yr oeddwn yn Ebensburgh. Daeth Mr. Jones a Mr. Jenkins gyda mi yno—cawsom gynnulliad lluosog—mae gwedd hynafol ar y gynnulleidfa. Yr oedd y Parch. Ll. Powell yno ac yn edrych yn dda. Yr oedd Mr. Ellis, gweinidog i'r Methodistiaid yno, a Mr. Parry, gweinidog i'r un enwad yn Pittsburgh. Cychwynais yn ddioed wedi yr odfa, a thros fynyddoedd yr Alleghany gydag ymyloedd y ceunentydd dyfnion lle y mae y reilffordd yn ymdroelli yn ddigon i frawychu calon y dewraf. Ymdaenodd tywyllwch y nos i guddio y perygl o'r golwg. Cyrhaeddais Harrisburgh tua chanol nos, lle yr arhosais hyd y boreu, yna aethum rhagof i Minersville, lle yr oeddwn i bregethu nos Fercher. Daeth y Parch. T. Pugh, Summit Hill, a'r Parch. T. Rees, Ashland, yno i'm cyfarfod, ac yr oeddwn yn myned gyda Mr. Pugh i bregethu yn ei gapel ef nos Iau. Cefais yno dorf fawr o bobl, a da oedd genyf weled fy hen gyfaill yn ymddangos mor gysurus. Daeth Mr. Pugh gyda mi ddydd Gwener i Catasauqua, lle y pregethais am 2 o'r gloch yn nghapel y Presbyteriaid. Yma cyfarfyddais fy hen gyfaill Iorthryn Gwynedd, a da oedd genyf ei weled yn edrych mor dda. Achos unol o'r gwahanol enwadau sydd yma. Aethum ar ol yr odfa i Philadelphia i gysgu y noson hono. Wrth fyned ar y reilffordd yr oeddwn rhwng Bethlehem a Philadelphia yn myned heibio i dair *station* yn dwyn yr enwau Penllyn, Gwynedd, a North Wales. Mae yn yr ardal meddir lawer o dai a ffermydd ac enwau Cymreig arnynt—ceir yno hefyd lyfrau a hen lawysgrifiau Cymreig. Bernir i nifer o Gymry o siroedd Meirionydd a Maldwyn ddyfod drosodd i'r parth hwn pan y sefydlodd William Penn yn y lle. Mae eu holafiaid yma eto yn dwyn eu henwau, ond y mae y Gymraeg

iddynt yn iaith farw. Cefais ddigon o amser yn Philadelphia i fyned trwy y ddinas i gael golwg ar ei phrif adeiladau. Dyma yr ardderchocaf o ddinasoedd America.

Boreu Sadwrn, Gorph. 22, gadewais Philadelphia, yn lled foreu, a chyrhaeddais Havre De Grace, yn Maryland, yn fan. Disgynais yno i fyned i fynu i Slate Hill, neu West Bangor, fel y gelwir y lle yn awr. Yr oedd y cyfaill caredig Mr. E. F. Jones wedi dyfod yno i'm cyfarfod. Yr oedd genym 21 milldir o ffordd gul gydag ochr y Susquehanna. Dyma y benaf o afonydd Pennsylvania, ac y mae y golygfedd ar ei glanau yn wyllt a rhamantus. Nid yw yn fordwyol oblegid fod cynifer o fân ynysoedd yn gorwedd yn ei gwely. Ni fwynheais un rhan o'r daith yn well nag yn y cerbyd gyda Mr. Jones wrth fyned a dyfod gyda glan yr afon ardderchog hon, o Havre De Grace i West Bangor. Chwarelau llechi sydd yma, a Chymry o sir Gaernarfon yw y bobl gan mwyaf. Mae yn West Bangor dri chapel Cymreig gan yr Annibynwyr, y Methodistiaid, a'r Wesleyaid. Pregethais yno nos Sadwrn a thair gwaith y Sabboth. Y Parch. J. Williams sydd yn gweinidogaethu yma gyda'r Annibynwyr, a'r Parch. E. F. Jones *gyda'r Methodistiaid.* Cefais lawer o gyfeillach y ddau, a *rhoddodd yr* olaf i mi lawer o ffeithiau cyffrous ynglyn a hanes y rhyfel. Ni welais neb ar fy nhaith yn deall y cwestiwn yn well. Cefais fy hen gyfaill William Morris yma yn canu mor beraidd ag y clywais ef yn yr Uchel wyl Ddirwestol, yn Exeter Hall, Llundain, yn 1851.

Dydd Llun, Gorph. 24, aethum i Baltimore, ac wedi treulio ychydig oriau yno i weled y ddinas, hwyliais yn mlaen i

WASHINGTON,

prif ddinas Llywodraeth America. Yr oedd awyddfryd mawr ynof am weled Eisteddle y Weriniaeth. Saif y ddinas ar lan y Potomac, ar ddarn o dir *District Columbia* sydd yn perthyn yn gyfartal i'r holl dalaethau. Cymerais fy llety yn *Willard's Hotel.* Cefais gan fy anwyl frawd Mr. Price, Newark, *ad-*

*dress* un Mr. Samuel Davies oedd yn y *pension office*, a bu Mr. Davies i mi yn gyfarwyddwr caredig trwy y lle. Mae adeiladau cyhoeddus y ddinas yn rhai ardderchog, y Capitol, —y White House (ty yr Arlywydd)—y Trysorlys—y Post office—y Patent a'r Pension office—Ymwelasom a'r lleoedd yma oll, a llawer yn ychwaneg. Synwyd fi yn fawr yn y Post office pan fynegwyd i mi fod o 12 i 15 mil o lythyrau yn dychwelyd i'r *dead letter* office bob dydd; ac yn cynwys yn agos i 250 o filoedd o ddoleri o *Post office Orders*. Mae cyflwr symudol y boblogaeth—anmherffeithrwydd eu trefniadau llythyrol—ac yn neillduol amledd y llythyrau a anfonid i'r milwyr, yn cyfrif mewn rhan fawr am hyn. Nid oes ond ychydig Gymry yn Washington; a gelwais gyda chynifer o honynt ag a allais gael allan. Mae y dynion duon yma yn lluosog, cefais gyfle i siarad a llawer o honynt; ac yr oeddwn yn rhyfeddu eu cael mor addysgedig a goleuedig. Gelwais gyda Mr. Stanton, Ysgrifenydd Rhyfel; a derbyniodd fi yn garedig iawn; a theimlai yn llawen i ddeall fod teimlad cyffredin y Cymry mor drwyadl o'u plaid; rhoddodd lythyrau i mi at ddau gadfridog yn Richmond lle y bwriadwn fyned; ond deallais wedi hyny fod fy amser yn rhy fyr i allu myned yno. Mae yn haws o lawer nesau at swyddogion llywodraeth America nag at swyddogion llywodraeth Lloegr. Yn wir y mae y cydraddoliaeth mawr sydd yn y wlad, ac Annibyniaeth y bobl, yn un o'r pethau cyntaf a dyn sylw dyn dyeithr yn America. Yn naturiol y mae cymaint o wahaniaeth rhwng pobl yn America; ond yn gymdeithasol cydnabyddir pawb yn gydradd. Yr unig eithriad ydyw y Negro. Difreinir ef am fod ei groen yn ddu; a pha help sydd ganddo ef druan i hyny? Yr oedd y clawdd terfyn yma yn llawer uwch. Ni oddefid, meddant, i ddyn du gyd-deithio yn yr un cerbyd a dyn gwyn. Rhoddid ar *Omnibuses* y trefydd, ac ar gerbydau y reilffyrdd waharddiadau i Negroaid ddyfod i fewn. Ond y mae hyny yn mysg y pethau a fu. Ni welais i ddim gwahaniaeth yn cael ei wneyd. Yr oedd du a gwyn yn cymeryd eu lle blith draphlith. Ond er

hyny nid yw hawliau y dyn du eto yn cael eu cydnabod yn gyflawn. Ymddifedir ef o'r etholfraint—o'i hawl i bleidleisio. A phaham? oni bu y dyn du yn llawer mwy teyrngarol drwy bedair blynedd y rhyfel na dynion gwynion y De? Onid yw y negro yn deall deddfau y wlad, a chyfansoddiad y llywodraeth yn llawer iawn gwell na'r Pabyddion anwybodus sydd yn ymfudo yno o'r Iwerddon? a phaham y rhoddir y bleidlais i'r olaf ac y gomeddir hi i'r cyntaf? Clywais ddynion duon yn Washington yn dadleu eu hawl i'r etholfraint gyda'r fath bwyll a medrusrwydd, a boneddigeiddrwydd ag a fuasai yn anrhydedd i'r gweithwyr mwyaf addysgedig yn Mhrydain neu America. Ac yr wyf yn teimlo yn berffaith sicr y metha pob cynyg am adgyfansoddiad yn y De, nes y rhoddir y dyn *du yn hollol* ar yr un tir a'r dyn gwyn; ac y cydnabyddir iawnderau y dyn yn annibynol ar liw ei groen; oblegid o "un gwaed y gwnaeth Duw bob cenedl o ddynion i breswylio ar wyneb yr holl ddaear." Ond ag eithrio y negro y mae y cydraddoliaeth *mwyaf* yn America. Yn Lloegr y mae genym ddosbarthau—uwchradd—canolradd—ac isradd; a llawer iawn o deimlad dosbarthol (*class feeling*). Sonir llawer iawn am y werin, y cyffredin, y dosbarth gweithiol, y bobl. Ac yn *wir yr wyf wedi* hen flino ar y siarad diddiwedd-am y bobl fel pe byddent yn rhyw greaduriaid israddol. Yn Sassiwn y Bala, flynyddoedd lawer yn ol, yr oedd yr hybarch John Evans o'r lle yn bresenol, yn hen iawn, ac yn bur drwm ei glyw. Ceisiwyd ganddo ddyweyd gair yn y Society am 8 y boreu—cododd ar ei draed; ond yn lle troi at y dorf yn y capel, y mae yn troi ei wyneb at y pregethwyr a'r blaenoriaid yn y sêt fawr. Mae John Elias yn codi i fynu, ac yn dyweyd yn uchel yn ei glust "John Evans, trowch eich gwyneb at y bobl." "Beth," ebe yr hen wr, gan droi ei lygad treiddgar, "ai nid pobl ydych chwi." Teimlodd Elias nerth yr egyd ac eisteddodd yn ei le yn bur swil. Pobl ydym oll. Gweithwyr i gyd gobeithio; os nad e, byddai yn drugaredd i'r ddaear gael gwared o honom—segurwyr yw y baich mwyaf ar ei gwyneb. Yn America nid oes yr un d-

wedigaeth onest yn cael edrych yn isel arni. Mae y crydd yn llawn mor barchus a'r cyfreithiwr—y teiliwr yn llawn mor gyfrifol a'r meddyg—y coed holltwr mor anrhydeddus a'r marsiandwr. Nid oes yno neb yn cofio mai holltwr coed oedd Abraham Lincoln—mai teiliwr oedd Andrew Johnson; ac os cofiant hyny, hwy a'i cofiant er anrhydeddu y dynion weithiodd eu ffordd o'r sefyllfaoedd isaf i'r anrhydedd uchaf a all y llywodraeth oreu ar y ddaear, osod ar ddyn. Nid oes yr un wlad lle y rhoddir y fath bris ag yn yr Unol Dalaethau ar lafur y gweithiwr, ac y gwerthfawrogir pob dyn yn ol ei gymeriad a'i ddefnyddioldeb; ac nid yn ol ei achau a'i berthynasau. Cyn gadael dinas Washington, mynais weled *Ford's Theatre*, lle y cafodd y Llywydd Lincoln yr ergyd angeuol. Gwelais y ty lle y cariwyd ef iddo, ac y tynodd ynddo yr anadliad olaf; a thra yn sefyll yn ymyl yr ystafell lle y cyflawnwyd y fradweithred ysgeler goddefer i mi dalu fy nheyrnged fechan i lafur, gwasanaeth, a medrusrwydd, y pwyllog, y caredig, y cydwybodol, ar gonest,

ABRAHAM LINCOLN.

Dyn a ymgododd o ddinodedd cydmarol yn nerth ei dalent a'i ymroddiad personol, a enillodd hyder ac ymddiried pawb a'i hadwaenai—a ymgododd i'r awdurdod a'r anrhydedd uwchaf a all gweriniaeth fawr America roddi ar ddyn, a arweiniodd ei wlad yn ddiogel drwy bedair blynedd o'r chwyldroad cartrefol mwyaf ofnadwy a anrheithiodd lywodraeth erioed—ac o'r diwedd a syrthiodd yn ferthyr i achos ei wlad trwy ddwylaw gwaedlyd bradlofrudd dialgar. Efe oedd Moses y bedwaredd ganrif ar bymtheg, a arweiniodd bedair miliwn o feibion duon Ham i olwg Canaan rhyddid. Gwladgarwr o'r fath buraf ydoedd, a dyn-garwr ac ynddo galon fawr eang a allasai gofleidio pob cenedl dan y nef. Yr oedd achos y negro yn agos at ei galon; a dyrchafodd ei lais fel udgorn o blaid ei iawnderau. Pentyrwyd dirmyg a diystyrwch arno gan wasg bendefigol Lloegr, ond cafodd fyw yn ddigon hir i'w gorfodi i

dalu gwarogaeth i'w ddoethineb a'i onestrwydd. Cyfyd cen-hedlaethau sydd eto heb eu geni, ac a'u galwant yn fendigedig. Aeth y saeth at galon y holl fyd gwareddiedig pan gyrhaedd-odd y newydd o'i lofruddiad. Brysiodd pob plaid i'r maes i dalu teyrnged i'w goffadwriaeth ; ac yr oedd America oll yn teimlo eu bod fel plant wedi colli eu tad. Yr oedd y teim-lad a amlygwyd pan y dygwyd ei gorff o ddinas i ddinas, ac o dalaeth i dalaeth ar ei ffordd i le beddrod y teulu, yn ddigyff-elyb. Yr oedd yn hawdd deall " fod tywysog a gwr mawr" yn y wladwriaeth wedi syrthio. " A gwyr buchedddol a ddyg-asant Abraham Lincoln i'w gladdu, ac a wnaethant alar mawr am dano ef." Heddwch i'w lwch !—chwythed yr awel yn dyner drosto. Disgyned y gwlith yn esmwyth arno—a gwyl-ied angylion ei fedd hyd y boreu y cyfyd yn anllygredig ac anfarwol. Gadewais Washington ddydd Mercher, Gorph 26, a dychwelais trwy Baltimore, Harrisburgh, &c., i Ashland erbyn nos Iau, lle y pregethais yn nghapel y Parch T. Rees, a chefais ef a'i briod hawddgar a'r cyfeillion oll yn hynod gar-edig. Llon oedd genyf weled gwedd mor siriol ar bob peth. Dydd Gwener aethum i Danville, lle y pregethais yn nghapel yr hynaws ar tirion J. B. Cook. Gwelais yma lawer o hen gyfeillion pur adnabyddus i mi gynt yn Nghwmafon. Ni wel-ais fwy o deimlad da yn un man lle y bum nag a welais yma. Mwynheais tra yn y lle gyfeillach Mr. Cook a'r Parch. Evans, gweinidog y Methodistiaid. Dydd Sadwrn yr oeddwn yn myned i Pittston a nifer o gyfeillion gyda mi. Yr oedd paro-toad i gael Cymanfa yn Hyde Park y Sabboth ; ac yr oedd cyrchu yno o'r cyrau oddiamgylch. Ar ein ffordd daeth y Parch. T. J. Phillips a Mr. Levi brawd y Parch. T. Levi, Morganwg, a llawer o gyfeillion eraill i mewn atom. Ad-nabum Mr. Levi wrth ei frawd. Erbyn ein bod ychydig yn mlaen dyma y Parch. E. Lewis, Pittston a'r Parch. E. B. Evans Hyde Park, i'n cyfarfod. Yr oeddwn wedi gweled Mr. Lewis unwaith pan ar ei ymweliad a Chymru, ond dyma y tro cyntaf i mi gael yr hyfrydwch o weled Mr. Evans. Dy

edig dros ben. Cefais ganddo bob caredigrwydd. Sonia ddyfod i'r hen wlad; os daw bydd yn dda genyf gael dalu iddo. Wedi cyraedd Pittston aethom i dŷ D. Mor-ı, Ysw. Un o'r dynion mwyaf diymhoniad a dirodres a ais erioed. Pe buasai ambell un yn meddu degwm ei wyb-eth a'i gyfoeth, aethai yn annhrafodadwy; ond nid oes dim yg arno ef. Genedigol ydyw o gymydogaeth Pontyberem, sir Gaerfyrddin; ond y mae yn America er yn fachgen. eth llawer o gyfeillion Hyde Park i'r odfa yn Pittston nos Iwrn. Y Parch. J. Williams oedd y gweinidog yma. ma un o'r capeli goreu a welais yn y wlad. Wedi yr odfa hum i Hyde Paık gyda Mr. Evans i gysgu; a thranoeth, y ›both, yr oeddynt wedi parotoi esgynlawr i bregethu yn yr yr agored, yn y coed. Dyma y gynulleidfa fwyaf o lawer relais yn America. Yr oeddynt wedi dyfod yn nghyd o'r l wlad oddiamgylch. Yr oedd yno lawer iawn o weinidog-o bob enwad. Nis gallaf yn awr gofio eu henwau; ac yn yr oeddwn yn drysu yn deg rhwng yr enwau a'r ffugenwau. th bynag brodyr hynaws oeddynt. Yr oeddym oll gyda'n 'dd y Sabboth yn nhy y cyfaill ffraeth a siriol T. Phillips w. Dyma eto un o'r dynion ag y mae Rhagluniaeth wedi wyddo, ac yntau yn dal y codiad heb golli arno ei hun. 'elais yma gynifer o ddynion meddylgar, yn ymhyfrydu mewn estiynau llenyddol a duwinyddol ag a gwrddais ar fy nhaith. oedd yn ddrwg genyf na chefais gyfle i weled y brodyr chus Williams Bradford, Daniels Dundaff, a Williams :bondale. Nid oedd dim ond boddloni. Ni chaiff dyn mo › peth yn y byd yma. Dydd Llun aethum i New York, a fais orphwys y noson hono; pregethais nos Fawrth yn ıapel yr Annibynwyr. Llawen oedd genyf weled cynifer nghyd, a gweled golwg mor siriol ar bethau. Cefais gwmni . Griffiths agos yr holl amser y bum yn y ddinas; a threul-ı beth amser gyda y Parch. Jonathan Jones a Dr. Wm. berts. Darllenwyd cyfarchiad caredig i mi ar ol yr odfa Fawrth. Yr wyt o galon yn diolch i'r brodyr am eu teimlad

da. Dydd Mercher aethum i Fairhaven i bregethu, a chef Mr. Herbert a'i bobl oll yn garedig ryfeddol. Nid oedd d digon ganddynt i'w wneyd i mi. Cofiaf dro am Mr. Ev Jones a Mr. James ac eraill. Maent yn cadw cynes chwarelwyr sir Gaernarfon. Canasant yn enwog y noson ho yn fy lletty.

Dydd Iau, aethum i Middle Granville, pregethais yno a a 6 yn nghapel y Methodistiaid i gynnulleidfaoedd lluosog. Mr. J. Jones sydd yma gyda'r Methodistiaid, a Mr. S. Jones gyda'r Annibynwyr. Pobl sir Gaernarfon sydd yma gan mwy af. Yr oedd gweled Ioan Pritchard yn llonder i mi. Yn ei dŷ ef yn Llanberis y cysgais y noson gyntaf erioed i mi fyned oddicartref i bregethu. Yr oedd un Mr. Brown, pregethwr perthynol i'r Methodistiaid, gyda mi yn y ddau le. Bedyddiais faban i'r Parch. Samuel Jones yn ei dŷ wedi yr odfa hwyrol. Dychwelais ddydd Gwener i New York, yr oeddynt wedi fy nghyhoeddi i draddodi darlith yn nghapel y Methodistiaid. Daeth yno dorf go dda ynghyd. Wedi i mi ddechreu siarad dyma y Gohebydd i mewn, yn edrych mor llon a brithyll. Bydd yn dda genyf ei weled bob amser, ond nid erioed mor dda a'r waith hon. Testyn y ddarlith oedd y *Ddwy Wlad*; a beth bynag yw barn y rhai a'i gwrandawodd am dani, traethais fy meddwl yn hollol ddiofn. Yr wyf eto y hollol gredu fod yn y ddwy wlad ddynion chwerw, cynhenus erlidgar, ac os mynir cadw teimlad da, goreu pa leiaf o syl a wneir o honynt.

Boreu Sadwrn, Awst 5ed, gadewais New York. Daeth Parch. E. Griffiths, Mr. Brown, Mr. Eleazer Jones, y Goh ydd ac eraill i'm hebrwng i lan y dwr. Teimlais ryw b rhyfedd wrth ysgwyd llaw a fy hen gyfaill y Gohebydd, a'i ael ar ol. Daeth pang o ryw hiraeth drosof, ond iacheais fuan. Dyma fi bellach yn cychwyn tuag adref ar fwrd *City of London*, yr un llestr ag y daethom ynddi; ac w mordaith dawel am 11 diwrnod cyrhaeddais Liverpool g dydd ddydd Mercher, Awst 18fed, a chefais bawb yn y t

a'r eglwys yn fyw ac yn iach ; ac heb ddim annymunol wedi digwydd yn fy absenoldeb ; a minau er croesi y Werydd yn ol ac yn mlaen, a theithio ar hyd a lled y cyfandir mawr, ryw 3,250 o filldiroedd, a phregethu ac areithio dros 60 o weithiau, mor iach a chryf ac y teimlais erioed ; ac wedi cael help gan Dduw yn aros hyd yr awr hon. Yr oeddwn wedi bwriadu gwneyd adolygiad helaeth ar neillduolion America—ar ffurf lywodraeth y wlad sydd yn gynrychioliad teg o deimlad y lluaws—ar golegau a phrif ysgolion y wlad sydd yn dwyn yr addysg oreu i gyraedd pob dosbarth—ar y sefydliadau dyngarol sydd yno i gyfarfod pob cyfyngder ac angen—ar arferion cymdeithasol y bobl, y rhai ydynt nodedig am eu sobrwydd a'u glanweithdra—ar y safiad anrhydeddus y mae y Cymry wedi eu gyrhaedd yno, a'u hymlyniad wrth Dduw eu tadau, er wedi gadael gwlad eu tadau—ond ni chaniata y terfynau i mi wneyd dim ond eu crybwyll. Ond byddai yn anfaddeuol ynof i derfynu heb ymgodi uwchlaw pob teimlad gwladgarol a chenedlgarol, ac ar dir dynoliaeth gyffredin i lawenhau fod y rhyfel trychinebus, fu yn anrheithio y wlad wedi terfynu, a'r gwarthnod du o gaethwasiaeth wedi ei ddileu yn llwyr ac am byth oddiar wyneb teg llywodraeth America. Yr oedd yr elfenau yn ymgasglu er's blynyddoedd. Egwyddorion caethiwus y De ac egwyddorion rhyddfrydig New England yn nesau at eu gilydd, fel yr oedd gwrthdarawiad yn rhwym o gymeryd lle. Ofer i neb haeru nad oedd dim a fynai caethiwed a'r rhyfel. *Mae y neb a ddywedo hyny yn dangos yn eglur na wyr efe eto ddim fel y dylai wybod.* Brwydr rhyddid ydoedd. Y cwestiwn mewn dadl oedd, a ëangid terfynau caethiwed? Mynai un blaid ei ëangu i'r talaethau newyddion—mynai plaid arall ei gyfyngu i'r talaethau lle yr oedd—a mynai plaid fechan arall nid yn unig atal ei ledaeniad i'r talaethau newyddion, ond ei ddiwreiddiad o'r talaethau lle yr oedd ; a'r blaid fechan hono, trwy oruwchreolaeth rhagluniaeth, a gariodd y dydd. Brwydr rhyddid oedd, a rhyddid a fuddugoliaethodd. Mae yr America fawr yn

wlad rydd. Mae y *Negro* yn wr rhydd. Ac er mai a sı mawr y cafwyd iddo y ddinasfraint hon, eto yr oedd rhyddl pedair miliwn o fodau anfarwol o'r caethiwed mwyaf dira iol a anurddodd y ddaear erioed, a diwreiddiad y felldith tir yn werth yr aberth er cymaint ydoedd. Prydain a ddy odd America i fasnachu mewn gwaed dynol ! Er cywilyd Brydain yr wyf yn dywedyd hyn ! Prydain roddodd esiar i America i ollwng ei chaethion yn rhydd, ac a dalodd ug miliwn i'w perchenogion yn yr India Orllewinol, y deyrng fwyaf a dalwyd erioed gan y naill wlad i'r llall yn achos d garwch. Er anrhydedd Prydain yr wyf yn dywedyd h Bellach dyma y ddwy lywodraeth bwysicaf, a'r ddwy wl grefyddolaf dan haul Duw mewn gwirionedd yn rhydd. M ynysoedd y ddaear yn disgwyl wrthynt—mae Ethiopia yn tyn eu dwylaw atynt—mae yr holl fyd gwareiddiedig a'i lyg arnynt—mae Puritaniaid Lloegr a Phererindadau Ameri o'r nefoedd yn gwylio drostynt—uner hwy galon wrth galoı llaw wrth law. Byth na thywyned haul ar y diwrnod y co Prydain gledd yn erbyn America, nac America gledd yn byn Prydain. Na chenfigened Prydain wrth America, ac ı chyfynged America ar Brydain ; ond eled y ddwy allan y enw yr Arglwydd, i weinyddu bendithion mawrion heddwc rhyddid, a gwirionedd hyd eithaf y ddaear.

# BLODEU'R GLYN.

" Gwerthfawr yn ngolwg yr Arglwydd, yw marwolaeth ei saint ef ; " a gwerthfawr i grefydd yn y byd ydyw tystiolaethau y saint wrth farw. Mae gan bob crefydd ryw rai yn ei gwadu wrth wynebu byd tragywyddol, ond y wir grefydd ; am dani hi nid oes genym yr un engraifft fod neb a'i harddelodd mewn bywyd yn edifarhau oblegid hyny yn angau. Cymerasom yr hyfrydwch yn ddiweddar i ddilyn nifer fawr o saint y gwahanol oesau yn eu horiau olaf, a gwrando ar eu geiriau diweddaf. Ac er fod y golygfeydd yn aml yn gyffrous ; a sŵn tónau yr afon yn frawychus, eto yn aml gwelsom rai o'r llanerchau prydferthaf lle tyfai ac yr agorai y blodeu a'r rhosynau harddaf a thlysaf nes gwasgaru eu perarogledd yn y glyn tywyll. Ac os ca ein darllenydd gymaint o bleser wrth arogli y blodeu hyn ag a gawsom ni wrth eu casglu, bydd ein hamcan wedi ei gyrhaedd.

Blodeu glyn cysgod angau, neu eiriau olaf dynion duwiol yn eu horiau diweddaf.

*Yr hen Simeon* a ddywedai mewn boddlonrwydd wedi cael y mab bychan i'w freichiau, " Yr awr hon, Arglwydd, y gollyngi dy was mewn tangnefedd."

*Stephen,* y merthyr cyntaf, a weddiai dros ei lofruddwyr, " Arglwydd na ddod y pechod hwn yn eu herbyn "—ac a gyflwynai ei ysbryd gan ddywedyd, " Arglwydd Iesu derbyn fy ysbryd."

*Andreas,* wrth gael ei arwain at y croesbren i'w farwolaethu a waeddai, " Groesaw O groes ! yr wyf yn ddysgybl i'r hwn a ddyoddefodd arnat ti, ac a arswydaf fi gofleidio croes yr hwn, yr ydwyf yr hyn ydwyf ynddo ef."

*Polycarp* a ddywedai wrth yr hwn a geisiai ganddo wadu Crist, " Pedwar ugain a chwech o flynyddoedd y gwasanaeth-

ais ef, ac erioed ni ddrygodd fi, ac a wadaf fi ef yn awr." A phan yr oeddynt yn parotoi i'w rwymo wrth yr ystanc dymunai gael bod yn rhydd gan ddywedyd, "Gadewch fi yn llonydd, oblegid yr hwn a roddodd nerth i mi i ddyfod hyd yma, a rydd i mi nerth ac amynedd i aros yma heb fy rhwymo."

*Ambrose* a ddywedai wrth ei gyfeillion o'i gylch, "Nid wyf wedi byw yn y fath fodd ag y mae arnaf gywilydd byw yn hwy; eto nid oes ofn angau arnaf oblegid y mae genyf Arglwydd da."

*Augustine* a ddywedai, "Mae y cangau yn syrthio odd wrth y pren; a'r ceryg yn ymollwng o'r adeilad; a phahai yr ymddengys yn hynod fod dynion marwol yn marw?"

*Latimer* a ddywedai wrth Ridley, yr hwn oedd yn myne o'i flaen ef at yr ystanc, "Yr ydym trwy ras Duw yn cyne canwyll yn Lloegr heddyw, fel yr wyf yn credu, na rodd allan mwy." I'r hyn yr atebai Ridley, "Byddwch galonog frawd, oblegid gwna Duw naill ai diffodd angerdd y tân, ne yntau ein nerthu i aros ynddo."

*Hooper* a ddywedai wrth ryw un a gynygiai *faddeuan* iddo ar ei ddadgyffesiad, "Os ydych yn caru fy *enaid, ewch* ymaith." Dywedodd rhyw un arall wrtho am ystyried fod bywyd yn felus, ac angau yn chwerw, "Gwir ebe yntau; ond y mae yr ail farwolaeth yn chwerwach, a byw gyda Christ y felusach."

*John Rogers* a ddywedai pan oedd ei wraig a'i ddeg plei tyn yn sefyll wrth ei ochr yn wylo; a'r dienyddwr yn gofy iddo, "Ai nid oedd yn caru ei wraig a'i blant? os oedd, ai iddo wadu ei grefydd, yna y cai fyned adref gyda hwynt." I hyn yr atebodd, "Fod ganddo ddigon o gariad at ei wraig a blant, pe buasai deng mil o fydoedd yn ei feddiant, y rhod asai hwynt oll am gael byw gyda hwynt; ond na's gallas wadu ei Arglwydd hyd yn oed er mwyn ei wraig a'i blant."

*Calvin*, yn nirdyniadau mawrion ei boenau diweddaf, a dd wedai mewn perffaith dawelwch, "Aethum yn fud, ac nid a

orais fy ngenau; canys ti a wnaethost hyn. Boddlawn, boddlawn wyf, gan mai dy law di sydd arnaf."

*Farrar* a ddywedai wrth fab i bendefig oedd yn cwyno iddo ei dynged, "Os gwelwch fi yn siglo yn y tân, nac ymddiriedwch yn fy athrawiaeth." A safai fel colofn yn nghanol y fflamau.

*Martin Luther* a ddywedai, "Tydi, O Grist, a ddysgaist—ynot ti yr ymddiriedais—tydi a gerais—i'th ddwylaw di y gorchymynaf fy ysbryd."

*Henry Voss*, pan yn ymyl y dienyddbren, a ddywedai, "Pe buasai genyf ddeg o benau cawsent oll fyned er mwyn Crist. Na ato Duw i mi ymffrostio ond yn nghroes ein Harglwydd Iesu Grist."

*Jewel* a ddymunai ar y rhai oedd yn yr ystafell, ganu iddo y lxxi. Salm, ac unai â hwy ynddi yn ol ei allu; ac erbyn eu bod wedi gorphen yr oedd ei lygaid wedi eu cau yn angau.

*Dr. Owen*, y boreu cyn ei farw a ddywedai wrth ei gyfaill, Mr. Payne, yr hwn a ddywedai wrtho ei fod newydd fyned a'i draethawd ar "Ogoniant person Crist" i'r wasg, "O frawd Payne, yr wyf yn ymyl gweled y gogoniant hwnw yn wahanol i ddim y gwelais ef erioed o'r blaen." Ac wrth gyfaill arall dywedai, "Yr wyf yn gadael llong yr Eglwys mewn tymhestl, ond tra fyddo y Llywydd mawr yn ei hwylio, nid yw colli islywydd gwael fel myfi o fawr bwys."

*James Owen, Croesoswallt*, a alwai ei deulu a'i berthynasau at erchwyn ei wely, ac mewn gweddi daer a'u gorchymynodd i ras Duw, ac wedi hyny efe a hunodd. A dywedai Mathew Henry wrth ddychwelyd o ymweled âg ef, "fod y nefoedd yn enaid James Owen cyn fod enaid James Owen yn y nefoedd."

*John Brown* a ddywedai wrth gyfaill pan yn ymyl angau, "Yr Arglwydd yw fy nerth a'm cân, efe hefyd yw fy iachawdwriaeth." A'r gair olaf y deallwyd ef yn ddyweyd oedd, "Fy Nghrist."

*John Howe* oedd trwy fawr brofiad cystudd wedi ei wne yn awyddus i farw, a dywedai, "Nid oes arnaf ofn marw, fod arnaf ofn poen."

*Dr. Goodwin* a ddywedai, "Nis gallaswn ddychymygı cawswn y fath fesur o ffydd yn yr awr ddiweddaf. Y mae mwa yn aros yn gryf. Nis gall Crist fy ngharu yn fwy n y gwna, ac nid wyf finau yn meddwl y gallaf finau ei garu well. Bellach byddaf yn wastadol gyda'r Arglwydd." chyda hyny efe a hunodd.

*Andrew Fuller* a ddywedai wrth gyfaill ieuanc, "Nid v yn mwynhau gorfoledd crefydd ; ond y mae genyf obaith, nerth yr hwn nid oes arnaf arswyd i wynebu tragywyddolde Dyna "y cyfiawn a obeithia pan fyddo marw."

*Macfarlen*, o Edinburgh, pan ddaeth ei gyd-weinidog i y weled âg ef, a gofyn iddo, "Pa fodd yr ydych yn teimlo he yw?" a atebai, "Dyna oeddwn yn ei wneyd yn awr par daethoch chwi i mewn, ceisio casglu yn nghyd fy holl l weddiau, a fy hen bregethau, a fy ngweithredoedd da, a ngweithredoedd drwg." "Pa beth a wnaech â'r rhai hyny ebe ei gyfaill, "O," atebai, "yr wyf am daflu y cwbl dros *deck* i'r môr heddyw ; a nofio i'r bywyd ar *blanc* rhad *ras*."

*Philip Henry* a ddywedai wrth ei fab Mathew, yr hwn oe y pryd hwnw yn Weinidog yn Nghaerlleon, ac a ddaetl ganol nos i'w weled, "O fy mab, y mae i chwi groesaw i w ed eich tad yn marw, ac y mae yn llawen genyf eich gwele canys yr wyf yn barod i'm haberthu, amser fy ymddatodi sydd yn ymyl." Y geiriau diweddaf a ddywedodd gyda ll gorfoleddus ydoedd, "O angau, pa le y mae dy golyn?"

*Vavassor Powell* a ddywedai wrth ei gyfeillion o'i gyl "Pe cyhuddai y diafol fi o anffyddlondeb, ac anniolchgarw byddai genyf achos i'w gredu ; yr wyf yn cyhuddo fy hun hyny ; ond pe dywedai nad wyf yn eiddo Crist, ni chred ef."

*Williams Pantycelyn* a ddywedai wrth Christmas Eva yr hwn pan yn wr ieuanc a alwodd i weled yr hen ganiedy

pan yn gwersyllu yn rhosydd Moab, ac a ofynai iddo, "a oedd arno ofn suddo yn yr afon?" "Suddo!" ebe yntau, "suddo, ni suddaf fi byth, y mae craig dan fy nhraed."

*Charles o'r Bala* a ddywedai pan oedd cyfaill yn yr ystafell yn cwyno, "Y mae wedi dyfod yn ddydd trallod arnoch chwi, Mr. Charles." "Ydyw," meddai yntau, "ond y mae noddfa yn amser trallod."

*Edmund Jones, Pontypool,* a ddywedai, pan y gofynai rhyw un iddo, "a oedd yn ofni marw?" "Myfi yn ofni marw!" ebe yntau yn synedig—"nac wyf, mi wn ormod am Grist i ofni marw."

*Jonathan Powell, Sir Fon,* a ddywedai, "Nid oes arnaf ofn marw, ond y mae arnaf ofn i'r gelyn gael ei oddef i wneyd y porth yn dywyll; ond yr wyf wedi rhoddi fy enaid i'w gadw i'r Hwn sydd abl i'w gadw erbyn y dydd hwnw. Nid pridd gwlyb na chlai tomlyd sydd genyf o dan fy nhraed, ond cadarn Graig yr oesoedd." Ac wedi ychydig seibiant, gofynai, "Paham yr oedai ei gerbyd ddyfod? paham yr arafodd olwynion ei gerbydau?"

*Williams o'r Wern* a ddywedai, pan ofynai cyfaill iddo pa fodd yr oedd yn teimlo, "Wel, y mae wedi dyfod i le cul iawn heddyw—dim ond pechadur mawr, a Gwaredwr mawr—a dyna ddigon."

*Christmas Evans* wrth fyned i lawr i ddyfnder yr afon, a wahanai ei dyfroedd wrth ganu,

"O gyfiawnder pur trag'wyddol, O gyfiawnder mawr didrai;
Rhaid i'm henaid noeth, newynllyd, gael yn fuan dy fwynhau;
Rho y wisg ddysglaerwen, oleu, guddia'm noethni hyd y llawr;
Fel nad ofnwyf mwy ymddangos, yna o flaen dy orsedd fawr."

*John Jones, Treffynon,* a ddywedai wrth ei wraig, "Wel, wel Ann anwyl! dyma ystori yr Amwythig bron ar ben; dyna oedd hi yno,—'Hyd oni wahano angau.' Ond nid oes dim niwed, ar Galfaria fe dynwyd colyn angau. Diolch byth am y gwaith a wnaed ar Galfaria. *Calfaria i fyw—Calfaria i farw—Calfaria* FOR EVER."

*John Jones, Llanllyfni,* a ddywedai yn mysg ei eiriau diweddaf wrth fyned i lawr i ddyfnder yr afon, "Mae yr hen gyfamod wnes i a Duw rhwng creigiau Dolyddelen er's deugain mlynedd yn ol, yn dal yn saff heddyw."

"Mewn ffydd y bu farw y rhai hyn oll." Trowyd cysgod angau iddynt yn foreu ddydd. A phwy, wrth "ystyried diwedd eu hymarweddiad hwy," na theimla awydd i ddyweyd gyda Balaam, "Marw a wnelwyf o farwolaeth yr uniawn; a bydded fy niwedd i fel yr eiddo yntau."

---

# EGLURIADAU YSGRYTHYROL.

## Y RHEOL AURAIDD.

MATT. vii. 12.—"Am hyny pa bethau bynag oll a ewyllysioch eu gwneuthur o ddynion i chwi, felly y gwnewch chwithau *iddynt hwy;* canys hyn yw y gyfraith a'r proffwydi."

Yn briodol iawn y galwyd y geiriau hyn yn "*Rheol Auraidd;*" felly y mae, a phe dilynid hi yn fanwl byddai agwedd wahanol ar y byd i'r peth ydyw.

Mae yn amlwg mai rheol mewn pethau cyfreithlawn a rhes ymol ydyw, ac nid rheol gyffredinol a dieithriad. Beth byn ag sydd yn deg a rhesymol i ni ddisgwyl oddiwrth eraill, y mae yr un mor deg a rhesymol i ni ei roddi iddynt. Mae llawer dyn yn sathru enw da ei gymydog—yn drygu ei am gylchiadau—ac yn mhob modd yn amcanu ei niweidio; ac eto fe deimlai yn ddwfn pe deallai fod ei gymydog yn ym ddwyn felly ato ef. Os na ddymunai i arall ymddwyn felly ato ef, yn sicr ni ddylai yntau ymddwyn felly at arall. Da y gwnelai yr enllibiwr a'r athrodwr i dalu sylw manwl i'r rheol brydferth a rhesymol yma.

### DUW ABRAHAM, ISAAC, A JACOB.

MATT. xxii. 32.—"Myfi yw Duw Abraham, a Duw Isaac, a Duw Jacob. Nid yw Duw Dduw y rhai meirw, ond y rhai byw."

Mae y geiriau hyn yn cynwys atebiad terfynol Crist i ofyniad y Saduceaid yn nghylch yr adgyfodiad. Y mae athrawiaeth sefyllfa ddyfodol yn cael ei gosod allan gan Grist yma uwchlaw dadl. "Nid yw Duw Dduw y rhai meirw, ond y rhai byw." Y mae yn Dduw i Abraham, Isaac, a Jacob; y mae yn rhaid gan hyny fod y patriarchiaid yn fyw yn rhyw le. O ran eu cyrff y maent wedi meirw er's canrifoedd, ond y mae eu hysbrydoedd yn aros yn y sefyllfa ddyfodol. Mor naturiol y byddai Mab Duw yn dal ei gynllwynwyr yn eu rhwydau eu eu hunain.

### DEHONGLIAD PRIOD.

2 PEDR i. 20.—"Gan wybod hyn yn gyntaf, nad oes un broffwydoliaeth o'r Ysgrythyr o ddehongliad priod."

Yr hyn a gyfrifir yn aneglur yn y geiriau hyn ydyw yr ymadrodd "Nad oes un broffwydoliaeth o'r Ysgrythyr o ddehongliad priod."

Nad oes un broffwydoliaeth i'w dehongli yn ol ewyllys bersonol yr esboniwr. Gan mai Duw yw awdwr y proffwydoliaethau, a bod iddynt ystyr briodol, nad yw dyn ddim i'w llusgo o'u cysylltiadau i ategu ei olygiadau neillduol ef.

Nad oes un broffwydoliaeth o ddehongliad ysgaredig a gwahaniaethol. Gan mai Duw yw awdwr *yr holl* broffwydoliaethau, rhaid eu hesbonio mewn cysylltiad â'u gilydd.

Nad oes un broffwydoliaeth i'w deall yn ei hystyr lythyrenol. Yr oedd i rai o honynt gyfeiriad neillduol at ddigwyddiadau, ond fod Duw yn eu golygu yn eu hystyr eangaf yn cyfeirio at ddyfodiad y Messiah, a sefydliad ei deyrnas ef yn y byd.

Nad oes un broffwydoliaeth yn ddatguddiad o syniadau personol y proffwyd. Nid eu meddyliau eu hunain, ond cyngor Duw a draethent. "Canys nid trwy ewyllys gwr y daeth

gynt broffwydoliaeth," &c. Datguddiad oddiwrth Dduw i ynt oedd yr hyn a draethent, ac nid unrhyw olygiad prio iddynt eu hunain.

Nad oes un broffwydoliaeth yn hunan-esboniadol; ond wneir yn raddol yn eglurach yn ngoleuni y cyflawniad.

Yr ydym yn credu y gwirioneddau a ddysgir yn yr holl e luriadau yma; ond yr ydym yn cael ein tueddu i dderbyn pedwerydd golygiad fel y mwyaf cydweddol â'r cysylltiad: Nad datganiad o syniadau personol y proffwyd oedd y b ffwydoliaethau; ond datguddiad oddiwrth Dduw iddynt; yr oedd y meddwl yn aml yn anhysbys iddynt hwy eu huna

### MARWOLAETH O ADDA HYD MOSES.

RHUF. v. 14.—"Eithr teyrnasoedd marwolaeth o Adda hyd Mos ie, arnynt hwy y rhai ni phechasant yn ol cyffelybrwydd camwe Adda, yr hwn yw ffurf yr un oedd ar ddyfod."

Adda a Christ a gyferbynir trwy y bennod hon. Y farn ddaeth trwy y naill, a'r dawn trwy y llall. Dygir y geiri hyn i mewn rhwng cromfachau yn nghanol cadwyn yr ymr ymiad.

"*Teyrnasodd marwolaeth.*"—Hyny ydyw, yr oedd dyni yn meirw; gwarogaeth yn cael ei thalu gan bawb i "frenh y dychryniadau. "*O Adda hyd Moses.*" Yn y cyfwng 2500 o flynyddoedd, o roddiad y ddeddf i Adda, hyd gyhoed iad y ddeddf trwy Moses. Ac y mae y ffaith eu bod yn ma yn brawf eglur eu bod yn bechaduriaid.

"*Ie, arnynt hwy y rhai ni phechasant yn ol cyffelybrwy camwedd Adda.*" Pwy oeddynt *hwy?* Babanod, medd rh Dyma y golygiad a fabwysiadwyd gan Augustine, a llu ma o esbonwyr ar ei ol. Mae yn ddigon eglur fod babanod meirw; a'u bod yn marw fel canlyniad camwedd Add Ond ai atynt hwy y cyfeirir? Ymddengys i ni fod dwyn ba anod i mewn yma yn annaturiol ac anmherthynasol, a dywe y lleiaf. Mae yn llawer mwy naturiol a rhesymol, debygem gymeryd y geiriau yn golygu pawb a fuant feirw yn y cyfwn

o Adda hyd Moses; oblegid ni phechasant yn ol cyffelybiaeth camwedd Adda. Pechasant yn weithredol fel yntau, y mae yn wir; ond pechasant dan amgylchiadau hollol wahanol. Pechodd Adda yn ngwyneb datguddiad uniongyrchol, troseddodd ddeddf bendant; pechasant hwy yn ngwyneb goleuni natur a thystiolaeth cydwybod; ac nid ydyw yr Arglwydd yn dal dynion yn gyfrifol ond yn ol y goleuni sydd ganddynt; "Oblegid cynifer ag a bechasant yn ddiddeddf a gyfrgollir hefyd yn ddiddeddf; a chynifer ag a bechasant yn y deddf a fernir wrth y ddeddf." Heblaw hyny, pechodd Adda mewn cymeriad gwahanol. Pechodd fel person cyhoeddus yn cynrychioli eraill; a chanlyniadau ei drosedd yn gyfrifedig i'w hiliogaeth. Yr oedd "yn ffurf yr un oedd ar ddyfod." Yn gynllun yr ail Adda; ac yn y sefyllfa a'r cymeriad hwnw y pechodd. Ond pechasant *hwy* fel personau unigol, bob un ar ei ben ei hun, ac nid "yn ol cyffelybiaeth camwedd Adda."

### MEDDWL I ADNABOD CRIST.

1 IOAN v. 20.—"Ac ni a wyddom ddyfod Mab Duw, ac efe a roes i ni feddwl fel yr adnabyddom yr hwn sydd gywir. Ac yr ydym ni yn y Cywir hwnw, sef yn ei Fab ef Iesu Grist. Hwn yw y gwir Dduw a'r bywyd tragywyddol."

Cyfeirir yma at ddyfodiad Mab Duw, a'r dystiolaeth foddhaol oeddynt wedi ei gael ynddynt eu hunain o hyny. "*Efe a roes i ni feddwl.*" Nid ei feddwl datguddiedig yn ei air a olygir, ond synied, dirnadaeth, amgyffrediad am dano. Ceir engraifft o hyn yn ymddiddan Iesu Grist a'i ddysgyblion pan y gofynodd iddynt "Pwy y mae dynion yn dywedyd fy mod i Mab y dyn?" "Ti yw y Crist Mab y Duw byw," ebe Pedr mewn munud. "Gwyn dy fyd di Simon mab Jonah, canys nid cig a gwaed a ddatguddiodd hyn i ti, ond fy Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd." Dyna dderbyn meddwl oddi uchod i adnabod yr hwn sydd gywir. Un o enwau neillduol yr Arglwydd Iesu Grist ydyw "y Cywir." Ac y mae y saint ynddo ef, yn y Cywir hwnw; ac "od oes neb yn Nghrist y mae efe yn greadur newydd," ac "nid oes iddo yn awr ddim damnedig-

aeth." "*Hwn y gwir Dduw a'r bywyd tragywyddol.*" cyfeiriad y geiriau hyn mor eglur at Iesu Grist fel na fe iasai neb am eu cymhwyso, ond ato ef, oni buasai amc gynal cyfundraeth. Am dano ef y lleferir yn flaenorol efe yw y bywyd tragywyddol. Mae Duwdod Crist yn ca sefydlu yma yn yr iaith gryfaf ac egluraf.

## CYFIAWNDER DUW.

**Rhuf. iii. 22.—"Sef cyfiawnder Duw yr hwn sydd trwy ffydd Grist i bawb, ac ar bawb a gredant; canys nid oes gwahaniaet**

Mae yr ymadrodd "cyfiawnder Duw" yn un cyffredin i yn llythyrau Paul, yn gystal a thrwy lawer o ranau o'r grythyrau. Mae yn golygu un o dri pheth. Weithiau y odoledd anfeidrol o gyfiawnder sydd yn natur Duw, a amlygir yn ei lywodraeth. Dyna yr ystyr flaenaf a phri i'r ymadrodd. Bryd arall golyga, trefn Duw i gyfiawn "Canys ynddi (yr Efengyl) y datguddir cyfiawnder Duw neu drefn Duw i gyfiawnhau. A phryd arall golyga, y iawnder a gyfrifir i'r credadyn, ac yn yr hwn y mae Duw edrych yn gymeradwy arno. Yn y golygiad diweddaf y defnyddir ef yma "Sef cyfiawnder Duw yr hwn *sydd t* ffydd Iesu Grist." Y cyfiawnder hwnw a dderbynir t ffydd, ac yr edrychir ar y neb a'i derbynio yn gyfiawn yn Gelwir ef "cyfiawnder Duw yr hwn sydd trwy ffydd,' wrthgyferbyniol i'r cyfiawnder sydd o'r ddeddf. Yn yr un y defnyddir ef gan Paul wrth ysgrifenu at y Philipiaid. ' y'm cair ynddo ef heb fy nghyfiawnder fy hun yr hwn syd gyfraith; ond yr hwn sydd trwy ffydd Crist, sef y cyfiaw sydd o Dduw trwy ffydd." Mae "cyfiawnder Duw," a'r ' iawnder sydd o Dduw" yn gyfystyr, a'r ddau yn medd cyfiawnder cyfiawnhaol a roddir gan Dduw i ffydd; ac y yn hollol wahanol i'r cyfiawnder sydd trwy weithredc Mae yma oleuni clir ar drefn cyfiawnhad pechadur. "C yr hwn nid adnabu bechod a wnaeth efe yn bechod drosoı fel yn gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef."

YMDRECH Y CRISTION.

EPHES. vi. 12.—"Oblegid nid yw ein hymdrech ni yn erbyn gwaed a chnawd, ond yn erbyn tywysogaethau," &c.

Yma gosodir allan ryfel y Cristion, ac arfogir ef i'r frwydr. Nodir holl ranau yr arfogaeth yn fanol. Yn y geiriau hyn cyfeirir yn uniongyrchol at y gelynion. Nodir yma yn nacaol nad oedd eu "hymdrech yn erbyn gwaed a chnawd." Wrth "*waed a chnawd,*" y meddylir y blysiau, y nwydau, y tueddiadau anianol a phechadurus. Y profedigaethau hyny y mae y dosbarth isaf o grefyddwyr mewn rhyfel a hwy. Holl waith rhyw rai ydyw ymdrechu yn erbyn gwaed a chnawd—rheoli eu nwydau—llywodraethu eu chwantau—meistroli eu tueddiadau—darostwng eu tymherau; yn wastadol yn yr ymdrech yn erbyn pechodau anianol a chnawdol. Nid dyma elynion penaf Paul—yr oedd ef wedi ymgodi uwchlaw y rhai hyny. Nid oedd pechodau y cnawd yn un fagl iddo. Pan y tywynodd y goleuni o'i amgylch yn yml Damascus "yn y fan nid ymgynghorodd a chig a gwaed." Ond er ei fod wedi gorchfygu gwaed a chnawd yr oedd ganddo er hyny, elynion creulon, cryfion, ystrywgar, penderfynol, i'w gorchfygu—"tywysogaethau, awdurdodau, bydol lywiawdwyr tywyllwch y byd hwn, a drygau ysbrydol yn y nefolion leoedd." Mae y rhai hyn oll yn cyfeirio at ddylanwad ysbrydion drwg, y rhai trwy wahanol ffurfiau sydd yn ymosod ar y saint. Y mae rhyfel â Satan, yn ymladdfa y gwyr pob gwir Gristion am dani, "Canys nid ydym ni heb wybod ei ddichellion ef." Y saint uchaf penaf sydd yn yr ymladdfa â Satan. Mae y diafol yn gadael rhwng "gwaed a chnawd" a'r rhai gwanaf, lleiaf; ond y mae yr archelyn ei hunan yn trefnu ei ymosodiadau yn erbyn duwiolion o radd neillduol.

GWRTHWYNEBU Y DIAFOL.

IAGO iv. 7.—"Gwrthwynebwch ddiafol, ac efe a ffy oddiwrthych."

Mae y Beibl yn dysgu yn eglur fod dylanwad gan ddiafol—"ei fod "yn dallu meddyliau y rhai digred"—"yn gweithio

yn mhlant anufudd-dod"—"yn rhodio oddiamgylch, ga y neb a allo ei lyncu," a lluaws mawr o ymadroddion c Ac yma gorchymynir ei wrthwynebu. Ond y cwestiw ynir yn aml ydyw, pa fodd y mae gwahaniaethu *y temta* sydd yn dyfod oddiwrth ddiafol, o'r temtasiynau sydd fodi o'r galon lygredig? Cyhuddir y diafol yn aml o i ddrygau nad ydynt ond cynyrch naturiol tueddiadau edig ac anianol y dyn ei hun. Cymerer y cyfarwyd canlynol fel cynorthwyon i ddeall temtasiynau y dia gwahaniaethu oddiwrth dueddiadau gwreiddiol ein nat

Pan y byddo y demtasiwn ynddi ei hun yn annaturic resymol. Pan y byddo y demtasiwn yn hollol groes i iad cyffredin y meddwl. Pan y byddo y demtasiwn *yn* gwrthwynebu genym ar y cynyg cyntaf. Pan y byddo tasiwn yn dal i ymosod yn ffyrnig a di-ildio; ac fel y derfynu mynu yr oruchafiaeth.

Pan y byddo y temtasiynau yn gwisgo y wedd yna, yn hawdd deall mai o ddiafol y maent; a dylid eu wynebu yn gryf a phenderfynol. Ac y mae y gelyn yn i fynu os gwel benderfyniad gwrol i droi arno. "Gwr ebwch ddiafol, ac efe a ffy oddiwrthych." "*Gwrthwyn* ef yn gadarn yn y ffydd."

